# ORGRAPH



YR

# IAITH GYMRAEG.

---

GAN

R. I. PRYS, A THOMAS STEPHENS;

Y RHAI A ALWYD I'R GORCHWYL GAN LENORION CYMRU, YN EISTEDDFOD GENHEDLAETHOL LLANGOLLEN, 1858.

---

DINBYCH:
CYHOEDDWYD GAN THOMAS GEE.

1859.

# ARWEINIAD.

YR Eisteddfod Llangollen, ymgynnullodd o 50 i 60 o feirdd a llenorion ynghyd, nos Fercher, yr 22ain o Fedi, 1858, i ystyried gwahanol byngciau yn dwyn perthynas â llenoriaeth Gymraeg. Wedi galw Gwalchmai i lywyddu, ymhlith pethau ereill, cynnygiwyd rhai sylwadau ac awgrymiadau ymarferol at Lythyraeth y Gymraeg. Barnai y cyfarfod mai y dull mwyaf effeithiol i sicrhau ei sefydliad parhaus fyddai anfon at holl gyhoeddwyr ac argraphwyr y Dywysogaeth, i erfyn arnynt lynu wrth gynllun unffurf a sefydlog; ond gan na ddaethpwyd i un penderfyniad ar y pwngc y noswaith hòno, penderfynwyd gohirio 'r cyfarfod hyd nos dranoeth.

Pan ymgynnullwyd nos Iau, a Gwalchmai etto yn llywyddu, cynnygiwyd gan Mathetes, a chefnogwyd gan Tegai, a phenderfynwyd yn unfryd:—

"1. Bod i Gweirydd ap Rhys, o Ddinbych, a Mr. Thomas Stephens, o'r Merthyr, baratoi cyfres gyflawn o'r geiriau a lythyrenir mewn gwahanol ffyrdd gan ysgrifenwyr cyfrifol, gyda bwriad o'u dwyn i unffurfiaeth."

Cynnygiwyd gan Ioan Emlyn, cefnogwyd gan Glasynys, a phenderfynwyd yn unfryd:—

"2. Bod i Gweirydd ap Rhys a Mr. T. Stephens anfon copi o'r gyfres ddywededig i chwech o lenyddion y gogledd; sef, Ab Ithel; Eben Fardd; y Parch. Lewis Edwards, Bala; y Parch. Thomas Rowland, Pennant; y Parch. W. Jones, Nefyn; a T. ab Gwilym; ac i chwech o lenyddion y Deheu, sef, Ioan Emlyn; y Parch. T. Rees; Myfyr Morganwg; D. Griffiths, Cilian Aeron; y Parch. David Charles, Trefecca; a'r Canghellydd Williams; ac at olygwyr y cyhoeddiadau Cymreig, a meddiannwyr y prif swyddfeydd argraphyddol, i geisio eu barn a'u hawgrymau mewn perthynas iddi; a bod i Gweirydd ap Rhys a Mr. T. Stephens grynhoi cynnwys yr ohebiaeth erbyn Eisteddfod Dinbych, gyda bwriad i sefydlu unffurfiaeth yr orgraph."

Ymgyfarfu 'r beirdd a'r llenorion drachefn nos Wener, a Glan Alun yn y gadair, pan y penderfynwyd yn unfryd:—

"Bod y cyfarfod hwn yn teimlo yn rhwymedig i Mr. Gee am ei lafur cyffredinol dros lenyddiaeth Gymraeg; ac yn enwedig am ei fwriad i gyhoeddi Geiriadur Cenhedlaethol; ond ar yr un pryd, dymuna'r cyfarfod awgrymu y byddai yn fanteisiol oedi cyhoeddiad y llyfr hyd nes y ceir penderfyniad Eisteddfod Dinbych ar sefydliad yr orgraph; ac os llwyddir i wneud hyny, y byddai yn ddymunol i Mr. Gee argraphu'r Geiriadur yn ol y gyfundrefn a ffurfir yno, er mwyn iddo fod yn safon awdurdodedig yr orgraph; a bod y cyfarfod hwn yn ymrwymo i wneyd ei oreu dros ledaeniad y llyfr."

Gyda golwg ar hyn, meddai golygwyr BANER CYMRU:—"Efallai y bydd yn bosibl cyrhaedd yr amcan teilwng yma, sef sefydlu orgraph y Gymraeg, yn lled fuan, drwy fod y personau a enwyd yn cymmeryd y peth mewn llaw yn ddioedi. Ymosoded y cyfryw ar y gorchwyl yn union. Y mae yn fwy tebyg o gael ei wneud os ymosodir arno yn awr, nag wrth ei oedi hyd o fewn ychydig i Eisteddfod Dinbych. Yr ydym yn deall y caiff unrhyw beth a all Mr. Gee ei wneud drwy ei wasg fod at wasanaeth yr amcan; a dywedwn ninnau y caiff colofnau BANER CYMRU ei wasanaethu hefyd."

Yn unol â'r cynnygiadau a'r awgrymau hyn, danfonasom y cylchlythyr canlynol at y llenorion, y golygwyr, a'r argraphwyr, a enwyd yn Llangollen, a hefyd at y mwyrif o lenorion Cymru oll—yn cynnwys ychydig o awgrymau orgraphyddol, ac yn galw am eu sylwadau hwythau arnynt. Yn y cylchlythyr, pennodwyd wythnos o amser iddynt i ffurfio eu penderfyniadau; ond gan dybied y gallai hyny fod yn rhy ychydig o amser mewn rhai amgylchiadau, arosasom ddau fis cyn ffurfio ein casgliadau.

# Y CYLCHLYTHYR.

FONEDDIGION,

WEDI i ni, trwy gryn lafur, gasglu ynghyd y geiriau Cymraeg y mae llenorion yn gwahaniaethu ynghylch eu horgraph, cawsom allan fod eu nifer o *dair i bedair mil*, o leiaf; ac nid o gylch mil, fel y tybid yn y pwyllgor yn Llangollen.

Llanwai y geiriau dan sylw, wedi eu trefnu yn golofnau, o gylch 24 o dudalenau 12plyg.

Credwn fod orgraph yr holl eiriau hyn, fel pob geiriau ereill, yn ddarostyngedig i ychydig o egwyddorion syml; am hyny barnasom mai 'r ffordd oreu, a rhataf, ydyw gosod crynhodeb o'r egwyddorion hyny ger eich bron chwi, a'r lleill o'n cydwladwyr a bennodwyd i gydlafurio â ni yn hyn o orchwyl gwir angenrheidiol, mewn cylch-lythyr. Wedi i ni gael barn a diwygiadau pob un o'n cydlafurwyr ar yr egwyddorion hyn, ni a drefnwn y gofres eiriau yn ebrwydd, yn ol y ffurf a'r egwyddorion a gymmeradwyo y rhan fwyaf o aelodau y cynghor; a chaiff pob un broflen (*proof-sheet*) o'r gofres eiriau, i'w diwygio, fel y delo allan o'r wasg.

Dengys hanes y Gymraeg ei bod wedi cael ei llythyru mewn dwy ffordd—yn unol â dwy egwyddor; sef, Geirdarddiad, a Seinyddiaeth.

Yr oedd yr hen orgraph, cyn amser y Dr. Morgan a'r Dr. Dafis, yn gwbl darddiadol; ac, e. e. (=er engraff), ysgrifenid *cyd-cor*, *cyd-porth*, lle y defnyddir *cynghor* a *cymhorth*, neu *cyngor* a *cymmorth*, yn awr; ond gan fod persain a chyfnewidiad cydseiniaid yn egwyddorion cynhenid yn y Gymraeg, teimlwyd fod orgraph gwbl darddiadol yn anghysson â llafariad yr iaith.

Am hyny, mabwysiedir Seinyddiaeth gan awduron diweddar (o'r Dr. Morgan hyd yn bresennol): ond y maent hwythau yn rhanedig i ddwy ysgol, hen a newydd—y flaenaf yn gwneuthur tarddiad geiriau yn ail amcan, a'r olaf yn cymmeryd tarddiad yn brif amcan—yr olaf yn cadw cydseiniaid aflafar i ddangos y tarddiad; e. e, *an*-nghysson, *yn* Nghymru, *yn* Mhrydain, &c.; a'r flaenaf yn eu gwrthod am na seiniir hwynt; e. e., *ang*hysson, *yng* Nghymru, *ym* Mhrydain—un yn cadw y terfyniad blaenddodol *n* yn ddinewidiad yn y fath eiriau ag *an*-mherffaith,

*an*-mrwd; a'r llall yn ei lythyru yn unol â'r sain, *am*herffaith, *am*mrwd, fel yr arferir yn y gair Saesneg "*im*mortal," a'r gair Lladin "*im*mensus"—un yn barnu fod hanfodiad annibynol i'r cydseiniaid terfynol yn *cyd*, *cyf*, *cym*, *cyn*, *cys*, *cyt*; a'r llall yn golygu mai adseiniau ydynt o gydseiniaid dechreuol y geiriau dilynol, megys yn y geiriau dieithr "*col-locate*, *com-mend*, *con-note*, *cor-rect*;" neu, megys yn y geiriau Cymraeg "pu*m* *m*illdir, pu*m* *m*yrddiwn, ca*n* *n*yn," &c., a ddefnyddir gan y naill ysgol fel y llall.

Ereill a wrthodant gydseiniaid dyblon yn hollol, o herwydd y drafferth i'w hysgrifenu. Ond nid yw cyfleusdra i'w gyfrif yn egwyddor; ac nid yw dadleuon y dosbarth hwn yn teilyngu cymmaint o bwys ag eiddo y ddwy brif ysgol.

Amrywiaeth arall, o lai pwys, yw hyn; sef, bod yr hen ysgol yn dyblu cydseiniaid i fyrhau sain bogeliaid (*vowels*), a'r ysgol newydd yn eu haccennodi; e. e., *tonnau*, *tònau*, *cannu* *cànu*, &c. —un yn gadael bogeliaid hirsain heb un nod; a'r llall yn eu hiraccenu; e. e., *glân*, *tân*, *tônau*, &c.

Ymddengys i ni fod rhesymau yr hen ysgol yn gorbwyso eiddo 'r newydd—fod Seinyddiaeth yn egwyddor foddhaol, gan ei bod yn cadw y nodau tarddiadol yn y dull a gefnogir gan lefariad y genedl; ac y gellir, gydag ychydig o gydymddwyn ar ran pleidwyr tarddiadaeth, ei gwneuthur yn safon cynllun rheolaidd a boddhaol.

Am hyny, cymmerwn ein rhyddid i osod yr awgrymau canlynol ger bron ein cydlafurwyr—nid fel rheolau pendant, bid sicr, ond yn hytrach fel cofnodion cynnorthwyol, a phethau teilwng o ystyriaeth y rhai a ddewiswyd i gynnyg sefydlu yr orgraph Gymraeg.

Dylai yr orgraph, yn ol ein barn ni, fod yn unol â'r egwyddorion canlynol; sef,

I. *Perseiniad.*—Beth bynag a fo *gwraidd* geiriau, dylai 'r geiriau gael eu hysgrifenu, nid yn unig fel y *galler* eu seinio, ond fel y byddont yn *hawdd* ac yn *beraidd* i'w seinio. Ofer ydyw *ysgrifenu* geiriau un ffordd, a'u *llefaru* ffordd arall—ofer, e. e., ysgrifenu "*an*mharod, *yn* nghyd," a llefaru "*am*harod, *yng*hyd."

II. *Gwahaniaeth sain ac ystyr.*—Afresymol ydyw ysgrifenu geiriau sy mor gwbl wahanol, o ran y *swn* a'r *synwyr*, ag ydyw *tan* (*under*), a *tân* (*fire*); *tònau* (*waves*), a *tonau*, (*tones*); *cynnydd* (*increase*), a *cynydd* (*huntsman*), yn yr un dull ac â'r un llythyrenau.

III. *Llafar gwlad ac awdurdod prif awduron y genedl.*—Pan fyddo prif ysgrifenwyr y ddwy ysgol, yn unol â llafar gwlad, yn llythyru gair yr un fath, gwell peidio newid llythyraeth y gair

qwnw: o blegid hyn, ysgrifener *etto*, *cyttuno*, *atteb*, yn hytrach nag *eto*, *cytuno*, *ateb*, a chant o'r cyffelyb.

IV. *Cyfaledd* neu *gyfattebiad*.—Ysgrifener seiniau cyffelyb, mewn cyffelyb gyfleadau, yr un fath, os na bydd eithriadau neu ieithweddau (*idioms*) yn rhwystro. Fel hyn, e. e., os *ymhlith* y dylid ysgrifenu y gair cyfansawdd o *yn* a *plith*; yna, yn ol cyfaledd, dylid ysgrifenu pob gair cyfansawdd o'r un dosbarth yn gyffelyb; e. e., *ynghylch*, *ynghyd*, *ymhen*, *ymhlaid*, *ymysg*, *ymlaen*, ac nid *yn nghylch*, *yn nghyd*, *yn mhen*, *yn mhlaid*, *yn mysg*, *yn mlaen*. Dengys yr un egwyddor fod *megys* ac *ereill* yn well na *megis* ac *eraill*, am fod y rhai blaenaf yn atteb i *canys* a *lleill*—"y cyffelyb seiniau, mewn cyffelyb gyfleadau." Hon a *phersain* ydyw 'r ddwy brif egwyddor sydd i lywodraethu cyfansoddiad geiriau newyddion.

V. *Grymusder*.—Y llythyren a ddefnyddir fynychaf i gryfhau'r llefariad ydyw *h*; e. e., *bywhau*, *cyfiawnhau*, *cryfhâd*, *brenhines*, *cenhadon*, *cenhedloedd*, *ar hugain*. Os mynir bwrw yr *h* allan o eiriau grymus a hysain fel hyn, a'u hysgrifenu yn y dull gwanaidd a dyheugar o *bywaau*, *cyfiawnaau*, *cryfaad*, *brenines*, *cenadon*, *cenedloedd*. *ar ugain*, y mae cyssondeb yn gofyn bwrw allan *dd* o *ynddo*, *ynddynt*, *ynddi*; *n*. *g arno*; *p*, o *gwnaethpwyd*; *r*, o *dirwest*, *dirmyg*, a chant o'r fath, a'u hysgrifenu yn *ŷno*; *ŷnynt*, *ŷni*; *aro*; *gwnaethwyd*; *diwest*, *dimyg*.

VI. *Tarddiad geiriau*.—Dylid dwyn trefnau 'r ddwy ysgol mor agos fyth i'w gilydd ag y goddefo egwyddorion a chyssondeb.

(1.) Dybler y cydseiniaid ymhob man lle y bo'r gwraidd, nid yn unig yn gofyn, ond yn goddef hyny, os goddef persain yr un peth. Nid myned i bellafoedd gwrthwynebol yw 'r ffordd oreu i ddiwygio cyfeiliornad, pan y bo cyfeiliornad yn hanfod. Felly, ysgrifener *cymmysg*, *cynnydd*, *cysson*, *cynnal*, *cymmal*, *tannau*, *cannoedd*, *pennod*, *pennodi*, *tymmestl*, *tymmor*, &c.

(2.) Ond y mae *cynghor*, *cymhorth*, *cynhes*, yn perthyn i ddosbarth gwahanol; a dichon mai gwell dangos hyny yn eu llythyraeth, megys uchod, er mai *cyngor*, *cymmorth*, *cynnes*, y llefarir hwy tra yn ddwy sill; ond pan y'u treigler, eu llefariad cywir ydyw *cynghorion*, *cymhortha*, *cynhesu*.

(3.) Y mae pedair ffordd (heb son am y dull hynafol) o ysgrifenu y dosbarth helaeth yma o eiriau; a chan y gellir eu dangos yn eu pedair ffurf, yn fyr, dichon y bydd hyny yn fantais i ni ddewis yr oreu.

*a*. *Cyngor*, *cymorth*, *cynes*—lle nad oes un nod tarddiadol; ac y mae llythyraeth y gair canol yn groes i gyfaledd, gan fod *m* yn gyffredin ar ol *cy* yn troi i *f*,—*cyf*aeth. Gallai y llythyriad yma arwain i gamseiniad hefyd,—*cŷ-morth*, *cŷ-nes*; heb law ei fod yn gwbl ddiawdurdod.

*b. Cyngngor, cymmorth, cynnes*—lle y mae 'r tarddiad yn aneglur, er bod y llefariad yn gywir tra y bo 'r geiriau yn *ddwysill*, megys y dangoswyd uchod.

*c. Cyngnghor, cymmhorth, cynnhes*—yr hwn ddull yn ddiau sy'n dangos y *tarddiad* gywiraf; ond rhag pentyru cydseiniaid yn ormodol, a chan fod y llefariad yn llawn cystal, gwell, yn ol ein barn ni, ydyw ysgrifenu,

*d. Cynghor, cymhorth, cynhes.* Yma cedwir y blaenddod yn gyflawn, a rhan bwysig o nod y tarddiad—*cyng-h*or, *cym-h*orth, *cyn-h*es—a gochelir y cydseiniaid a ellir eu hebgor; a bydd y llefariad yn berffaith gywir pan y treigler y geiriau yn amrysill.

*e.* Y mae cyfaledd, gan hyny, yn gofyn ysgrifenu 'r dosbarth canlynol o eiriau, yr hwn sy bur helaeth, fel hyn; *anghof, anghlod, amharod, amharch, amhwyll, anhal, anheg*, &c., y rhai, fel *cynghor*, &c., y gellid eu hysgrifenu mewn pedair ffurf.

*f.* Dylai geiriau benthyciol ddwyn nod eu tarddiad; megys, *grammadeg, orgraph, argraph, prophwyd, Aipht, philosophydd, accen*, &c.

VII. *Accennodiad.*

(1.) Gall yr ymofynydd gael cryn gynhorthwy i adnabod hyd sillau a geiriau unsill anaccennodol yn y daflen ganlynol, yr hon a gynnwys holl seiniau syml y Gymraeg.

*Cyhydedd sillau yn ol eu seiniau terfynol.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| *a.* | Byrsain:— | p, m, t, c, ng .. .. | 5 |
| *b.* | Hirsain:— | f, d, dd, th, s, g, ch .. | 7 |
| | (Bogeliaid):— | i, e, a, o, w, u, y .. .. | 7 |

[Eithriadau:—cyf.; ad, dad, nad, sad, pod, bid, nid, od, sud; ydd; nas, ffres, nes, pes, nis, sis, tis; ag, ffag, rhag; ffach, llach, och, mòch, hoch, clwch, ffrwch.]

| | | | |
|---|---|---|---|
| *c.* | Amheus:— | b, ff (ph), ll, l, r, n .. .. | 6 |
| | | h, (yr hon ni therfyna sill) .. | 1 |
| | | Holl seiniau syml y Gymraeg .. .. | 26 |

(2.) Lle nad oes geiriau cyffelyb o wahanol sain ac ystyr, pa un ai unsill, dwysill, ai amrysill fyddont; a lle na bo 'r gwraidd yn gofyn dyblu 'r cydseiniaid, ysgrifener hwynt heb accennod ac heb ddyblu 'r cydseiniaid; e. e., *pwn, gradd, cam; camu, calonau, chwalu, cribo, personau.*

(3.) Mewn geiriau cyffelyb, ond o wahanol swn ac ystyr, gellid cymmeryd accen hirsain neu fyrsain fel rheol: ond gan fod angen am y ddwy i osod allan seiniau 'r Gymraeg yn gywir, barnwn fod anamlder y geiriau yn cynnwys rheol foddhaol.

(4.) *Accen hirsain.* Defnyddier accen hirsain yn y geiriau

unsill *tân, llên, tôn, gŵn, hŷn*, &c., am fod eisiau gwahaniaethu y ddau ddosbarth—yn y terfyniad gorchymynol a dyfodol *â*; e. e., *nacâ iachâ, coffâ, rhyddhâ, cryfhâ*—yn yr enwau cedyrn tarddedig o'r berfau yn terfynu yn *au*; e. e. *iachâd, gwellâd, casâd cyfiawnhâd*—ac yn y geiriau dwysill, *ysgrêch, ysbâr, ysgîl, ystrŷd, cyttûn*, &c.

(5) *Accen fyrsain.*—Am yr un rheswm, gadawer y geiriau hirsain *bran, cwn, gwr, moch*, &c., o herwydd eu mynychder, heb un nod; ond rhodder accen fyrsain ar y geiriau *bràn, cwr, mòch (quick).* Felly hefyd mewn geiriau dwysill, accennoder y rhai byrsain *tònau, cànu, tỳrau, hòno*, am na ddygwyddant yn aml. Pan fyddo dybliad y cydseiniaid yn unol â'r gwreiddyn, bydd yr accen fyrsain hon yn afreidiol; megys yn y geiriau *tannau* (o *tant*), *cannoedd* (o *cant*), &c. Gadawer y rhai hirsain, *tonau, canu, tyrau*, &c., heb un nod o herwydd eu mynychder.

VIII. *Dydolnod.*—Pan fyddo perygl llefaru dwy fogel yn un sill a ddylent fod ar wahân, rhodder dydolnod uwch ben y flaenaf o'r ddwy; megys yn *gweddïo, tröed (let him turn), gwrandäwr.*

(1.) Yn y terfyniadau berfol, *au, eu, oi*, nid dydoli yr *a, e, o*, oddi wrth y fogel ddilynol a wneir yn y llefariad, ond pwysleisio yn drwm arnynt; am hyny, pe bâi eisieu eu nodi o gwbl, yr accen ddisgynedig a fyddai 'r nod priodol, megys *àu, èu, òi*. Ond goreu po lleiaf, ar les yr ysgrifenydd a'r argraphydd, o nodau a ddefnyddier; am hyny gadawer y rhai hyn heb eu nodi, a chofier bod yr accen yn wastad yn disgyn ar y terfyniadau berfol hyn, pa un a ragflaener hwy gan *h* ai peidio; e. e. *nacau, iachau, coffau, gwellau, casau, caniatau; rhyddhau. cryfhau, gwaghau, culhau, trymhau, cyfiawnhau, bywhau, hwyhau; cyfleu, dileu; dyheu; parotoi, cyffroi, ymdroi; crynhoi*, &c.

(2.) Nid oes angen dydolnod chwaith ar y terfyniadau ansoddeiriawl accenol *aus, eus, ous*, neu *haus, heus, hous*—yn *trofaus; sarhaus, parhaus, trahaus; cyfleus; cyffrous; ymarhous*, &c.

(3.) Mae yn afreidiol hefyd yn y terfyniad berfol *ewch, hewch*; e. e., *gwrandewch, cyflewch, nesewch, caniatewch; ymgryfhewch, cyfiawnhewch*, a'r cyffelyb. Nid oes ei eisiau ar ol y blaenddod *di* na'i dreigliad *ni*; megys yn *dial, dielw, diod; annialgar, anniau*, &c.; nac yn y geiriau gwell*ao*l, d*ea*ll, d*eo*l, tr*oa*d, ll*uo*sog; rh*ia*n, rh*ie*ni, pr*io*d, tr*ia*gl; ll*eia*n, ll*eua*d, b*eio*, na'u cyffelyb.

IX. *Cydnod.*—Defnyddier cydnod (*hyphen*) i gadw llythrenau cyfunrhyw ar wahân; megys, *ufudd-dod, ad-ddywedyd, deu-ufeliar prif-fardd, prif-ffordd*, &c.—i wahanu *t-h*, ac *n-g*, megys yn *hwynt-hwy; gogan-gerdd, gwyn-galchu*—rhag camseinio geiriau, megys *can-wraidd, anfad-wraig, poeth-wres, perfedd-wlad*—pan fo ystyr geiriau yn eglurach, neu 'r sain yn rymusach wrth beidio newid y llythyrenau yn y rhan flaenaf o air cyfansawdd; megys *dall-*

neidr, *aur*-lestri, *byd*-anneddwr, *tôn*-nodau, *hir*-fwynhâd—ac i ddangos lle 'r pwyslais yn y fath eiriau a *di-son*, *di-fudd*, *gwir-Dduw*, &c.

Eithriadau:—Geiriau yn terfynu yn *gar*, neu *gor*; e.e., *ariangar*, *gwingar*; *Bangor*:—geiriau yn meddu cydsain yn ddigyfrwng o flaen *n* neu ar ol *g*; e. e., tey*rn*gar, gwahan*gl*wyf, tey*rngl*ud.

X. *Talfyrnod*, neu, *Tolnod*.—Talfyrer y fannod *yr* o flaen gair yn dechreu â chydsain pan ar ol gair yn diweddu â bogel; megys, "y mae 'r dyn;" "celu 'r gwir;" hoffi 'r llyfr." Ond rhodder y fannod yn llawn o flaen bogeliaid; megys, "credu yr efengyl;" "trwy yr afon."

Eithriad:—Talfyrer y fannod o flaen bogel cystal a chydsain ar ol *mae*; e. e., "y mae 'r amser;" "y mae 'r efengyl."

(1.) Toler *yn* ar ol *mae* a *sy*; e. e., "y mae 'n dyfod;" "y mae 'n aros;" "yr hwn sy 'n dyfod;" "yr hwn sy 'n aros;" "y rhai sy 'n dyfod;" "y rhai sy 'n aros."

(2.) Gwell fyddai *ne'u* na *neu eu*; ac y mae llithrigrwydd o blaid yr hen *i'w*, *a'i*, *a'u*, &c., yn hytrach nag *idd ei*, *idd eu*, *ac ei*, *ac eu*, a'r cyfryw.

(3.) Cyssyllter y talfyrnod yn wastad â'r gair rhagflaenol.

Yn gyffelyb i'r talfyrnod, defnyddier *sy* o flaen cydsain, a *sydd* o flaen bogel neu un o'r gwahannodau; e. e., "pwy sy draw?" "yr hyn sydd angenrheidiol;" "y *sydd*, y fydd, ac a fu."

XI. *Blaenddodiaid*.—Arferer *dy* fel rhagddod cadarnhaol o flaen cydseiniaid; megys, *dylanwad*, &c.: ond newidier ef i *di* o flaen bogeliaid; megys yn *dial*, *dieithr*, *diolch*, *diwyd*: a dylid goddef yr eithriad perseiniol, *diddymu*, *diben*, &c., gan fod eithriadau o'r fath ymhob iaith adnabyddus.

(1.) Defnyddier *an*, a'i dreigliadau *af*, *ang*, *am*—*cyd*, a'i dreigliadau *cy*, *cyf*, *cyng*, *cym*, *cyn*, *cys*, *cyt*—ac *yn*, a'i dreigliadau *yng*, *ym*—yn unol â gofyniadau perseiniol y seiniau a'u dilynont; e. e., *cydbwys*, *cyfod*, *cyfystyr*, *cynghor*, *cymmaint*, *cynnal*, *cysson*, *cyttundeb*; *yngwydd*, *yng ngoleuni*; *ynghyd*, *yng Nghaer*; *ymlaen*, *ym Mon*, *ym mryniau*; *ymhlith*, *ym Mhrydain*; *annedwydd*, *aflafar*, *anghariad*, *ammraint*, *amharod*.

(2.) Y mae yn deilwng o sylw pa un a fyddai oreu, ai cyssylltu *yng* neu *ym* â geiriau unsill, gan adael yr *ng* neu yr *m* ddilynol ymaith, megys uchod, fel yr arferai Ieuan Brydydd Hir, ac ereill, ai cadw y naill a'r llall yn gyflawn ymhob sefyllfa. Gwell eu defnyddio yn gyflawn ynglŷn â geiriau amrysill ac enwau priod. Nid yw *yn* yn briodol mewn un o'r manau hyn.

XII. *Calediad llythyrenau*.—Tröer *b*, *d*, neu *g*, yn nherfyn geiriau, i un *p*, *t*, neu *c*, wrth eu treiglo; megys yn *gwlyb*, *gwlypach*; *bwyd*, *bwyta*; *trugarog*, *trugarocaf*; ac nid *gwlyppach*, *bwytta*, *trugaroccaf*.

(1.) Yng nghyfarfyddiad cydsain gras â chydsain leddf, caleder y leddf bob amser i atteb y gras; e. e., *cittrach* (cid-trach), *cyttaenu* (cyd-taenu), *attodiad*, *attal*, &c. Caleder dwy *d* pan y cyfarfyddont; e e., *dattodiad* (dad-dodiad), *attethol* (ad-dethol). Lle cyferfydd cydsain leddf â'r llythyren *h*, caleder y gydsain, a newidier yr *h* i atteb iddi; e e., *eppil* (eb-hil), *attil* (ad-hil). Y mae *h* yn newid, weithiau, i dawddleddf, er mwyn cydymuno â thawddleddf gyfunrhyw; e. e., *cyrraedd* (cyr-haedd). Newid hefyd i *f*, yr hon a unir âg *f* flaenorol i wneuthur ff, megys yn y gair *cyffwrdd* (cyf-hwrdd).

(2.) Nid ymddengys fod *s* flaenddodol yn caledu *d* gyntefig (e. e., *ysdawr*, *dwysder*), er ei bod mewn llawer o eiriau o darddiad estronol yn chwannog i sain *t*. Ysgrifenir a seinir *astell* yn y ddwy ffordd—*asdell* (as-dell?) ym Morganwg, ac *astell* yng Ngwynedd (Lladin *astula*). Tybiwn mai yr olaf sy briodol.

> Gan fy nghalon i mor dru
> Cyssylltu *ystyllod* du
> Gwyn-gnawd Cynddylan cynran cynllu.
>
> *Llywarch Hen.*

XIII. *Lleddfiad llythyrenau.*—Y mae *s*, mewn blaenddod, yn lleddfu *p* neu *c* ddilynol, ac yn eu troi i *b* neu *g*; e. e., *asborth* (as-porth), *dosbarth* (dos-parth), *ysbryd* (*spiritus*); *gosgordd* (cohort), *esgar* (es-car), *ysgafn* (ys-cawn), a llawer ereill; ac amryw o honynt o darddiad estronol.

(1.) Mae *ll* hefyd yn lleddfu *t* ddilynol yn y geiriau cyfansawdd *alldud* (all-tud), *malldraeth* (mall-traeth), *neillduol*, *ymneillduol*, &c. Ond mewn geiriau unsill, nid yw na'r *ll* na'r *s* yn achosi cyfnewidiad; e. e., *mellt*, *tyst*; *cosp*, *hysp*: nac mewn geiriau cyfansawdd o'r cyfryw darddiad; e. e., *mellten*, *tystion*, *cospi*, *hyspion*.

(2.) Y mae olddodiaid â bogeliaid dechreuol iddynt, yn achosi i *t* a *p*, yn y terfyniadau *nt*, *mp*, gymmeryd sain y gydsain ragflaenol; megys yn medd*iant*, meddia*nn*au; da*nt*, da*nn*edd; ta*nt*, ta*nn*au; pu*nt*, pu*nn*oedd; pu*mp*, pu*mm*ed. Perthyn i'r dosbarth yma hefyd y mae ty*mm*estl a ty*mm*or, a derddir o ty*mp*, neu o te*mp*estas a te*mp*ora, cystal ag amryw ereill; megys, *tymmig*, &c.

XIV. *Dybryd Sain.*—Gocheler dybryd sain, trwy droi y terfyniad berfol *o* neu *io*, i *aw* neu *iaw*, os dechreu *o* y gair dilynol; e. e., "rhod*iaw* *o*ddi amgylch," "rhag tar*aw* *o* honot." Hefyd tröer y terfyniadau ansoddeiriol *ol* ac *og*, i *awl* ac *awg*, pan y rhagflaener hwynt gan *o*; megys yn ff*oawl*, parot*oawl*, ymr*oawg*.

(1.) Y mae 'r Gymraeg yn caru amrywsain; ac er mwyn hyn, yn un peth, y newid y bogeliaid wrth ffurfio y rhif lluosog. Tröir

*a* yn *e* ac *ei*; e. e., n*a*nt, n*e*ntydd; m*a*b, m*ei*bion; ar*a*ll, er*ei*ll.
*ae* — *ei* ac *eu*:—s*ae*r, s*ei*ri; m*ae*s, m*eu*sydd.
*ai* — *ei* .. g*ai*r, g*ei*riau.
Eithriad:—S*ai*s, S*ae*son, &c.
*au* — *eu* .. p*ae*n, p*eu*nod; ff*au*, ff*eu*au.
*aw* — *o* .. ll*aw*r, ll*o*riau; br*aw*d, br*o*dyr.
*w* — *y* .. b*w*rdd, b*y*rddau; c*w*mm*w*l, c*y*mm*y*lau.

(2.) Y mae cyfnewidiadau perseiniol o'r fath yma yn anwyl i'r genedl ac yn addurn i'r iaith. Yn unol â'r un egwyddor, newidir *ai* ac *ei* yn *a*, i ffurfio y rhif lliosog; e. e., gwr*ai*g, gwr*a*gedd; d*ei*gr, d*a*grau; n*ei*dr, n*a*droedd; ll*ei*dr, ll*a*dron.

(3.) Tybir mai yr un egwyddor sydd yn llywodraethu'r terfyniadau berfol, *i*, *io*, *o*, *u*, ac yn eu hamrywio i atteb bogeliaid sill ragflaenol. Ymdrechwn wneuthur hyn yn eglur.

*a*, *y*, ac *ae* rhagflaenol, a ofynant y terfyniad *u*; e. e., can*u*, d*y*sg*u*, b*ae*ddu, m*ae*ddu.

*ai* yn troi yn *ei*, a ofyn *io*: — s*ai*n, s*ei*n*io*; anrh*ai*th, anrh*ei*th*io*.

*aw* annewidiol, a gymmer *i*:—cr*aw*ni, cyfl*aw*n*i*.

*e* wreiddiol, a ofyn *u*:—cred*u*, cr*e*f*u*, pech*u*, preg*e*th*u*, anrh*e*g*u*.
Eithriad:—rheg*i*, med*i*.

*e* darddiadol o *a*, ac *ei* darddiadol o *a* neu *ae*, a gymmerant *i*:—p*a*r, per*i*; myn*a*g, myn*e*g*i*; p*a*sg, p*e*sg*i*; t*a*w, t*e*w*i*; gw*ae*dd, gw*ei*dd*i*; gw*â*n, gw*ei*n*i*.

*i* ac *u*, a ofynant *o* neu *io*:—dr*i*ng*o*, bl*i*ng*o*, &c.; egl*u*r*o*, ant*u*r*io*.

*o*, *oe*, ac *w*, a gymmerant *i*:—ll*o*n*i*; cr*oe*n*i*; syl*w*i, medd*w*i, rhe*w*i.

(4.) Gwelir yr un egwyddor berseiniol yn troi *para* i *pery*, *taro* i *tery*.

XV. *Y terfyniadau ur, yr.*—Gan nad oes rhyw gyffredin yn y Gymraeg, a chan fod *yr* yn derfyniad lliosog, megys yn *aber*, *ebyr*, byddai yn well cadw at yr hen derfyniad *ur*; e. e., pen*adur*, pech*adur*, gei[illegible]*iadur*, gwnï*adur*, pl*adur*, mès*ur*, &c.

Y mae yn y Gymraeg, megys ymhob iaith arall, fwy nag un ffurf i liaws o eiriau; a gellir ystyried y naill ffurf bron yn gyfartal gywir i'r llall; ac od ydys am sefydlu yr orgraph, ni ddylid bod yn rhy bendant ar y pen hwn; canys po caethaf y cyfreithiau, amlaf y troseddau. Bydd ar y prydydd eisiau ffurf ar air yn fynych y gall y rhyddieithwr yn hawdd ei hebgor.

Gobeithir yn hyderus y bydd i hyn o awgrymau, er mor dalfyr y bu raid eu gwneuthur, ynghyd â'r colofnau a ddilynant, yn foddion effeithiol, ar ol myned trwy ddwylaw yr holl lenorion appwyntiedig yn Llangollen i edrych drostynt, i lwyr "sefydlu Orgraph y Gymraeg."

Erfynir ar i bob un o'r llenorion crybwylledig, a gymmeradwyo yr egwyddorion sydd yn yr awgrymau hyn, roddi ei enw wrthynt, a'u dychwelyd i ni, ynghyd â'r holl chwanegiadau, talfyriadau, neu ddiwygiadau a farno yn angenrheidiol, yn ystod wythnos, o bellaf, ar ol eu derbyn; gan eu bod wedi eu cyssodi, fel y gwelir, ac nas gellir defnyddio 'r llythyrenau nac argraphu 'r gyfres eiriau, nes y dychwelo pawb y cylchlythyr hwn, a'u diwygiadau arno.

Ydym, yr eiddoch, &c.,

R. I. PRYS, Dinbych.
T. STEPHENS, Merthyr Tydfil.

*Ionawr* 1*af*, 1859.

---

Danfonwyd y cylchlythyr hwn at 94 o lenorion Gwynedd, ac at 80 o Ddeheuwyr; a chafwyd attebion oddi wrth 29 yng Ngwynedd, deg o honynt yn perthyn i'r pwyllgor; ac oddi wrth 30 yn Neheubarth, a naw o honynt yn bwyllgorwyr.

Mae y rhan fwyaf o lawer o honynt yn cefnogi ein hawgrymau ni; ac ar y prif benau dadleuol, y mae 'r mwyrif hefyd yn rhestru eu henwau ar yr un ochr; ond fel y caffer gweled yn gywir beth yw barn llenorion Cymru ynghylch orgraph y Gymraeg, rhoddwn grynodeb o'u pleidleisiau. Y llenorion Gogleddol a attebasant yw y rhai canlynol:—

1. Eben Fardd.
2. Ab Ithel.
3. Y Parch. T. Rowland, Pennant, sir Drefaldwyn.
4. Y Parch. W. Jones (*Moesolydd*), Nefyn.
5. T. ab Gwilym.
6. Y Parch. J. Owen, Thrussington.
7. Gwalchmai.
8. Y Parch. J. Mills (*Ieuan Glan Alarch*).
9. Mr. J. Williams (*Glanmor*).
10. Llallawg.
11. Y Parch. M. D. Jones, Coleg yr Annibynwyr, Bala.
12. Mr. Morris Davies, Bangor.
13. Clwydfardd.
14. Iorwerth Glan Aled.
15. Y Parch. Rowland Whittington (*Egwisyn*).
16. Ellis Owen, Ysw., Cefn y Meusydd.
17. Mr. W. Davies, argr., Wrexham.
18. Mr. John Davies (*Gwyneddon*).
19. Mathetes.
20. Rhydderch o Fôn.

21. Glan Alun.
22. Andreas o Fôn.
23. Barlwyd.
24. Ioan Prys.
25. Gwilym Hiraethog.
26. Y Parch. R. E. Williams, Llanddeusant.
27. Y Parch. John Thomas, golygydd yr "Annibynwr."
28. Y Parch. R. Thomas, Bangor.
29. Y Parch. J. Roberts, un o olygwyr "Baner Cymru."

O'r rhai hyn y mae 'r tri ar ddeg blaenaf wedi danfon sylwadau beirniadol, tra y mae 'r lleill yn cymmeradwyo 'r cynllun yn hollol.

Yn y Deheubarth cafwyd attebion oddi wrth

30. Esgob Tŷ Ddewi.
31. Y Dr. Rowland Williams.
32. Ioan Emlyn.
33. Myfyr Morganwg.
34. Y Parch. T. Price, golygydd y "Gwron."
35. Y Parch. J. Davies, golygydd y "Gwron."
36. Argraphydd y "Gwron."
37. Robin Ddu Eryri.
38. Gwilym Mai.
39. Ieuan Gryg.
40. Y Parch. D. Llwyd Isaac.
41. Golygydd yr "Ymofynydd."
42. Mr. Aneurin Jones.
43. Y Proffeswr Roberts, Coleg Aberhonddu.
44. Y Proffeswr Thomas Nicholas, Coleg Caerfyrddin.
45. Y Parch. Owen Michael, "Seren Gomer."
46. Y Parch. Owen Evans, Cefn, Merthyr.
47. Y Proffeswr D. Williams, Llanbedr.
48. Tydfylyn.
49. Gwilym Ilid.
50. Llawdden.
51. Y Parch. R. Gwesyn Jones.
52. Y Parch. E Jones, Llandyssul.
53. Y Parch. Dr. Lloyd, Coleg Caerfyrddin.
54. Y Parch. Dr. Davies, Coleg Caerfyrddin.
55. Y Parch. John James, Gellyonen.
56. Y Parch. John Jones, Aberdar.
57. Dewi Wyn o Essyllt.
58. Mr. John Morgan, New College, Llundain.
59. Mr. E. Griffiths, argraphydd "Seren Gomer."
60. Mr. W. M. Evans, argraphydd, Caerfyrddin.

Cafwyd sylwadau beirniadol oddi wrth y 18 blaenaf, a'r olaf, a chymmeradwyaeth hollol oddi wrth y lleill. Derbyniwyd attebion hefyd oddi wrth Esgob Llandaf, a'r Proffeswr Thomas, Pont y pool; ond ni roddasant hwy un farn ar y cynllun cynnygiedig.

Gellir crynhoi y pleidleisiau dan ychydig o benau. Cefnogir Seinyddiaeth, fel egwyddor, gan y mwyrif o honynt; ac nid

oes ond Ioan Emlyn a W. M. Evans, yn pleidio 'r llythyriad *an*-mharod; tra y mae saith yn cefnogi *am-m*harod; sef, Rowland, Myfyr, Morris Davies, Aneurin Jones, a Golygwyr y Gwron; ac un, Ieuan Gryg, dros *a'm*harod. Mae Gwilym Mai yn tueddu o blaid *an*-mharod, ond nid yn benderfynol. Y mae y lleill oll yn cefnogi llythyriad y cylchlythyr.

Y mae'r un amrywiaeth ynghylch llythyriad *cymhorth*, a'r cyffelyb; a'r un gogwyddiad o blaid y ffurf seinyddol. Cefnogir cy*m-m*horth gan y saith a enwyd, gan y Proffeswr Williams, ond ei fod ef dros cy*ng*-hor, ac nid cy*ng-ngh*or, a chan W. M. Evans. O blaid *cy*-nhorth y mae 'r Parch. W. Jones, Llwyd Isaac, Ieuan Gryg, a M. D. Jones; tra y mae 46 o blaid *cym*-horth.

Nid oes ond deuddeg yn erbyn dyblu *t* yn etto [gwel iii.] sef, 4, 8, 10, 6, 3, 44, 42, 34, 35, 36, 39, 60. Y mae 34, 35, 36, yn erbyn dwy *c* yn *accen* [Gwel vi. 3. *f*.] Felly y mae 48 dros y cynllun.

Y mae tri ar ddeg yn erbyn *h* yn brenhines [gwel v], sef y rhai uchod, Ioan Emlyn, a Morris Davies; a 47 drosti. Barn y Proffeswr Williams yw, y dylai geiriau sydd âg *h* yn eu treigliad ei chael yn y gwraidd hefyd; megys bre*nh*in, ce*nh*ad, ce*nh*edl, cy*nh*ydd, cy*nh*al, &c. Hefyd, yn tym*h*estl, ty*mh*or [gwel xii].

Ynghylch accennodiad, mae y mwyrif o blaid y cynllun; ond y mae Eben Fardd ac Ab Ithel am roddi rhyddid i ddyblu 'r cydseiniaid terfynol *n* ac *r* mewn geiriau unsill; a'r Proffeswr Williams a W. M. Evans dros hyny yn bendant; a thros eu dyblu hefyd yn ca*mm*u, calo*nn*au, to*rr*i; Rowland, Gwilym Mai, a Chlwydfardd, am ddefnyddio yr accen hir yn unig (tybia Clwydfardd mai ber yw sain naturiol bogeliaid); y Proffeswr Williams dros accen hir, a hono mewn geiriau amrysill yn unig; megys yn iachâd, cania*ttâ*d; eithr gwell*ha*d, cas*ha*d, cyfiawn*ha*d, heb yr accen pan aller defnyddio *h*. Hefyd, y mae efe dros na*ccâ*u. cyfl*êu*, cyffr*ôi*, trof*âu*s; eithr tra*hau*s, heb yr accennod pan fyddo *h* i mewn. Y mae esgob Tŷ Ddewi ac Owen Evans am nodi pob gair âg accennod, er mwyn dieithriaid. Tybiwn fod Ieuan Gryg o'r un farn.

*Didolnod* [viii]. Gwell gan olygwyr y Gwron a'r Proffeswr Williams accen hir. Mae yr olaf am yr accen ar y terfyniadau *âu, êu, ôi, âw; âus, êus, ûus, êwch* [viii. 1, 2], bob amser pan nas gellir rhoddi *h* o'u blaen.

*Talfyrnod* [x]. Y mae 46, 9, 8, 55, am dalfyru *yr* ymhob man; a 2, 4, 11, 3, 42, a 32, am gadw *yr*, *yn*, a *sydd*, yn llawn. Y mae rhif 47 am adael hyn at ddewisiad yr ysgrifenydd. Mae Ab Ithel a M. D. Jones am gadw *neu eu*, ac *idd ei*, &c. [x. 2]; tra

y mae Rowland, Clwydfardd, a dau neu dri eraill yn tybied y dylid gadael hyn i chwaeth yr ysgrifenwyr. Tybia Rowland mai chwaeth y cyfryw sydd i benderfynu accennodiad hefyd.

*Blaenddodiaid.* Cefnogir *yn* ymhob amgylchiad gan wyth sef 4, 10, 40, 42, 32, 41, 39, a 60; pleidir y dull talfyrnodol *y'N*ghaer, &c., gan J. Williams ac Ellis Owen; ond cyfynga 'r Parch. J. Owen y ffurf *ynghyd, ynghylch*, at ragddodiaid yn unig; tra y cefnoga 'r lleill oll y cynllun [xi. 1, 2]. Cefnoga Rowland y ffurf *angh*yson; ac A. Jones *anngh*of, &c.

Ynghylch *di* a *dy* [gwel xi], gwrthodir *di* fel ffurf gadarnhaol gan Rowland, Llwyd Isaac, A. Jones, ac Emlyn; ond cefnogir ef yn unol â'r cynllun gan y mwyrif; tra y mae lliaws mawr yn barnu mai *di* a ddylai fod ymhob man y *seinir di;* ac wrth ystyried mai *seinyddiaeth* ydyw prif egwyddor yr orgraph bresennol, yr ydym ni yn gogwyddo at yr un farn. Dichon y byddai cystal gadael hyn at chwaeth a dewisiad yr ysgrifenwyr.

Calediad llythyrenau [gwel xi]. Cefnogir gwly*pp*ach, bwy*tt*a, &c., gan Ab Ithel, Owen Evans, W. M. Evans, a'r Proffeswr Williams; a hoffai Eben Fardd i'r ysgrifenydd gael dewis; tra y mae pawb ereill o blaid y cynllun.

Y mae amryw yn erbyn y ffurf cy*rr*aedd; tra y mae y rhan fwyaf heb hysbysu eu barn; ond yr ydym ni, ar ail ystyriaeth, o blaid y ffurf cy*rh*aedd.

Dywed rhai mai S*ei*son yw y ffurf liosog i *Sais;* ac nad oes angen am yr eithriad S*ae*son [gwel xiv. 1]; ond o blaid S*ae*son a S*aesn*eg y mae awdurdod y prif awduron ac arfer gwlad. Hefyd, S*eisn*ig, *Seisnigaidd*, ydyw 'r dull gwarantedig. Nid yw Seison, S*eiso*neg, S*eiso*nig, a S*eison*igaidd, ond dulliau diweddar a chwithig; tra y mae S*eison*eg, S*eison*ig, yn cael eu haccenu yn anghywir, hyd yn oed gan eu pleidwyr. Mae y mwyrif o blaid y dull a gynnygir.

Dywedir gan rai fod y*sp*ryd yn well nag y*sb*ryd: gadawer i'r ysgrifenwyr eu dewis. Yma, megys yn y gair bor*e*, bor*eu*, bor*a*, a lliaws ereill, bydded at chwaeth y beirdd ac ereill i ddefnyddio 'r ffurf a fynont. Gan y dichon y bydd cynghanedd yn fynych yn arwain y beirdd i droseddu rhai o'r rheolau a ddewisir yma gan gynnifer o lenorion Cymru, rhaid iddynt hwy, y beirdd, gael yr un rhyddid ag a ganiateir mewn ieithoedd ereill, ac a ofynir yn "Rheolau Barddoniaeth Gymraeg." Yn wir y mae mwy o angen am ryddid prydyddol (*poetic licence*) ar feirdd Cymru nag ar feirdd un wlad arall; ac addefir ar bob llaw eu bod yn cael eu llyffetheirio yn ormodol eisoes.

Tybia Clwydfardd, mai Morganwg sy gywir gyda golwg ar sain y gair *asdell* [gwel xii. 2]; ac mai ei wraidd yw *as* a *dell*

Tybia hefyd y byddai p*y*m*p*, p*y*m*m*ed, p*y*m*m*theg, yn well na p*u*mp, p*u*m*n*ed, py*m*theg.

Y mae 'r Proffeswr Williams yn barnu fod "rhodi*o* *o*ddi amgylch," "rhag tar*o* *o* honot," yn well na "rhodi*aw* *o*ddi amgylch" [gwel xiv]. Barna amryw fod rheg*u* yn gystal a rhe*gi*. Mae pawb ereill o blaid y cynllun.

*Ur* ac *yr* [gwel xv]. Cefnoga golygwyr y Gwron, Llwyd Isaac, ac Emlyn, y terfyniad *yr* yn y fath eiriau a plad*ur*, &c.; ond y mae Rowland, W. Jones, Dr. Williams, J. Williams, a'r mwyrif o blaid yr hen derfyniad *ur*; ac yn unol â'r cylchlythyr.

Mae amrywiaeth barn hefyd ynghylch geiriau benthyciol. Cefnogir y cylchlythyr gan y mwyrif; ond y mae golygwyr y Gwron a Ioan Emlyn am ddefnyddio *ff* yn lle *ph* yn y fath eiriau benthyciol a *prophwyd*, *orgraph*, &c. Mae dau neu dri hefyd yn ammheu fod *orgraph* yn tarddu oddi wrth *orthography*, a dywedant mai oddi ar wreiddyn Cymraeg y tardd argraph, argraphu, &c. Gwell o lawer yw defnyddio gair gwir Gymraeg lle gellir; megys, *athronydd* yn lle *philosophydd*; ond dywed y Parch. O. Michael, mai gwell yw Cymreigio y fath eiriau a *telegraph*, *photograph*, &c, nag ymdrechu llunio geiriau ereill na ddeuant byth i arferiad.

Sylwa y Parch. J. Owen, y dylem, yn unol â'r egwyddor seinyddol, ysgrifenu y fath eiriau a llyfr, teml, magl, ochr, &c. yn ddwysill, fel y lleferir hwynt; *h. y.* llyfyr, (llifyr?) temel, ochor, magal. Dywed Mr. Owen hefyd y dylai y rhagddodiaid tuag at, oddi wrth, &c, gael eu hysgrifenu fel un gair.

Wele gynnwys yr ymgynghoriad mor bell ag yr aeth; a gwelir fod llais y wlad yn eglur o blaid cynllun y cylchlythyr. Mae yn seinyddol, yn gyfleus, ac yn cadw gwir darddiad y geiriau mewn golwg mor bell ag y goddef symlrwydd. Ond nid yw yn bossibl cynnyg un orgraph berffaith o'r Gymraeg, heb fod yn anghyfleus, tra mae yn ofynol defnyddio llythyrenau dyblyg a thriphlyg. Nid ydym yn addef hynafiaeth Coelbren y Beirdd; ond cydunwn â Myfyr mai dyma wreiddyn y drwg; ac addefwn fod llunwyr y Coelbren wedi teimlo y diffyg, ac wedi gweled fod llythyrenau sengl yn anhebgorol. Gwneir sylwadau cyffelyb gan Dr. Williams, W. Jones, a M. D. Jones.

Rhwyddhawyd y gorchwyl o gasglu y gyfres hon, drwy fod cyfres o'r fath, o gasgliad Mr. Gee ei hun, yn cael ei defnyddio yn ei swyddfa er's dros bymtheng mlynedd; a'r hon a ddiwygiwyd yn lled ddiweddar gan y Parch. D. S. Evans, ac un o honom ninnau.

**Erbyn hyn y mae yn ymddangos fod llais y wlad wedi dangos yn eglur mai *am* ac nid *an*, *cym* ac nid *cy*, a ddylai rag-**

flaenu *m* ac *mh* ddilynol; ac mai *cyn* ac nid *cy*, a ddylai ragflaenu *n* ac *nh;* ac yn ol ein barn ni, dylai fod yn eithaf amlwg mai *am*. *cym*, *cyn*, yw sain y silliau blaenaf yn am-mod cymmysg, cyn-nydd; ond y mae talfyriad *mh* ac *nh* mewn sillau dilynol yn fwy agored i ammheuaeth. Y mae amryw o lenorion pwyllog yn gwrthod hyny, ac am ysgrifenu y geiriau yn ol eu tarddiad; a theimlwn ninnau fod rhai llythyrenau dilynol megys *l* ac *r* yn gofyn yr *mh* ac *nh* yn gyflawn. Carasem ni hebgor un gydsain yn y cyfryw eiriau; ond ni ddeil y cynnygiad a roddasom yn ddieithriad; ac ar ol talu 'r sylw manylaf i bwngc yr orgraph, cystal a'r hyn a ddywed yr holl bleidleiswyr arno, yr ydym yn credu weithiau, fod swn, gwraidd, a chywirdeb, yn gofyn *dwy m* yn a*mm*harod, a*mm*hleidgar, a*mm*hrydlawn; cy*mm*horth, cy*mm*hlyg, cy*mm*hraffder [gwel vi. 3. *c*]. Y mae am-*h*arod, am-*h*leidgar, am-*h*rydlawn; cym-*h*orth, cym-*h*lyg, cym-*h*raff der, yn rhy anghymmeradwy.

Yn unol â'r un egwyddorion, defnyddier dwy *n* yn a*nn*heg, a*nn*hlysni, a*nn*hraethol: cy*nn*hes, cy*nn*hraul, &c.

Ystyrir geiriau yn dechreu âg *ang* a *cyng* yn eithriadau; megys, *anghof*, *anghlod*, *anghrist*, *cynghor*, *cynghload*, *cynghreirwyr.*

Yn y colofnau a ddilynant y sylwadau hyn, cyfrwymir y gwahanol ffurfiau o'r un gair ar y dde, fel hyn:—

daear } a'r ffurf flaenaf a ystyrir oreu i'w harfer mewn cyfansoddiad cyffredin. Y cyfrwym ar y llaw chwith a arwydda mai y gair olaf ydyw y mwyaf cymmeradwy; megys,
daiar }

{ anghraifft.
{ engraff.

Gwyddys na chynnwys y cofrestrau dan sylw yn awr bob gair y mae amrywiaeth barn ynghylch y dull goreu o'i ysgrifenu, ond credir y cynnwysant engraffau o'r *dosbarth* y mae pob gair o'r fath yn perthyn iddo; ac oddi wrth yr engraffau hyny, y bydd yn hawdd deall am eiriau ereill o gyffelyb ansawdd, a darostyngedig i'r un rheolau.

Gosodir gair i mewn weithiau, nid am fod gwahanol ddulliau o'i ysgrifenu, ond er mwyn dangos pa *nod* neu *accen* a berthyn iddo; megys *tân*, *tôn*, *tònau*, *gweddïo*, &c.; ac ambell un arall, fel y gweler nad oes un nod nac accen i fod arno; megys *rheol*, *diolch*, *awyrgylch*, &c.; ac na wnai ei accennodi les yn y byd tuag at ei gywir seinio na thuag at ei wahaniaethu oddi wrth air arall chwaith.

Defnyddir mannodau (*dots*), yn lle cydnodau (*hyphens*), i ddosbarthu geiriau yn sillau, fel hyn:—cyf·iawn·hau.

R. I. P.
T. S.

O. Y....Ar ol i'r sylwadau uchod fyned i'r wasg, daeth pleidlais y Canghellydd Williams (Hu Benfro), i law. Dywed mai perthyn i'r hen ysgol y mae efe, fel y rhan fwyaf o'r Deheuwyr. Y mae dros ysgrifenu pob gair yn gywir fel y seinir ef—a*mmh*arod; a*mm*eu, cy*mm*orth, cy*nn*es, cy*ng*or; a*mmh*euaeth, cy*mmh*ortha, cy*nnh*ortha, cy*nnh*esu, cy*ngh*orion; a*ngh*of, a*ngh*lod, a*nnh*al: ca*mm*u, calo*nn*au, na*cc*a, to*rr*i, ho*nn*o, hw*nn*w, to*nn*au, ma*nn*au; cy*rr*aedd, cy*rrh*aeddyd; na*cc*au, gwe*llh*au, paro*tt*oi: teby*cc*af, gwly*pp*ach, cale*tt*ach: *yngh*yd, *ymh*ob, *ym*laen; *yng ng*oleuni, *yng Ngh*ymru, *ym M*on, *ym Mh*rydain: *neu eu*.

# YR ORGRAPH.

a : ac
a : efe *a* ddywedodd
â, âg : gyda
aiff }
ä }
A ! : O!
âb : epa
ab : mab (o flaen bogel neu gydsain leddf) Hywel *ab Owain*; Dafydd *ab Gwilym*. Gwel *ap*
ab·ad
ab·at·ty, *ll.* ab·at·tai
ab·sen·nol
ab·sen·u
ac·cen
ad-dal·iad
a·dam·meg
ad-dyb·io }
at·tyb·io }
{ ad-dyf·iant
{ at.tyf·iant
ad·eil·ad : adeildy
ad·eil·iad : ail eiliad
ad·eil·io : ail eilio
ad·eil·o : adeiladu
{ ad·gas
{ at·gas
ad·glaf
ad·gno }
at·gno }
ad·gof
ad·gyrch·ol }
ad·gyrch·iol }
ad·nab·um
ad·wyr : anwyr
ad·ŵyr : adwyrol
a·ddaw }
a.ddo }
a·ddä·wn
a·ddä·wr
a·ddew·id
add·fed
add·fet·ach
add·ol·dy
add·wyr
a·ddysg, *b.*
ael·od·aeth }
ael·od·iaeth }
aeth·um }
aeth·ym }
af·leu
af·rad·lawn }
af·rad·lon }
affl·au
âg : gydag
ag : a
ag·er·long }
ag·erdd·long }
ag·os·âd
ag·os·ä·ed
ag·os·ä·ent
ag·os·ânt
ag·os·au
ag·os·äwn
ag·os·eir
ag·os·ewch
a·gwyr
ang·el : *ll.* ang·yl·ion
ang·en
ang·en·oc·tid
ang·en·rhaid, *a.* a *s.*
ang·en·rheid·iol
ang·erdd
ang·eu }
ang·au }
ang·hen·fil
ang·hen·og : rheidus
ang·hèn·og : heb gen
ang·hen·us
ang·herdd
ang.hlod
ang·hof
ang·hosp
{ ang·hraifft
{ eng·raff
ang·hrist
ang·hwbl
ang·hyd·ffurf·iaeth
ang·hyf·iawn
ang·hym·mhar
ang·hym·mhar·us
ang·hym·mhorth
ang·hym·mer·ad·wy
ang·hym·mes·ur
ang·hys·son
ang·ladd
ang·radd (gradd)
ang·raifft }
ang·hraifft }
ang·ram·mad·eg·ol }
an·ram·mad·eg·ol }
ang·reddf (greddf)
a hefyd }
ac hefyd }
âi : elai
ai : a? onid?
ai e }
aiê }
a'i : ac ei
â'i : âg ei, gyda'i
aiff } : ä
eiff }
ail·eni
ail·en·ed·ig
al·can }
al·cam }
a·le·liw·ia
all·draw }
all·traw }
all·drawd
all·dud }
all·tud }
all·dud·iaeth
all·dud·io
a·maeth : llafurwr
am dano
am dan·ynt
am·dö·ed·ig
am·doi
am·dreigl·ad

am·dreigl·o
am·ddif·ad, *ll.* aid
am·ddiff·yn }
ym· iff·yn }
{ am·gel·edd·u
{ ym·gel·edd·u
am·gy·ffred
am·gylch o·gylch
am·her·awdwr }
ym·her·awdwr }
am·hŵ·edd
am hyny
aml·dduw·iaeth
aml·hâd
aml·hä·er
aml·hâf
aml·hânt
aml·ha·odd
aml·heid
aml·heir
am·maeth: blasusfwyd
am·meg: dammeg
am·meuth·yn
am·mharch
am·mhar·od
am·mher·ffaith
am·mheu }
am·meu }
am·mheu·aeth
am·mheus
am·mhlant·ad·wy
am·mhos·sibl
am·mhri·od·ol
am·mhryd·ferth
am·mhryd·lawn }
am·mhryd·lon }
am·mhur
am·mhur·deb
am·min·iog
am·mlas
am·mod
am·moeth·yn: a·maeth
am·mor
am·mraint
am·mrawd
am·mrawdd: amgylchiaith
am·mrwd
am·mwlch
[Tröer *an* o flaen *m* neu *mh* bob amser yn *am*.]

am·raf·ael
am·rant·un
am·rant·un·o
am·rawdd: ymadrodd
-am·rosg·ö·edd
am·ry·dduw·iaeth
am·ry·fal: amrywiol
am·ryw·iaeth: gwahaniaeth [iaith
am·ryw·iaith: tafod-
am·ser·iad·ur
a·myn·edd }
am·myn·edd }
an·e·on
an·erch·iad
an·ffaeth·der
an·if·ail }
an·if·el }
an·ne·all
an·nheb·yg
an·nedd
an·nelu
an·nheg
an·nheil·wng
an·nhym·mig
an·ni·au
an·ni·byn·ol
an· ·odd·ef·ol
an·ni·olch·gar
an·nof·ad·wy: anwaradwy [nofio
an·nof·iad·wy: nas gall
an·nog·aeth
an·nwn }
an·nwfn }
an·nwyd: oerfel
an·nym·un·ol
an·nys·gym·mod
an·ny·wedd·ï·aeth
an·odd·ef·ol
an·rhad
an·rhad·lawn
an·rhag·farn
an·rhaib
(*rh* ar ol *an*)
an·sawd
an·sawdd
ânt
a·nwyd: nwyd
ap: mab (o flaen *h* neu gydsain galed)
*ap Howel, ap Cynan*
ap·pêl

ap·pel·io
ap·pwynt·io
a·phwys
ar: uwch law
âr: tir âr
a'r a all
a'r a'i
ar·adr }
ar·ad } *g.*
ar·aeth }
ar·aith }
a'r a fo
arch·ddi·ac·on
arch·es·gob
Archesgob Caergaint [*ond* yr archesgob Davies]
arch·iag·on
Archiagon Prys [*ond* yr archiagon Prys]
ar·dderch·og·rwydd
ar·ddy·graph, *b.*
ar·eith·io
ar·graph, *b.*
ar·graph·u
ar·graph·lyth·yr·en
ar·hôdd: arosodd
ar·howch: aroswch
ar hug·ain
ar·ian·llais
ar·ian·lliw
ar·loes·i }
ar·lloes·i }
ar·llen·iad
ar·llost }
ar·lost }
ar·llud·lys
ar·lludd·io }
ar·ludd·io }
ar·llwybr }
ar·lwybr }
ar·llwys
a'r na
ar·os·ant
a'r y mae
a'r y sydd
as·erw: astyllen
as·serw: disglaer
as·swyn: anwydd
as·swyn·o: absennoli
a·swyn·o: deisyf [wr
as·swyn·wr: absennol-

a·swyn·wr: attolygwr
as·tell
as·tyll·en
at·o
at·tal
at·tal·ad·wy
at·teb
at·teg
at·tol·wg
at·tol·yg·u
at·treidd·io
at·tro
at·tro·awl
at·tu·edd
at·twf
at·tyf·iant
at·tyn·iad
a'u: ac eu
â'u: âg eu
awd·ur
awd·ur·dod, *b.*
awd·wr
aw·en·au: awenesau
a·wèn·au: afwynau

## B.

bangc }
banc }
bai: gwall
bâi: byddai [iddo
bal: â thalcen gwyn
bâl: bryn
bal·i (*tr.* o pali)
bàl·i: seren wen
ban·au 'r ffydd }
ban·au y ffydd }
ban·er·au
ban·iar, *ll.* banieri
ban·llef
ban·nod
ban·og
nod banog
bar (o haiarn)
bâr: llid
bardd·on·ol }
bardd·on·awl }
bardd·on·ï·aidd }
bar·gen·a }
bar·gein·io }
bar·wn }
bar·on }
bas·tardd

Beibl }
Bibl }
beirn·iad·ol
bel·a: blaidd
bel·e: carlw
ber·llysg }
byr·llysg }
ber·wy 'r dwfr }
ber·wy 'r dwr }
ber·rwy: llyffethar
beth byn·ag
beu·nydd a byth
blaen·red
blaen·red·ol
blyn·edd
blyn·ydd·oedd }
blyn·ydd·au }
blyn·ydd·ol
bo: byddo
bôch: byddoch
boch·aid: llonaid boch
boch·iad: llenwad boch
bod
a bod
er bod
o blegid bod
o herwydd bod
rhag bod
sef bod
bod·ol·aeth
bodd·hâd
bodd·haol
bodd·hau
bodd·hawr
bodd·lawn }
bodd·lon }
bod·lon }
bodd·lon·ol
bog·ail, *ll.* bogeiliau
bog·el, *ll.* iaid
bôm: byddom
bônt: byddont
bôt: byddot
bêr: per
ber (*b.* o byr)
ber, *ll.* bèrau
bor·eu }
bor·e }
bor·au }
boreu·ddydd
bor·eu·ol }
bor·e·ol }

brag·wr: bragydd
brag·iwr: bostiwr
bran: aderyn
bràn (gwenith)
bran·og: llawn brain
bràn·og: llawn bràn
brasâd
brasau
bref·ant } *g.*
breu·ant } *g.*
brei·an
brein·fa·oedd
brein·fawr
brein·io
brein·iol: breintiol
bren·in
bren·hin·oedd
bren.hin·es
bren·hin·ol: teyrnol
brein·dir
breint·len
breuan: melin law
brë·yr
brë·yr·es
brë·yr·iaeth
brid·uw
brig
brìg: llong
bru: croth
bry: fry
brud } : hanes
brut } : hanes
bryd: meddwl
brŷn: cilwg
bryn: moel
budd·ai
budd·ug·ol
budd·ug·ol·iaeth
bu·graph·iad
bul (=bûl): plisgyn
byl (=bŷl): ymyl
bûm: buais
bur·gyn
bur·ym [bod
bu·wyd: yr ys wedi
bw·au (*ll.* o bwa)
bw·äwr } : saethwr
bw·eydd } : saethwr
bwc·cled
bwc·cledr
bwr·lwm
bwr·lymu
bwth, *ll.* bythod

bwth·yn
bwy·ell } : *ll*. bwyeill
bwy·all }
bwyd·a : portha
bwyt·a : ymborthi
bwyt·ai, bwytäent
bwytânt
bwyt·äwn
bwyt·ei
bwyt·eig
bwyt·ty, *s*. bwydgell
bwyt·y, *p*. efe a'i bwyty
by·gwth }
bw·gwth }
bŷch : byddych
by·gyth·iad
byw·hâd
byw·haus
byw·ioc·aus
byw·ol·iaeth, *b*.

C.

cad·air : eisteddfa
cad·er : caerfa
Cader Idris
cad·arn·hâd
cad·arn·hau
cad·arn·hawr
cad·arn·haol
cad·ben
cad·ern·id
cad·gi
cad·gorn
cad·gun }
cat·gun }
cae·ad : ceu·ad
cang·en
cang·hen·au
cang·hell·wr – ydd – or
cammin : hebog
cai : cyttwf
câi : caffai
caiff
caingc
calan gauaf
calan·mai
cammined : blodeuyn
camre, *ll*. camrau
cam·u
cam·ym·ddyg·iad
cân : canu
can : gwyn ; peillied

can : cant, 100
can : gan, canys
Ca·naan
Can·nan
can·fed
can·fu·wyd
can·iad, *b*.: cerdd
can·iad, *g*.: canu
can·iat·äech
can·iat·äem
can·iat·äer
can·iat·âf
can·iat·ai
can·iat·ânt
can·iat·aol
can·iat·aom
can·iat·au
can·iat·ei
can·iat·ewch
can·mawl }
can·mol }
can·nerth
can·nan } : cyflegr
can·non }
can·on : rhaith
can·noedd }
cant·oedd }
can·north
can·nwr : can gwr
can·wr : canor
can·nyn : 100 dyn
can·ol·barth
can·ol·bwynt
can·rif, *b*.
can·rif·au }
can·rif·oedd }
cânt : canodd
cânt : caffant
cant : 100
cant : cylch
can·wr·iad
can·wyll·ur
can·u : pyngcio
cân·u : gwynu
can·ym·doi
capel, *ll*. -i, -au
câr : perthynas
car : cerbyd
car : ger
gar llaw : ger llaw
car·dot·a
car·dot·ty
car·dot·yn

car·eg, *ll*. ceryg
car·en·nydd
cas·â
cas·âd
cas·au
cas·äwr
cath·olig
yr Eglwys Gatholig
cat·trefn
ca·tyr·fa
cau·ad, *s*. ac *a*.
cawri, *ll*.
ced·yrn }
ced.eirn }
cefn·gefn
cengl·iad·ur }
ceingl·iad }
cei·bren
ceim·wch
ceir } : ceffir
cair }
ceis·bwl
cel : celedig
celf·ydd·yd—au
cen
cen·ad
cen·had·au } *ll*.
cen·had·on }
cen·had·iaeth } *b*.
cen·had·aeth }
cen·edl
cen·hedl-ddyn
cen·hedl·oedd : ciwdod
y Cenhedl·oedd : paganiaid
cen·hedl·gar·wch
cen·fi·gen
cen·llif
cefn·llif
cen·llusg
cen·eu : cenaw
cêr
cer : ger, ger llaw
cerdd·in·en }
cerd·in·en }
cer·hynt
ceu·lan·au } *ll*.
ceu·len·ydd }
ceuo
ceu·ad : cloddiad
ceu·bren : pren cafnog
cer·ub·iaid
ci·aidd

cin·iaw, *g.*
cip·edr·ych
cip·gais
cip·pill
cit·trach
clau·ar
cledd·yf }
cledd·eu }
cler, *ll.*
clic·ied
clodd·feydd
clö·ed·ig
clôg : mantell
clog
clud : cerbyd
clud·air }
clud·er }
clust·og : gobenydd
clust·iog : â chlustiau iddo
clust·tlws
clyd, *g.* } : cyn·nhes
cled, *b.* }
clust·ym·wran·daw }
clust·ym·wran·do }
côb : mantell
cob : ergyd ; copa ; diffynglawdd
cnew·ull·yn, *ll.* cnewull.
coeg·lofft
coel·bren·au }
coel·bren·i }
cofl : mynwes
coel·grefydd
coet·tir
coff·âd
coff·aol
coff·au
coff·awn
coff·awr
cog·ail
col : celyn
côl : milrhith
col·ofn, *b.*
col·eg
col·udd·ion
con·yn
cop·ï·ais
cop·ï·as·ant
co·pï·au
cop·ï·o
cop·ï·wyd

cor : corach
côr : cantorion
corph, *ll.* cyrph }
corff, *ll.* cyrff }
cor·on·llys
cor·yn y pen
còryn : corach ; pryf copyn
cosp
cosp·adwy
cosp·awl }
cosp·ol }
cosp·ed·ig·aeth
cot
côt : pais
crai (nodwydd)
cram·mwyth
crawni
crange
cre·ad
cre·ad·ig·aeth
cre·as·ant
crë·ed·ig }
creu·ed·ig }
cref·ad·ur
creg·yn, *ll.*
cre·odd
creu : gwneuthur
crë·u : crefu
crewr
cre·wyd
creydd
creyr
creu·lawn
Cred : gwledydd cred
cred : credo
credo, *g. ll.* credoau
cref·ydd, *b.*
cris·ial
crisp·in
Crist
Crist·ion
Crist·ion·og·aeth
Crist·ion·og·ol }
Crist·ion·og·awl }
cron·icl
Llyfr y Cronicl
croy·w
crud : amlen
cryd : cryndod
cryd : cawell
crug : pentwr
cryg : anghroyw

cryf·hau
crym·fach }
crom·fach }
cryn : ysgydwad
cryn : canolig
cryn·hoi
cryn·hoad
cryn·ho·deb
cryn·ho·awl
cud·yll
cud·yn
cul : teneu
cyl : odyn
cun : cu
cun : arglwydd
cŷn : gaing
cyn : cyntaf
cyn belled
cyn gynted
cun·nellt
cun·nog
cur
cur·io
cur·o
cur·bynt : ystorm
cwar
cwbl·heir
cwc·wll
cwlltr } *ll.* cylltrau
cwlltyr }
cwm·mwd }
cym·mwd }
cwmp·as—ol
cwm·mwl
cwn, *ll.*
cwn : y pen
cwr
cŵr : cylch
cwt·ogi
cwyn
cwyr
{ cy·bell·ed
{ cyn belled
cyb·ydd
cyc·yll·og
cyd-deimlo }
cyt·teimlo }
cyd-deithio }
cyt·teith·io }
cyd-dreul·io }
cyt·treul·io }
cyd-dreis·io }
cyt·treis·io }

**Yr Eglwys o Ddifrif.** Gan y diweddar Barch. J. ANGELL JAMES, o Birmingham. Gyda Rhagdraethawd, gan y Parch. HENRY REES. Pris 3s. mewn rhanau—3s. 6c. mewn byrddau.

"Mae ein calon yn llawenhau wrth feddwl fod y fath lyfr defnyddiol yn cael ei osod o hyd cyrhaedd i'r Cymry uniaith. Byddai yn dda genym i'r eglwysi oll ddarllen yr 'Eglwys o Ddifrif.'"—*Y Diwygiwr.*

"Mae y Rhagdraethawd gan Mr. Rees yn chwanegiad gwerthfawr at y Traethawd gwreiddiol: mae fel dolen yn cydio y materion a drinir gan Mr. James âg ansawdd crefydd yn mysg y Cymry. Nid rhyw ragymadrodd cyffredin ydyw."—*Y Drysorfa.*

"Yr ydym yn dra diolchgar i'r cyhoeddwr am ei anturiaeth i wneuthur lles i'w genedl trwy Gymreigio llyfryn mor werthfawr ag yw yr 'Eglwys o Ddifrif.'"—*Yr Eurgrawn Wesleyaidd.*

"Yr ydym yn byw mewn amser pan y mae y byd o ddifrif, teyrnas y tywyllwch o ddifrif, anffyddlaeth a Phabyddiaeth o ddifrif—pawb o ddifrif, ond yr eglwys. Y mae yn eglur fod yr awdwr ei hun o ddifrif yn ei ysgrifenu, ac o ganlyniad y mae yn tueddu i wneyd pawb o ddifrif wrth ei ddarllen."—*Y Traethodydd.*

**Stenographia, neu Law Fer:** yn ol trefn Mr. Richardson; gyda Rheolau a Chyfarwyddiadau i'w dysgu heb gymhorth Athraw. Wedi ei chyfaddasu i'r Iaith Gymraeg; â'r hon yr ysgrifenir mwy mewn awr nag a ysgrifenir mewn awr a hanner âg un arall sydd gan y Seison. Gan THOMAS ROBERTS.

Y mae y llyfr hwn yn cynnwys un ar bymtheg o *Blates*, yn nghyd â phob hyfforddiadau ereill oedd yn y Seisoneg, angenrheidiol er dysgu y gelfyddyd: ac er fod ei bris yn Seisoneg yn 10s. 6c., nid yw pris yr argraffiad hwn ond 3s. 6c.

**Y Cyfrifydd Parod.** Mewn byrddau, 1s.

**Y Cyfrifydd Parod at Yd.** Gan J. EVANS, Rhuddlan. Pris 1s. mewn papyr; 1s. 6c. mewn byrddau.

**Cyfraith y Tlodion.** Pris 6c.

**Pregeth ar Feddwdod.** Gan y Parch. W. ROWLANDS. Pris 6c.

**Testament Newydd** ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist; gyda Nodau cyfeiriol o bob adnod, &c., &c. Cymraeg a Seisoneg. Mewn rhanau, pris 6s. I'w gael hefyd yn rhwym, pris 7s. 6c.

**Traethawd ar Grefydd Naturiol a Dadguddiedig:** yn cynnwys profion o ddwyfoldeb y Beibl; a'r Grefydd Gristionogol—hanes gaugrefyddau y byd—pa mor bell y llwyddodd y doethion Cenedlig i ddwyn trefn ar y byd—golygiadau Socrates, Plato, Aristotle, Anaxagoras—egwyddorion Hobbes, Rousseau, Paine, Bolingbroke, Volney, &c., yn nghyd â sylwadau cyffredinol arnynt—addefiadau gelynion y Beibl o ragoroldeb ei egwyddorion—dylanwad ymarferol Cristionogaeth ac Anffyddiaeth ar wledydd a phersonau—esamplau o dröedigaeth anffyddiaid—marwolaethau truenus amryw anffyddiaid, a marwolaethau dedwydd amryw Gristionogion—agwedd grefyddol y byd, a'i brif grefyddau, yn nghyd â sylwadau arnynt—cyfarwyddiadau i ddarllen a deall yr Ysgrythyrau—hanes y Beibl. Gan y Parch. W. REES. Pris 4s. 6c. mewn rhanau—5s. mewn byrddau.

**Cyfatebiaeth Crefydd Naturiol a Dadguddiedig i Gyfansoddiad a Chwrs Natur.** Gan JOSEPH BUTLER, LL.D., esgob Durham. Wedi ei gyfieithu, yn nghyd â chwanegiadau, gan y Parch. JOHN HUGHES, Everton, Liverpool. Pris 3s. mewn byrddau.

**Cynnorthwy i'r Myfyriwr Ysgrythyrol:** sef, Mynegai cyflawn a Geiriadur cryno o'r Beibl Sanctaidd; yn yr hwn y cyfeirir yn gywir at yr amrywiol Bersonau, Lleoedd, a Thestynau a grybwyllir yn yr Ysgrythyrau; ac y rhoddir eglurhad byr ar bob gair tywyll ac ansathredig. Gan y Parch. JOHN BARR, Glasgow. Cyfleithwyd gan y Parch OWEN JONES, Manchester. Pris 3s. 6c. mewn rhanau; 4s. mewn byrddau.

**Cofiant y Parch. Moses Parry, Dinbych:** gyda Rhagdraethawd gan y Parch. HENRY REES, Liverpool. Cynnwysa hanes ei Fywyd, ei Nodweddiad, ei Arabedd, ei Ddywediadau, ei Bregethau, &c., &c. Gan y Parch. J. FOULKES, Liverpool. Pris 1s. mewn papyr, 1s. 6c. mewn byrddau.

# CYFAILL YR YSGOLOR;

YN CYNWYS

## SYLWADAU

AR

## DDARLLENYDDIAETH,

AC EGLURHAD AR

## DROELLEGAU YR YSGRYTHYRAU.

---

GAN DAFYDD GRYFFYDD,
*(Clwydfardd.)*

---

CAERNARFON:
ARGRAFFWYD GAN HUGH HUMPHREYS, HEOL BANGOR.

---

PRIS CHWE' CHEINIOG.

# RHAGLITH.

Yn ol dymuniad amrywiol o'm cyfeillion o wahanol enwadau y cyhoeddais y llyfryn hwn, dan obeithio y bydd o les i'r tô ieuanc ag sydd yn awr yn sychedu ac yn dyheu am fedru darllen eu Biblau gyda phriodoldeb yn iaith eu gwlad.

Wrth ystyried fy mod wedi cyfyngu fy sylwadau ar ddarllenyddiaeth i gylch mor fach, nid rhyfedd os bydd im' gael fy meio am sylwi mor fanwl a maith ar y Llythyrenau; i hyn yr wyf yn barod i ateb, fy mod yn sicr na's gall neb fod yn ddarllenwr hyawdl a medrus, heb iddo fod yn gyfarwydd yn y wyddor, a gwybod sain y llythyrenau, a'r llios-seiniaid oll.

Yr wyf o dan rwymau i amrai awduron am lawer o'r defnyddiau sydd yn nghorph y gwaith; ni all llyfr o'r fath fod amgen na chasgliad, gan mwyaf, er fod ynddo amrai bethau newyddion nad ymddangosasant erioed o'r blaen.

ris, hyd nes y gallom ddarllen yn llithrig, yn ddeallus, ac yn ddealladwy er budd i ni ein hunain, ac hefyd i'r rhai a'n gwrandawant: a chan fod iaith yn cael ei gwneyd i fynu o eiriau, geiriau o sillau, a sillau o lythyrenau, bydd i ni sylwi yn fanwl ar y gwahanol ddosbeirth, gan ddechreu gyda'r sylfaenolion, sef y Llythyrenau.

## AM ANSAWDD EGWYDDOR GYFLAWN.

Llythyrenau ynt arwyddion llefariad iaith, i'w dangos yn eglur mewn ysgrif neu argraff.

Y mae llythyrenau gwreiddiol, ac y mae llythyrenau tarddedig; y llythyrenau gwreiddiol a elwir yn gysefiniaid, a'r llythyrenau tarddedig yn hanedigion.

Rhifedi y cysefiniaid yw un-ar-bymtheg; a mwy na hyny o barth anian, ni ddichon fod mewn iaith; sef, pedair o lafariaid, a deuddeg o gydseiniaid

Rhifedi yr hanedigion yw saith-ar-hugain; sef, wyth o lafariaid, a phedair-ar-bymtheg o gydseiniaid. Swydd yr hanedigion yw arwyddo y cyfnewidiadau a berthynant i sain y cysefiniaid newidiol mewn damweiniau ymadrodd.

Dyma egwyddor y llythyrenau cysefin yn ol eu perthynas:—

a e i o b m p f c g t d n l r s

Yr egwyddor hon a arferid ar y cyntaf gan ein hynafiaid i ysgrifenu eu hiaith; ac y mae amrai ysgriflyfrau yn ol y dull hwn, oddieithr ychydig o amrywiaethau, yn gadwedig hyd heddyw. Ond dylid bod yn hyddysg iawn yn yr iaith er gallu ei darllen fel hyn yn hylithr, heb gyfarwyddyd i ddangos cyfnewidiadau y llythyrenau, oddieithr o ddeall yr ymadrodd yn unig. Er dileu y rhwystrau hyn y lluniwyd arwyddion y tri chyfnewidiad sain; sef, yr ysgafn y chwyrn, a'r meddal, gan y beirdd, yr hyn oedd dechreuad ac achos y llythyrenau tarddedig, neu'r hanedigion.

Dyma'r egwyddor gyflawn yn ol Coelbren y Beirdd, yn cynwys y cysefiniaid a'r hanedigion:—*A â b f m c g ngh ch d dd n e ê f ff g ng h i l ll m f n o ô p b mh ph r rh s t d nh th u w ŵ y ŷ.*

Talfyriad o'r egwyddor hon yw'r egwyddor a arferir ganddom fel cenedl yn bresenol, ac a adnabyddir fel y canlyn :—

*Y Prif Lythyrenau.*

A B C CH D DD E F FF G NG H I L LL M N O P PH R S T TH U W Y.

*Y Man Lythyrenau.*

a b c ch d dd e f ff g ng h i l ll m n o p ph r s t th u w y.

Y mae yn yr egwyddor hon saith o lythyrenau a elwir Llafariaid; tair-ar-ddeg o Gydseiniaid unigol; a saith o Gydseiniaid dyblyg.

Y Llafariaid ydynt, *a*, *e*, *i*, *o*, *u*, *w*, *y*; ac yn hirion fel hyn, *â*, *ê*, î, *ô*, û, *ŵ*. ŷ. Gelwir hwy yn llafariaid am eu bod yn cynwys sain gynnwynol ynddynt eu hunain, ac nad oes eisieu cynorthwy llythyren arall i seinio yr un o honynt.

Y Cydseiniaid unigol ydynt, *b*, *c*, *d*, *f*, *g*, *h*, *l*, *m*, *n*, *r*, *s*, *t*: a'r cydseiniaid dyblyg ydynt, *ch*, *dd*, *ff*, *ng*, *ll*, *ph*, *th*; gelwir hwy yn gydseiniaid am fod rhaid iddynt wrth lafariaid yn gyfnerth i gydseinio gyda hwynt, o eisieu sain berffaith ynddynt eu hunain.

Y Cydseiniaid, yn ol eu gwahanol sefyllfaoedd mewn sillau a geiriau, a ddosberthir ac a enwir fel y canlyn :—

1. Y Golafariaid ydynt un-ar-ddeg; sef, *ch*, *dd*, *ff*, *ng*, *l*, *ll*, *m*, *n*, *r*, *s*, *th*; am fod ynddynt haner sain llafariaid o'u hanian eu hunain.

2. Y Mudseiniaid ydynt wyth; sef, *b*, *c*, *d*, *f*, *g*, *h*, *p*, *t*; ac a elwir felly am na seiniant yn eglur a llafar wrth y llythyrenau gloewon, eithr yn fwy cudd a mudion, fel yn y geiriau hyn, *bron*, *claf*, *drud*, *llwfr*, *praff*, *trwch*, a'r cyffelyb.

3. Y Toddedigion ydynt bymtheg; sef, *b*, *c*, *ch*, *d*, *dd*, *f*, *ff*, *g*, *ng*, *l*, *m*, *n*, *r*, *t*, *th*; ac a elwir felly am eu bod yn toddi y llafariad *y* o'r tu ol iddynt; megys, *llwybr* am *llwybyr*, *ocr* am *ocyr*, *llyfr* am *llyfyr*, &c., a thrwy hyn yn gwasgu deusill yn un: toddir y llythyren *w* ganddynt weithiau yn yr un modd, megis *awdr* am *awdwr*.

4. Y Newidiolion, neu y gwasgawd-lythyr, ydynt wyth; sef, *b*, *c*, *d*, *g*, *ll*, *m*, *p*, *t*; ac a elwir felly am eu bod yn cyfnewid

ac yn diflanu fel gwasgawd neu gysgod, a llythyrenau ereill yn cymeryd eu lle; megys, yn lle *t* y daw *nh, d,* ac *th,* yn y gair hwn *tŷ*, fy *nhŷ*, dy *dŷ*, ei *thŷ*.

5. Y Goresgyniaid ydynt bymtheg; sef, *ch, d, dd, f, g, ng, ngh, l, m, mh, n, nh, ph, r, th;* ac a elwir felly am eu bod yn goresgyn y newidiolion, ac yn eu gyru ymaith, yn mhlethiad ymadrodd, o'u lleoedd gwreiddiol, gan deyrnasu o'u grym eu hunain yn eu lle; megis y gwelir, *ch, g, ngh,* yn cymeryd lle *c,* fel hyn yn y gair *câr*, ei *châr*, dy *gâr*, fy *nghâr*.

6. Y Gormesiaid, neu y marchawg-lythyr, ydynt saith; nid amgen *b, c, d, ff, g, p, t;* ac a elwir felly am eu bod yn nechreu geiriau yn gormesu ar, ac yn marchogaeth tair o gydseiniaid ereill, heb lafariad rhyngddynt; sef, yr *l, n, r,* y'rhai a elwir goddefiaid; ac yn y fath eiriau a hyn y gormesir hwy ganddynt, *blawd, cnwd, drud, ffrwd.*

7. Y Tawddleddfiaid ydynt saith; nid amgen, *c, d, dd, l, n, r, s;* ac a elwir felly am eu bod, drwy osod llafariad ar bob tu iddynt, yn ffurfio sillau tawddleddf; megys, *acw, cadw, gweddw, elw, enw, marw, basw.*

Dosberthir y cydseiniaid hefyd yn dri theulu, a hyny yn ol y peiriant ymadrodd y byddo y tafod yn fwyaf ei bwys arno wrth eu cywir gynanu; sef,

1. Y Gwefusolion, am ein bod yn dywedyd pob un o honynt wrth nerth y gwefusau yn benaf, ydynt *b, f, ff, m, p, ph.*

2. Y Deintolion, am fod y tafod ar y danedd wrth eu llefaru hwynt, ydynt *d, dd, n, s, t, th.*

3. Y Gorchfantolion, o herwydd fod y tafod wrth eu llefaru hwynt yn nhaflod y genau, ydynt *c, ch, g, ng, l, ll, r.*

---

## PENNOD II.

Perthyna pedwar peth i bob llythyren; sef, *enw, llun, trefn,* a *gallu:* enw llythyren yw y modd y mae yn alwedig; ei llun yw y modd y mae yn argraffedig; ei threfn yw ei lle yn yr egwyddor; a'i gallu yw ei sain briodol.

### AM Y LLAFARIAID.

Y mae yr holl lafariaid yn ddarostyngedig i gyfnewidiad mewn cyfansoddiad.

### *Am y Llafariad* A.

Perthyna pum' dyben gwahanol i gyfnewidiad y llafariad *a* mewn geiriau, fel y canlyn :—

#### 1. ER PEREIDDIO SAIN.

Newidia i'r llafariaid *e* ac *y*, ac i'r deuseiniad *ei* pan yr estyner terfyniadau geiriau ; megys, c*a*r, c*e*raint ; b*a*ch, b*y*chan ; m*a*b, m*ei*bion ; s*a*nt, s*e*intiau ; yn lle caraint, bachan, mabion, santiau, yr hyn fyddai yn dra chlogyrnaidd.

#### 2. ER TROSI GAIR O'R RHIF UNIGOL I'R LLUOSOG, HEB ESTYN EI DERFYNIAD.

Newidia i'r llafariaid *e* ac *y*, ac i'r deuseiniaid *ai* ac *ei*; megys, *a*ber, *e*byr ; *a*ngel, *e*ngyl ; myh*a*ran, myh*e*ryn ; c*a*darn, c*e*dyrn ; d*a*nt, d*ai*nt ; s*a*nt, s*ai*nt ; m*a*rch, m*ei*rch ; s*a*rph, s*ei*rph.

#### 3. ER CYFNEWID GAIR O'R RHYW WRYWAIDD I'R FENYWAIDD.

Newidia i *e* ; megys, b*a*ch, b*e*chan.

#### 4. ER GWAHANIAETHU ANSAWD.

Newidia i'r deuseiniaid *ai*, ac i'r llafariaid *i* ac *o* ; fel hyn, llaff*a*, lloff*ai*, lloff*i*, lloff*o*.

#### 5. ER GWAHANIAETHU AMSER.

Newidia i *e* ac *o* ; fel hyn, gwledd*a*nt, gwledd*e*nt, gwledd*o*nt.

### *Am gynaniad, neu sain y llythyren* A.

A, a gynanir drwy agoriad naturiol y genau gydag anadliad cryf, tra yr erys y tafod yn ei orweddle naturiol: ei henw a'i sain ydynt yr un. A sydd yn un o wraidd yr iaith ; ei hystyr yw mynediad gogwyddol gyda pharhad o unrhyw ddull neu ffurf.

Camseinir y llythyren A gan briodorion Swydd Feirion, Trefaldwyn, ac amrai barthau o'r Deheudir, drwy ei seinio yn *ëá* mewn amrai eiriau ; a chamseinir hi mewn rhai parthau o'r lleoedd uchod pan y bydd y cydseiniaid *c*, *ch*, *g*, neu *ngh* yn ei blaenori, drwy ei seinio fel y deuseiniaid iëá, fel y canlyn ;—yn lle c*â*r, dywedant c*iëá*r ; ei châr, ei chi*ëá*r ; dy gár, dy gi*ëá*r ; fy nghâr, fy nghi*ëá*r : ac yn y parthau nesaf o Arfon ac Eifionydd i Feirion, camseinia y priodorion yr *a* yn fynych, drwy ei seinio fel y deuseiniad *ia*, yn lle cár, dywedant c*ia*r ; ei châr,

ei ch*iar*; dy gâr, dy g*iar*; fy nghâr, fy ngh*iar*: camseinir yr *a* yn *o* hefyd yn Môn ac Arfon yn y sill olaf o'r gair dafad.

*Am* A *wrthi ei hun fel Rhan Ymadrodd.*

Saif A am gysylltiad cyplysol; mab *a* merch; ty *a* thân.

Am Ragenw, fel hyn, "*A* wnelo hyn, nid ysgogir yn dragywydd."

Am Ferf, neu barwyddiad, fel hyn, "Efe a *á* i dangnefedd." "Yr halogedig nid *á* ar hyd-ddi."

Am Ragferf, neu orair, "Efe *a* aeth." "A'r Iesu *a* ddywedodd." "*A* fu efe yno?"

Am Arddodiad, fel hyn, "Llosgi *á* thân." "Trywanu *á* phicell."

Am Ebychair, fel "*A!* ddyn."

Arferir A hefyd yn flaenddodyn yn nghyfansoddiad geiriau, fel yn *a*chub, *a*chlwm, *a*thrist, &c.

*Am y Llafariad* E.

E, sydd lafariad ac iddi dri threigliad, sef, i'r llafariaid *i* ac *y*, ac i'r deuseiniad ei; megys, car*e*g, cer*i*g; h*é*n, h*y*n; porch*e*ll, perch*y*ll; gwydd*e*l, gwydd*y*l; n*e*rth, n*ei*rth.

*Am gynaniad y Llythyren* E.

Cynanir y llythyren E drwy ledwasgiad yr anadl yn y gwddf â bongrymedd y tafod, gydag ysgogiad araf yr ên isaf, er gollwng sain, tra y gobwysir blaen y tafod gan yr anadl ar ei fynediad allan. Ei henw, a'i sain briodol, ydynt yr un. Y mae E yn un o wraidd yr iaith; ei hystyr yw tueddiad i symud, neu chwyfio gyda chyflymder.

Camseinir y llythyren E mewn terfyniadau geiriau gan briodorion Swydd Gaernarfon, Swydd Fôn, a pharthau gogleddol Swydd Ddinbych a Swydd Fflint, fel y canlyn;—yn lle bachg*e*n, dywedant bachg*a*n; cas*e*g, cas*a*g; pell*e*n, pell*a*n; ang*e*l, ang*a*l; ac yn Swydd Ddinbych a Swydd Fflint, camseinir *e* yn *i* yn y gair bys*e*dd, fel pe bai wedi ei ysgrifenu yn bys*i*dd. Hefyd, camseinir y llythyren *e* yn *i* yn Swydd Fôn, yn y geiriau *e*ffro, deffro, am*age*.

*Am* E *wrthi ei hun fel Rhan Ymadrodd.*

Saif E am Ragenw, "Pwy ydyw *é?*"

Syfled pob mis o'i safle,
Ac aed a gŵyl gydag *e.*—Gro. Owain.

Am Orair, neu ragferf, "*E* ganfyddir."

Y gŵr marw, *e* gâr morwyn,
. . . . . Ddaiar dy fedd, er dy fwyn.—T. ALED.

Arferir E hefyd yn flaenddodyn yn nghyfansoddiad geiriau, fel yn *e*fryd, *e*chroes, *e*chryn.

*Am y Llafariad* I.

I sydd lafariad ac iddi dri threigliad; sef, i'r llafariaid *a* ac *u*, ac i'r deuseiniaid *wy*, a hyny yn nhreigliad parwyddiaid yn unig; megys, bu*i*d, bu*a*d, bu*wy*d; caras*i*t, caras*u*t.

*Am gynaniad y Llythyren* I.

Cynanir y llythyren I yn gyffelyb i'r llythyren E, ond fod blaen y tafod yn is, ac yn pwyso mwy ar y danedd isaf, a'i fon-grymedd yn ychydig mwy: ei henw a'i sain ydynt yr un. Y mae I yn un o wraidd y iaith, a'i hystyr yw mynediad union-gyrchol.

Camseinir y llythyren I yn fynych yn y Dywysogaeth gan ddynion enwog, a ddylynt wybod yn well, drwy ei seinio yn *y*, yn y geiriau canlynol;—yn lle bend*i*thio, dywedant bend*y*thio; ac yn lle bend*i*thion, bend*y*thion; y peth nesaf a glywn, mae'n debyg, a fydd bend*y*gedig!!

Pa bryd y dechreuodd y llwgr hwn yn y Deheudir, nis gwn; ond y mae'n ddilys mai llwgr a ddaeth i'r Gogledd yn dra diweddar ydyw; gellir edrych dros gamseiniad llythyren yn lled dawel, pan y bydd yn arferiad gwlad, fel y mae yn y Deheudir; ond pan y clywn Ogleddwr yn ei seinio fel Deheuwr, mae'n gwbl anfaddeuol iddo; canys pa beth sydd wrthunach na mursendod a dynwarediad, yn enwedig yn yr areithfa.

Camseinir y llythyren I hefyd, drwy ei seinio yn *y*, gan briod-orion Swydd Gaernarfon, Môn, Dinbych, a Fflint, yn y gair milld*i*roedd.

Camseinir y llythyren hon hefyd yn *u* yn y rhan fwyaf o swyddi y Deheudir, mewn amrai eiriau; megys, am Cr*i*st, dywedant Cr*u*st; tr*i*st, tr*u*st; Pont-y-ty-pr*i*dd, Pont-y-ty-pr*u*dd, &c.

*Am* I *wrthi ei hun fel Rhan Ymadrodd.*

Saif I am Arddodiad, "Dos *i* Ninife."

Iawnach *i* gybydd anwir
Garu Duw, nag erw o dir.—M. AB RHYS.

Am Ragenw, "Deuwch ataf *i*."

Gŵr oerach nag Eryri,
Na Berwyn wyf, i'm barn *i*.—IEU. BR. HIR.

*Am y Llafariad* O.

O sydd lafariad ac iddi bedwar treigliad; sef, i'r llafariaid *a, e, i, w, y*, fel y canlyn;—p*o*rchell, p*e*rch*y*ll; b*o*d, b*i*d, b*u*m, b*y*dd; p*o*rth, p*y*rth; ll*o*ng, ll*y*nges.

*Am gynaniad y Llythyren* O.

Cynanir y llythyren O yn debyg i *a*, ond fod y safn yn fwy ceuol, a'r tafod yn gwtocach, ac heb gyfhwrdd â'r gorchfant, na gwaelod y geg, a'r gwefusau yn gyfyngach, ac yn cael eu hestyn ychydig allan. ei henw a'i sain ydynt yr un; y mae O yn un o wraidd yr iaith. Ei hystyr yw dylifiad, neu chwyrndafliad.

Camseinir y llythyren O yn fynych gan drigolion gwahanol barthau y Dywysogaeth, drwy ei seinio yn *a* mewn rhai geiriau; megys, cor*a*nau, yn lle cor*o*nau; o hon*a*t, yn lle o hon*o*t, &c.

*Am O wrthi ei hun fel Rhan Ymadrodd.*

Saif O am Ragenw, fel hyn, "Prynais faes, a gwerthais *o*." "Gwelais *o* yn gweithio."

Dengys ei fedd anedd *o*,
Athrylith wedi'i threulio.—G. CALEDFRYN.

Am Arddodiad, "Dyfod *o* Jericho."

Y doeth ni ddywed a wyr,
Nid *o* son y daw synwyr.—GR. AB IEU. HIR.

Am Gysylltiad, "Ac *o* thyn yn ol."

*O* bu air heb ei warant,
Y goreu dim ei gau â'r dant.—IEU. DEULWYN.

Am Ebychair, "*O*! Jerusalem, Jerusalem!"

Dyfod mae amser Dofydd,
*O!* haul rhed, deued y dydd.—CY. Y DRIN.

Arferir O hefyd yn flaenddodyn yn nghyfansoddiad geiriau; megys, *o*naddynt, *o*bry, *o*bobtu.

*Am y Llafariad* U.

U sydd lafariad ac iddi ddau dreigliad; sef, i'r deuseiniaid *eu* ac *iw*; megys, b*u*, b*eu*, a b*iw*.

Cynanir y llythyren U drwy roddi blaen y tafod yn erbyn y danedd blaen-isaf, a'i oflaen yn lled gyfhwrdd â'r gorchfant,

gan ollwng anadl gaethiwus o'r gwddf. Ei henw a'i sain ynt yr un. U sydd yn un o'r hanedigion; a'i hystyr yw amgauad esgeulus, cynwysder cyflawn.

Camseinir y llythyren hon yn fynych gan briodorion y Deheudir, mewn amrai eiriau, fel arfer gwlad; ac y mae llawer yn y Gogledd wedi llyncu y llwgr hwn yn ddiweddar. Tybia llawer Gogleddwr hunanol ei fod yn ymadroddi yn ardderchog pan y mae'n dyweyd dym*y*no am dym*u*no, *y*nig am *u*nig, ach*y*bwr am ach*u*bwr, egl*y*ro am egl*u*ro, &c., ond y gwirionedd yw, nid yw amgen nag yn iselu ei hun fel Cymreigydd yn ngolwg y craff a'r deallus.

Camseinir y llythyren U hefyd yn *i* gan holl briodorion Cymru, o'r braidd, yn y geiriau tr*u*garedd a thr*u*garhau; fel pe bai y geiriau wedi eu hysgrifenu yn tr*i*garedd a thr*i*garhau.

Camseinir y llythyren U hefyd yn I mewn amrai eiriau, gan briodorion y Deheudir, ac ar gyffiniau y Gogledd, yn Meirion a Threfaldwyn, fel y canlyn;—yn lle D*u*w, dywedant D*i*w; yn lle p*u*r, p*i*r; h*u*no, h*i*no, &c.

*Am y Llafariad* W.

W, sydd lafariad ac iddi bedwar treigliad; sef, i'r llafariaid *o* ac *y*, ac i'r deuseiniaid *ei* ac *wy*; megys, tr*w*m, tr*o*m; p*w*n, p*y*nau; d*w*fr, d*ei*fr; g*w*r, g*wy*r. Mae W yn colli ei sain mewn rhai geiriau, megys gwarchad, am gwarchadw; arddel, am arddelw, &c., ond pan y mae yn argraffedig neu'n ysgrifenedig, dylid ei seinio wrth ddarllen, a bod yn ofalus iawn am ei seinio yn lle ei thoddi, pan y mae mewn geiriau cyfansawdd, megys medd*w*-dod, gwedd*w*-dod, &c.

*Am gynaniad y Llythyren* W.

W, a gynanir yn debyg i *o* ran agwedd y tafod, ond fod y gwefusau yn fwy cauedig. Ei henw a'i sain ynt yr un. W, sydd yn un o'r hanedigion; ei hystyr yw cuedd caethiwus, cyfyng, neu safle cafnawg.

Camseinir y llythyren W gan briodorion y Deheudir yn *u*, yn y gair llud*w*.

*Am y llafariad* Y.

Y, sydd lafariad ac iddi ddau dreigliad; sef, i'r llafariad *e*, ac i'r deuseiniad *ai*, megys as*y*n, as*e*n; ll*y*m, ll*e*m; t*y*n, t*e*n; t*y*, t*ai*.

### *Am gynaniad y Llythyren* Y.

Cynanir Y yn debyg i *e,* ond yn mhellach yn y gwddf, ac yn fwy caethiwus. Ei henw a'i sain wreiddiol ynt yr un. Y, sydd yn un o'r hanedigion; ei hystyr yw yr hyn sydd yn nghylch, neu yn cynnwys. Mae gan y llythyren hon, heblaw ei sain wreiddiol, sain fenthycol; sef, sain y llythyren *u*; gelwir ei sain wreiddiol yn sain eglur, a'i sain fenthycol yn sain dywell. Y sain eglur a roddir iddi yn mhob sill y bydd mewn gair lliaws-sill, ond y sill olaf;* a'r sain dywell, sef sain *u*, os bydd yn y sill olaf o air lliaws-sill, ac yn mhob gair unsill, oddieithr *dy*, *dyd, dyt; fy, myn, y, ydd, ym, yn, yr, ys, syr.*

Camseinir yr Y yn fynych yn rhai o'r geiriau canlynol, gan briodorion y Deheudir, Swydd Drefaldwyn, a Meirion, drwy roddi y sain dywell iddi yn lle yr eglur, fel y canlyn;—seiniant "d*y* Yspryd Glân," yn "d*u* Yspryd Glân;" "m*y*n eich gorfoledd," "m*u*n eich gorfoledd," &c., a chamseiniant y sain dywell drwy ei seinio yn *i* yn lle *u*, fel y canlyn;—yn lle d*y*n, dywedant d*i*n; h*y*n, h*i*n; m*y*n, m*i*n; fr*y*, fr*i*; obr*y*, obr*i*; engl*y*n, engl*i*n, &c.

### *Am* Y *wrthi ei hun fel Rhanymadrodd.*

Y, a saif am Fannod, "Gwyn ei fyd *y* dyn ni chyfrif yr Arglwydd iddo anwiredd."

> Dowch *y* pydron ddynionach,
> Ynghyd feirw byd, fawr a bach.—Gro. Owain.

Am Orair, neu ragferf, "Yn lle *y* bo'r da, *y* rhoir ac *y* tycia." "Ar ol gwlaw, *y* daw hin deg."

Mae Y hefyd yn llafariad dawdd mewn cyfansoddiad; ac o herwydd hyny yr ysgrifenir llyfr am lyf*y*r, awdl am awd*y*l, hel am hel*y*, &c.

---

* Oddieithr ei bod yn dilyn y llythyren *w*, a thrwy hyny yn gwneyd y deuseiniad *wy*.

# PENNOD III.

## AM Y DEUSEINIAID.

**Deuseiniad yw cyfuniad dwy lafariaid yn yr un sill mewn geiriau, ac a gynanir âg un gwthiad o'r llais; eu rhif yw pedair-ar-hugain.**

*Cynllun.*

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| ae | aeth | ew | llew | iw | lliw | wa | gwan |
| ai | ail | ey | teyrn | iy | iyrchod | we | gwell |
| au | aur | ia | iach | oe | oen | wi | gwin |
| aw | awr | ie | iechyd | oi | ffoi | wo | gwobr |
| ei | ein | io | Ion | ow | ffowch | wy | gwyn |
| eu | euro | iu | Iuddew | uw | Duw | yw | ydyw |

Y mae deg o'r deuseiniaid yn newidiol, sef *ae*, *ai*, *au*, *aw*, *ei*, *ia*, *iw*, *oe*, *wa*, *wy*.

### *Am y Deuseiniad* AE.

AE, sydd ddeuseiniad ac iddo dri threigliad; sef, i'r deuseiniaid *ai*, *au*, *eu*; megys, m*ae*n, m*ai*n; dr*ae*n, dr*ei*niach; m*ae*s, m*eu*sydd.

Camseinir y deuseiniad AE gan briodorion y Deheudir mewn amrai eiriau, drwy adael yr *e* heb ei seinio, a seinio yr *a* yn unig, fel y canlyn :—seiniant gw*ae*d, yn gw*a*d; tr*ae*d, yn tr*a*d; ffr*ae*th, yn ffr*a*th, &c. Hefyd, camseinir y deuseiniad AE gan briodorion y Deheudir, Swydd Drefaldwyn, Meirion, a pharthau deheuol Dinbych a Fflint, mewn terfyniadau geiriau lliaws-sill, drwy eu seinio fel y llafariad *e*: yn lle marwol*ae*th, dywedant marwol*e*th; gwasan*ae*th, gwasan*e*th; llygredig*ae*th, llygredig*e*th, &c. Ac yn Swydd Fôn, Swydd Gaernarfon, a pharthau gogleddol Swydd Ddinbych a Swydd Fflint, camseiniant AE yn *a* yn nherfyniadau geiriau lliaws-sill, fel y canlyn :—yn lle marwol*ae*th, dywedant marwol*a*th; gwasan*ae*th, gwasan*a*th; arf*ae*th, arf*a*th, &c.: ac yn Swydd Feirion a Swydd Drefaldwyn camseinir y deuseiniaid AE, mewn geiriau unsill, yn *eu*, fel y canlyn :—am p*ae*nt, dywedant p*eu*nt; tr*ae*th, tr*eu*th; gw*ae*d, gw*eu*d, &c.

Y mae llygriad arall, o barth sain y deuseiniad hwn, wedi llusgo i'n gwlad yn ddiweddar, drwy ei seinio yn *äe*, fel pe bai y ddwy lafariad yn ddidoledig y naill oddiwrth y llall, ac felly yn ffurfio deusill yn lle un, fel y canlyn :—am gw*ae*d, dywedant gw*a-e*d ; tr*ae*d, tr*a-e*d ; *cae*, *ca-e* ; gwn*ae*d, gwn*a-e*d, &c. Y mae yn debyg i hyn darddu oddiar y dybiaeth hono, sef bod "i bob llythyren i gael ei sain ei hun yn Gymraeg:" ond y mae eithriad i hyn yn y deuseiniaid; gwel y craff hyn yn eglur; pe byddai iddo ond estyn terfyniadau rhai o'r geiriau a ragnodwyd, megys gwaed, gwaedu ; cae, caeau ; a'u seinio yn gwaëdu, caëau, &c.

### *Am y Deuseiniad* AI.

Un treigliad sydd i'r deuseiniad hwn, sef i'r deuseiniad *ei*, megys cr*ai*r, cr*ei*riau ; ff*ai*r, ff*ei*riau ; c*ai*n, c*ei*nion ; m*ai*th, m*ei*thion, &c.

Camseinir y deuseiniad AI gan briodorion y Deheudir, Swydd Drefaldwyn, a Swydd Feirion, a pharthau deheuol Swydd Ddinbych a Swydd Fflint, yn nherfyniadau geiriau lliaws-sill yn *e*, fel y canlyn :—am perff*ai*th, dywedant perff*e*th ; en*ai*d, en*e*d ; cywr*ai*n, cywr*e*n ; cwpan*ai*d, cwpan*e*d, &c. : a chan briodorion Swydd Gaernarfon, Swydd Fôn, a pharthau gogleddol Swydd Ddinbych a'r Fflint, camseinir AI yn nherfyniadau geiriau lliaws-sill yn *a*, fel y canlyn :—am perff*ai*th, dywedant perffath ; en*ai*d, en*a*d ; cywr*ai*n, cywr*a*n ; cwpan*ai*d, cwpan*a*d, &c. Camseinir y deuseiniad AI hefyd yn *i* mewn parwyddiaid a derfynant âg *ais*, fel y canlyn :—am pryn*ais*, dywedir pryn*is* ; cef*ais*, cef*is* ; gwel*ais*, gwel*is*, &c. : a chan briodorion Swydd Ddinbych, Fflint, a Meirion, camseinir AI yn *i*, yn y gair llyg*ai*d.

Gwneir camwri mawr â'r deuseiniad hwn mewn terfyniad sylweddeiriau lliosog, drwy seinio yr *a* yn unig, a gadael yr *i* heb ei seinio ; ac o herwydd hyny darllenir Pharise*a*d a Pharise*ai*d ; Israeli*a*d ac Israeli*ai*d ; Aiphti*a*d ac Aiphti*aid*, yr un fath, fel pe baent yn golygu yr un peth, tra mewn gwirionedd y mae cymaint o wahaniaeth rhyngddynt ag sydd rhwng dyn a dynion.

### *Am y Deuseiniad* AU.

Nid oes i'r deuseiniad hwn ond un treigliad, sef i'r deuseiniad *eu*, megys, *au*r, *eu*raid ; h*au*l, h*eu*liau : g*au*, g*eu*ol, &c.

Camseinir y deuseiniad AU, gan briodorion y Deheudir, yn *ou* mewn amrai eiriau fel y canlyn:—am h*au*l, dywedant h*ou*l; *au*r, *ou*r; g*au*, g*ou*, &c.: a chamseinir y deuseiniad AU yn *a* mewn terfyniadau geiriau lliaws-sill, gan briodorion Swydd Gaernarfon, Swydd Fôn, a pharthau gogleddol Swydd Ddinbych a Fflint, fel y canlyn:—yn lle buarth*au*, dywedant buarth*a*; congl*au*, congl*a*; tywysogaeth*au*, tywysogaeth*a*; ceffyl*au*, ceffyl*a*, &c.: a chan briodorion y Deheudir, Swydd Drefaldwyn, a Swydd Feirionydd, a chyrau deheuol Swydd Ddinbych a Swydd Fflint, am buarth*au*, dywedant buarth*e*; congl*au*, congl*e*; tywysogaeth*au*, tywysogaeth*e*; ceffyl*au*, ceffyl*e*; meddiann*au*, meddiann*e*, &c.

### *Am y Deuseiniad* AW.

AW sydd ddeuseiniad ag iddo ddau dreigliad; sef, i'r llafariad *o*, ac i'r deuseiniad *ew*; megys, br*aw*d, brodyr; ll*aw*r, lloriau; *aw*r, *o*riau: t*aw*, t*ew*ch; gwrand*aw*, gwrand*ew*ch; c*aw*r, c*ew*ri, &c.

Camseinir y deuseiniad AW gan briodorion rhai parthau o'r Deheudir, mewn geiriau unsill, fel y canlyn:—am m*aw*r, dywedant m*ow*r; ll*aw*, ll*ow*, &c.; a chlywir y cyfeiliornad hwn gan briodorion y Gogledd mewn geiriau lliaws-sill, fel y canlyn:—yn lle m*aw*rion, m*ow*rion: c*aw*ri, c*ow*ri, &c.

### *Am y Deuseiniad* EI.

Nid oes i'r deuseiniad hwn ond un treigliad; sef, i'r llafariad *a*, megys ll*ei*dr, ll*a*dron.

### *Am y Deuseiniad* EU.

Camseinir y deuseiniad EU gan briodorion y Deheudir, Swydd Drefaldwyn, Meirion, a'r parthau deheuol o Swydd Ddinbych, a Swydd Fflint, yn nherfyniadau geiriau lliaws-sill yn *e*, fel y canlyn:—yn lle gor*eu*, dywedant gor*e*; gol*eu*, gol*e*; ang*eu*, ang*e*, &c.; a chan briodorion Swydd Gaernarfon, Swydd Fôn, a pharthau gogleddol Swydd Ddinbych, a Swydd Fflint, camseinir y deuseiniad EU yn *a*, fel hyn; am gol*eu*, dywedant gol*a*; gor*eu*, gor*a*; ang*eu*, ang*a*, &c.; a chamseinir yr EU yn *ei* mewn rhai parthau o'r Deheudir, ac yn Swydd Feirion a Threfaldwyn, yn sillau blaenorol geiriau lliaws-sill, fel y canlyn:—yn lle gor*eu*on, gor*ei*on; ten*eu*on, ten*ei*on; gol*eu*adau, gol*ei*adau, &c.

### *Am y deuseiniad* EW.

Camseinir y deuseiniad EW gan briodorion Swydd Gaernarfon a Swydd Fôn, yn y gair m*ew*n, fel pe bai wedi ei lythyrenu yn m*iaw*n.

### *Am y Deuseiniad* EY.

Camseinir y deuseiniad EY gan briodorion y Dywysogaeth yn gyffredinol yn y gair t*ey*rnas, fel pe byddai wedi ei lythyrenu yn t*y*rnas, neu yn t*e*rnas.

### *Am y Deuseiniad* IA.

IA sydd ddeuseiniad ac iddo ddau dreigliad; sef, i'r deuseiniad *ie*, ac i'r triseiniad *iei*, megys *ia*ch, *ie*chyd.; *ia*r, *iei*r.

Camseinir y deuseiniad hwn mewn parthau o'r Deheudir, Swydd Drefaldwyn, a Swydd Feirion, megys yn y gair *ia*ch, yn *ie* ac yn *iëa*, megys *ie*ch, *iëa*ch.

### *Am y Deuseiniaid* IE, IO.

Nid oes unrhyw dreigliad i'r deuseiniaid hyn.

Camseinir y deuseiniad IO gan briodorion y Deheudir yn *o*, drwy hebgor sain yr *i* mewn terfyniadau geiriau, fel y canlyn:—yn lle meib*io*n dyn*io*n, dywedant meib*o*n dyn*o*n, &c. Y mae yn wir fod ganddynt resymau tra grymus dros ei ysgrifenu fel hyn, ond nid gweddus ei seinio yn *o* pan nad yw yn argraffedig felly.

### *Am y Deuseiniad* IU.

Nid oes i'r deuseiniad hwn unrhyw dreigliad, ac nid wyf yn tybied y dylai gael ei gyfrif yn mhlith ein deuseiniaid ni, oblegyd nid yw yn ddeuseiniad priodol, neu berffaith, ac nis gwn ei fod mewn un gair Cymraeg: gwir yw ei fod yn y Bibl mewn geiriau anghyfiaith, megys *Iu*ddewon a *Iu*dea, &c.; ond nid yw hyn yn ddigon o reswm y dylai gael ei restru gyda'r deuseiniaid Cymreig; pe byddai, y mae deuseiniaid ereill yn y Bibl yn teilyngu yr un hawl, ac os felly, ni ddylid eu hebgor.

### *Am y Deuseiniad* IW.

Nid oes i'r deuseiniad IW ond un treigliad, sef i'r deuseiniad *iy*; megys, *iw*rch, *iy*rchod.

Camseinir y deuseiniad hwn gan amrai o briodorion y Dywysogaeth, drwy seinio yr *w* yn *f*, fel y canlyn:—yn lle ll*iw*io dywedir ll*if*o; br*iw*io, br*if*o; mar*w*olaeth, mar*f*olaeth, &c.

### *Am y Deuseiniad* IY.

Nid oes unrhyw dreigliad i'r deuseiniad hwn, ac nis gwn ei fod yn cael ei gamseinio yn unman.

### *Am y Deuseiniad* OE.

Nid oes i'r deuseiniad hwn ond un treigliad, sef i'r deuseiniad *wy*; megys, *oe*n, *wy*n; cr*oe*n, cr*wy*n, &c.

Camseinir y deuseiniad OE gan briodorion y Deheubarth, drwy adael sain yr *e* allan yn drwyadl mewn geiriau unsill, fel y canlyn:—yn lle *oe*n, dywedant *ôn*; p*oe*n, p*ôn*; cr*oe*n, cr*ôn*, &c. ac y mae yr un llwgr wedi llithro i mewn i gynaniad y deuseiniad hwn yn ddiweddar, ag sydd i'r deuseiniad *ae*, yn lle p*oe*n, clywir p*öe*n; *oe*n. *öen*; *oe*d, *öe*d; tr*oe*d, tr*öe*d, &c.

### *Am y Deuseiniaid* OI *ac* OW.

Nid oes i'r deuseiniaid hyn unrhyw dreigliad na chamseiniad.

### *Am y Deuseiniad* UW.

Nid oes i'r deuseiniad hwn ychwaith unrhyw dreigliad.

Camseinir y deuseiniad hwn yn fynych yn y Dywysogaeth yn y gair D*uw*, drwy roddi sain wreiddiol yr *y* i'r *u*, a phryd arall yr *i*, ac mewn cyrau o'r Deheudir a Swydd Drefaldwyn, seinir ef yn D*iw*.

### *Am y Deuseiniad* WA.

Y mae i'r deuseiniad hwn ddau dreigliad, sef i'r deuseiniad *we*, ac i'r triseiniad *wei*; megys, g*wa*g, g*we*gi; g*wa*s, g*wei*sion.

Camseinir y WA yn *we* gan briodorion Swydd Trefaldwyn, a chyrau cyfiniol y Deheubarth.

### *Am y Deuseiniaid* WE, WI, WO.

Nid oes i'r deuseiniaid hyn unrhyw dreigliad, ac nid wyf yn ymwybodol o'u camseiniad yn unman.

### *Am y Deuseiniad* WY.

Nid oes i'r deuseiniad hwn ond un treigliad, sef i'r deuseiniad *we*; megys, g*wy*ch, g*we*ch; g*wy*n, g*we*n, &c.

Mae i'r deuseiniad hwn dri gwahanol sain mewn geiriau unsill. Seinir yr *y* yn ei sain dywell, sef yn sain *u* yn mhob un o'r tri sain: y gwahanol seiniau a ganfyddir yn y tri gair canlynol; sef gŵydd, gwŷdd, a gwýn. Yn y cyntaf y mae yr *w* yn hir, a'r *y* yn fer; yn yr ail, mae'r *w* yn fer, a'r *y* yn hir; yn y trydydd, mae'r *w* a'r *y* yn fyrion. Pan y mae yr acen ar yr *w*, fe

ddylid ei seinio yn gymhwys yr un fath ac yn g*ŵy*dd, yn mhob sill y dygwydda fod mewn geiriau lliaws-sill, megys Argl*wy*dd, g*wy*ddau, ll*wy*ddiant, m*wy*niant, rh*wy*dd-deb, &c., ond pan y mae yr acen ar yr *y*, megys yn y gair gwŷdd, neu pan y mae yr *w* a'r *y* yn fyrion, fel yn y gair g*wy*n; dylai yr *y* gael ei sain wreiddiol neu eglur yn mhob sill y dygwydda y deuseiniad hwn fod mewn gair lliaws-sill, ond y sill diweddaf, megys gwŷdd, g*wy*ddel, g*wy*ddelod; g*wy*n, g*wy*nion; g*wy*llt, g*wy*lltion.

### *Am y Deuseiniad* YW.

Nid oes i'r deuseiniad hwn unrhyw dreigliad.

Camseinir y deuseiniad hwn gan bawb o'r bron yn y Dywysogaeth, drwy roddi sain *i* i'r *y* yn y geiriau canlynol:—*yw*, yd*yw*, dr*yw*, c*yw*, rh*yw*; ac yn y Deheudir a'r cyrau nesaf o Feirion a Threfaldwyn at y Deheudir, camseiniant yr *y* yn yr un modd yn y geiriau ll*yw*, b*yw*. Dylid seinio yr *y* yn y deuseiniad hwn yn *u* yn y geiriau unsill oll, ei sain sydd yn hollol yr un fath mewn geiriau unsill ag ydyw *uw* yn D*uw*; a'r un modd yn y sill olaf o bob gair lliaws-sill, ond yn mhob sill arall, dylid seinio yr *y* yn ol ei sain wreiddiol.

## AM Y TRISEINIAID.

Triseiniaid yw cysylltiad tair o lafariaid yn nghyd, ac a lefarir yn yr un modd a'r deuseiniaid. Y mae tair-ar-bymtheg o honynt.

### *Cynllun.*

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| iae | afiaeth | iei | ieithydd | wae | chwaer | way | gwayw |
| iai | iaith | ieu | ieuanc | wai | gwair | wei | gweis |
| iau | gwyliau | iew | iewin | wau | gwaun | weu | gweu |
| iaw | iawn | ioe | erioed | waw | gwawr | wew | gwewyr |

wiw gwiw—wyw gwywo.

Y mae y triseiniaid yn ddarostyngedig i dreigliadau cyffelyb i'r deuseiniaid, ac yn agored i'r un camseiniadau yn ngwahanol barthau y Dywysogaeth.

Er y dygwydd fod amrai lafariaid yn yr un gair, eto ni chyfrifir yn llios seiniaid ond y cynifer ag a gyfrenir yn sillau o honynt; megys, llyw-iawdr, gwae-wawr, &c.: ac mewn rhai geiriau ceir dwy lafariad yn olynol heb fod yn ddeuseiniad, ac ni allant fod yn ddeuseiniad yn y cyfrai sefyllfaoedd, megys

dïal, dïanc, gweddïo, ac o herwydd nad ydynt gyfymsain, ond amrafael sillau, gelwir hwynt yn llafariad o flaen llafariad, neu y didolion; a byddai yn llawer iawn o hwylusdod i ddarllenwyr ieuanc pe arferai yr argraffwyr fod yn fwy gofalus am roddi y didolnod uwch ben y flaenaf o'r ddwy bob amser, megys y gwelir yr *i* yn dïal, dïanc, &c.

---

## PENNOD IV.

### AM FFURFIAD GENEUAWL, CYNANIAD, A THREIGLIAD Y CYDSEINIAID.

Y MAE y cydseiniaid canlynol, *b*, *c*, *d*, *g*, *ll*, *m*, *p*, *rh*, a *t*, y rhai a elwir "Y Newidiolion," yn ddarostyngedig i gyfnewidiad o'u sefyllfa wreiddiol yn nechreu geiriau, pan mewn cyfansoddiad, yn ol llywodraeth y geiriau blaenorol arnynt. Y mae cyfnewidiad arall i'r cydseiniaid uchod, ac i rai o'r cydseiniaid ereill, sef yn nghyfansoddiad geiriau, yr hyn a eglurir yn y sylwadau dylynol.

*Am y Gydsain* B.

Y mae i'r gydsain hon ddau gyfnewidiad mewn cyfansoddiad ymadroddion, sef i *m* ac *f*; megys, *b*ara, fy *m*ara, dy *f*ara; *b*lawd, fy *m*lawd, dy *f*lawd; *b*ywyd, fy *m*ywyd, dy *f*ywyd: ac mewn cyfansoddiad geiriau, cyfnewidia i *f*, megys han*f*od, o han a bod; di*f*las, o di a blas: ac i *p*, megys yn ci*p*drem, o cib a trem, &c. Toddir y gydsain hon mewn cyfansoddiad rhai geiriau, megys ha*f*od, o haf a bod; gwyne*p*ryd, o gwyneb a pryd.

*Am gynaniad y Gydsain* B.

Ffurfiad y genau i seinio y gydsain B, sydd drwy gydiad naturiol y gwefusau, nes cynnulla ychydig anadl yn y safn, ac yna ei ollwng allan yn lled esmwyth, gyda sain y llafariad *i*; ac felly seinir hi yn *bi*. Y mae B yn gydsain wreiddiol; ei hystyr yw hanfodiad mewn cyflwr digyffro.

*Am y Gydsain* C.

Geiriau yn dechreu âg C a dreiglir i *ch*, *g*, ac *ngh*, megys câr, ei *ch*âr, dy gâr, fy *ngh*âr. Treigla y gydsain C hefyd i'r un llythyrenau yn nghyfansoddiad geiriau, megys a*ch*adw, o *a* a cadw; hawddgar, o hawdd a câr; an*nh*gariad, o an a cariad.

*Am gynaniad y Gydsain* C.

Gyda'r gydsain flaenorol, sef y *b*, yr ydys yn rhoi *i* ar ei hol i'w chynorthwyo, ond gyda'r gydsain hon rhoddir *e* i'w blaenori, fel pe byddai wedi ei hysgrifenu yn *ec*: gwedi seinio yr *e* mor fyr ag sydd bosibl, dyrchefir canolbarth y tafod nes cyfhwrdd â'r gorchfant, nes crynhoi yr anadl o'i ol, á gollynger ef yn swta drwy geuedd y safn allan. Y mae C yn gydsain wreiddiol, a'i hystyr yw dal, cadw, neu gynwys unrhyw wrthrych.

*Am y Gydsain* CH.

CH, sydd gydsain ddigyfnewid, ond gwasanaetha fel llawforwyn i *c*, fel y gwelir yn flaenorol.

*Am gynaniad y Gydsain* CH.

CH, a seinir drwy gynorthwy y llythyren *e* yn flaenorol iddi, a blaen y tafod yn gorphwys ar y danedd blaen isaf, tra y mae ei ganol yn cyfhwrdd â'r gorchfant, gan chwyrnellu yr anadl gyda grym rhyngddynt.

Camseinir yr CH mewn amrai eiriau gan briodorion Swydd Drefaldwyn a Meirion, a pharthau o'r Deheudir, drwy ei seinio yn *c* yn nechreu geiriau, megys *ch*wart, *ch*warter, &c.: a chan amrai o briodorion y Deheudir hebgorir hi yn hollol, yn lle *ch*want, dywedant *h*want; ac am *ch*waer, *h*waer, &c.

*Am y Gydsain* D.

Geiriau yn dechreu â D a dreiglir i *dd* ac.*n*, megys *D*uw, ei *Dd*uw, fy *N*uw. Cyfnewidir y gydsain D mewn cyfansoddiad geiriau i *dd*, megys yn y gair at*dd*odiad, o at a dodiad; i *t*, megys yn y gair at*tal*, o at a dal; i *th*, megys yn y geiriau cŵ*th*, o cŵd; a pym*th*eg, o pymp a deg. Y mae D yn dawdd; megys yn gwrthrych, o gwrth a drych.

*Am gynaniad y Gydsain* D.

D, a seinir trwy gynorthwy y llafariad *i*; ei ffurfiad geneuol sy drwy bwysiad yr anadl ar y tafod, tra y mae ei flaen ar y danedd blaenaf uchaf, ac yn cyfhwrdd â'r gorchfant, gan ollwng yr anadl yn o araf i ymwahanu â'r danedd gyda sain hirllaes *i*. Y mae D yn gydsain wreiddiol: ei hystyr yw ymeangiad neu ymledaeniad.

*Am y Gydsain* DD.

Nid oes un gair yn gymraeg yn dechreu yn wreiddiol gydag DD; gwasanaetha yn unig fel llawforwyn i ereill o'r cydseiniaid.

*Am gynaniad y Gydsain* DD.

DD, a seinir trwy gynorthwy *e* yn ei blaenweddu, a blaen y tafod rhwng y danedd isaf a'r uchaf, a'r gwefusau yn agored, gyda gwthiad esmwyth o'r anadl nes yr ymwahana y tafod â'r danedd.

*Am y Gydsain* F.

Nid oes un gair yn ein hiaith yn dechreu gyda'r gydsain F, er hyny mae iddi dreigliad yn nghyfansoddiad geiriau, sef i *ff*, megys crâ*f*, cra*ff*, da*ff*ar, o da a far, &c.

*Am gynaniad y Gydsain* F.

Cynanir y llythyren hon drwy gynorthwy y llafariad *e* yn ei blaenu, a'r wefus isaf yn lled gyfhwrdd â'r danedd uchaf, tra y gwthir yr anadl yn esmwyth allan nes eu hymwahanu.

*Am y Gydsain* FF.

Nid oes i'r gydsain FF unrhyw dreigliad yn nechreu geiriau, nac ond anfynych iawn mewn cyfansoddiad geiriau, a hyny yn unig i *f*, megys *iff*, i *if*; *off*, i *of*; *uff*, i *uf*; *yff*, i *yf*.

*Am gynaniad y Gydsain* FF.

Cynanir y gydsain hon yn hafal i'r *f*, ond gwesgir y danedd isaf yn fwy ar y wefus uchaf, tra y gwthir yr anadl gyda mwy o rym a chyflymder. Y mae FF yn gydsain wreiddiol; ei hystyr yw cyffröad, neu darddiad amlwg.

*Am y Gydsain* G.

Nid oes i'r gydsain hon ond un treigliad yn nechreu geiriau, a hyny i *ng*, megys gwas, fy *ng*was: bwrir g allan weithiau mewn cyfansoddiad ymadroddion, yn ddylynol i'r rhagenwau meddiannol, gan adael y llafariad nesaf iddi yn ddechreuol, megys gwas, ei *w*as; gwraig, ei *w*raig; ond y mae iddi ddau gyfnewidiad mewn cyfansoddiad geiriau, sef i *c* ac *ch*, megys brag, bre*c*i; ceg, *c*ecrus; creg, cre*ch*; dig, di*ch*ell, &c.: mae'r G yn dawdd hefyd mewn rhai cysyllteiriau, megys mam-*w*lad.

*Am gynaniad y Gydsain* G.

Ei ffurfiad geneuol sydd yn hafal âg *c*, oddieithr yn fwy caeth ac ysgafn yn ei chynaniad. Y mae G yn gydsain wreiddiol: ei hystyr yw gafaeliad, glyniad, ymgydiad, neu ymafliad.

### *Am y Gydsain* NG.

Nid oes i'r gydsain hon unrhyw dreigliad. Ei chynaniad sydd drwy gynorthwy *e* yn ei blaenori, a chanol y tafod yn lledgyfhwrdd â'r gorchfant, a'r anadl yn cael ei ledwthio drwy'r gorchfant i'r ffroenau.

### *Am y Gydsain* H.

Gelwir y gydsain hon yn arwydd uchenaid; a dylynir hi bob amser â llafariad yn nechreu geiriau, ac yn nghyfansoddiad geiriau, oddieithr yn y geiriau hyn, ann*h*refnus, ann*h*raethadwy, engreifftiau, &c.: ac er nad oddefir hon megys llythyren berffaith, eto hi a amlyga yr angenrheidrwydd o seinio y llafariad ddylynol iddi gydag anadliad cryf, megys *h*ael, *h*aul, *h*awl, &c. Felly, gyda phriodoldeb, gellir ei galw yn *ebychnod*. Anghymwys iawn yw enwi y llythyren hon yn *aitsh*, nis gallaf amgyffred pa fodd y llithrodd y fath estronsain i'n hegwyddor; nid oes y fath sain yn perthyn i'n hiaith ni, a thybiwyf fod yn llawn bryd i alltudio y fath gynaniad anmhriodol o'n gwlad dros byth, a'i chynanu yn *Ha*.

### *Am y Gydsain* L.

L, sydd gydsain ddigyfnewid, ni ddechreua unrhyw air yn wreiddiol, ond gwasanaetha fel llawforwyn i *ll*.

### *Am gynaniad y Gydsain* L.

Cynanir y gydsain hon drwy gynorthwy *e* yn ei blaenu, a dodiad blaen y tafod ar y gorchfant, er goattaliad yr anadl, tra y gwthir ef allan yn lledesmwyth o bobtu blaen y tafod.

### *Am y Gydsain* LL.

Geiriau yn dechreu âg LL a gyfnewidiant i *l*, megys *ll*aw, ei *l*aw, dy *l*aw; a chyfnewidia i *l* hefyd yn nghyfansoddiad geiriau, megys hy*l*on, o hy a llon; mwyn*l*anc, o mwyn a llanc; tref*l*ys, o tref a llys. Y mae LL yn gydsain wreiddiol; ei hystyr yw chwaliad, gwahaniad, tywalltiad, neu raniad allan.

### *Am gynaniad y Gydsain* LL.

Cynanir yr LL drwy gynorthwy *e* hefyd yn ei blaenori, a blaen y tafod yn erbyn y danedd blaen uchaf, a'i flaen yn cael ei wasgu yn erbyn y gorchfant, tra y gwthir yr anadl yn rymus drwy y naill ochr neu y llall i'r genau o'r geg, ac y lled-agorir ychydig

ar y cwr nesaf o'r gwefusau i'r cyfryw ochr; yr ochr chwith a arferir yn fwyaf cyffredin, er fod rhai yn arferyd yr ochr dde.

*Am y Gydsain* M.

Geiriau yn dechreu âg M a dreiglir i *f*, megys *mam*, ei *fam*, dy *fam*; treiglir yr M hefyd mewn cyfansoddiad geiriau i *f* fel y canlyn:—*fel*, o mal; a chy*f*elyb, o cy mal yb.

*Am gynaniad y Gydsain* M.

Seinir y llythyren hon drwy gynorthwy *e* yn ei blaenu, gan gau y gwefusau er gyru yr anadl allan drwy y ffroenau. Y mae M yn gydsain wreiddiol; ei hystyr yw ymgynwysiad, ymgymeriad i fewn, neu amgylchyniad.

*Am y gydsain* N.

Nid yw y gydsain hon yn newidiol, eithr seinir hi yn anadlgryf ar ol rhagenw benywaidd, megys ei *n*hai.

*Am gynaniad y Gydsain* N.

N, ei ffurfiad geneuol sy drwy seinio *e* yn rhwydd yn y gwddf, tra y rhoddir blaen y tafod ar y danedd blaen, a'i oflaen yn gwasgu ar y gorchfant er gwasgu yr anadl allan drwy y ffroenau. Y mae N yn gydsain wreiddiol; ei hystyr yw sylfon, gwrthrych, neu y peth a gyfeirir ato.

Camseinir y gydsain N yn *l*, yn enwedig gan rai cantorwyr yn y Dywysogaeth.

*Am y Gydsain* P.

Geiriau yn dechreu â P a gyfnewidir i *b*, *mh*, ac *ph*, megys perchenog, dy *b*erchenog, fy *mh*erchenog, ei *ph*erchenog: cyfnewidia P i'r un llythyrenau hefyd yn nghyfansoddiad geiriau, megys dy*b*lyg, o dy a plyg; cy*mh*ar, o cy a par; gor*ph*wys, o gor a pwys.

*Am gynaniad y Gydsain* P.

Seinir y llythyren hon drwy gynorthwy *i* yn ei dylyn, a'i chynaniad sy'n gyffelyb i *b*, oddieithr yn fwy chwyrn a chyflym: y mae P yn gydsain wreiddiol; a'i hystyr yw tarddiad, gwthiad yn mlaen, a threiddiad.

*Am y Gydsain* PH.

Nid yw y gydsain PH amgen na llawforwyn i *p*; a'i chynaniad sydd yn hafal i *ff*.

*Am y Gydsain* R *neu* RH.

Nid oes i'r gydsain hon unrhyw dreigliad.

*Am gynaniad y Gydsain* R.

Seinir y gydsain hon drwy gynorthwy *e:* ei ffurfiad geneuol sy drwy ledostwng yr ên isaf, a phlygu blaen y tafod nes bydd y blaen ac ochrau ei oflaen yn wasgedig ar y gorchfant, a gwthir yr anadl yn rymus a chyflym, nes y cryna y tafod ar ei fynediad allan. Y mae hon yn gydsain wreiddiol; ei hystyr yw nerth, gweithred o rymusder, rhwbiad, rhwygiad, neu ddrylliad.

*Am y Gydsain* S.

S, sydd gydsain annewidiol. Cynanir y gydsain hon drwy gynorthwy y llafariad *e*, drwy drwydded bach rhwng blaen y tafod a'r gorchfant, tra mae ymylau goflaen y tafod yn wasgedig ar y gorchfant, a'r anadl yn cael ei ollwng yn esmwyth allan. Y mae S yn gydsain wreiddiol; a'i hystyr yw gwahaniaethiad dirgel, lledgrybwylliad, neu ddynodiant cyfrinachol.

*Am y Gydsain* T.

Geiriau yn dechreu â T a newidir i *d*, *nh*, ac *th*, megys *t*ad, dy *d*ad, fy *nh*ad, ei *th*ad; cyfnewidia hefyd i'r un llythyrenau mewn cyfansoddiad geiriau, megys pan*d*y, o pan a tŷ; cy*nh*wrf, o cy a twrf; a*th*raw, o *a* a traw.

*Am gynaniad y Gydsain* T.

Cynaniad y gydsain T sydd yn hafal i *d*, ond fod y tafod yn cael ei wasgu yn dynach ar y danedd a'r gorchfant, er cynnal mwy o bwys anadl nes y llenwir y genau, ac yna ei ollwng allan yn rymus a chyflym. Y mae T yn gydsain wreiddiol; ei hystyr yw tyniad, dirgymhelliad, neu lediad tyniadol.

*Am y Gydsain* TH.

Nid oes i'r gydsain TH unrhyw dreigliad. Ei chynaniad sy'n hafal i *dd*, ond gwesgir blaen y tafod yn dynach ar y danedd uchaf, er gwneyd trwyddedfa yr anadl yn gaethach, a gwthir ef allan yn fwy cyflym a grymus.

CYNWYSDREM AR DREIGLIADAU Y CYDSEINIAID CYFNEWIDIOL YN NECHREU GEIRIAU, YN DDYLYNOL I RAGENWAU.

| | *Gwreiddiol.* | *Ysgafn.* | *Chwyrn.* | *Meddal.* |
|---|---|---|---|---|
| | EIN EICH EU | EI DY | FY | EI |
| B | Bara | Fara | Mara | Bara |
| C | Câr | Gâr | Nghâr | Châr |
| D | Duw | Dduw | Nuw | Duw |
| G | Gwaith | Waith | Ngwaith | Gwaith |
| Ll | Llaw | Law | Llaw | Llaw |
| M | Mam | Fam | Mam | Mam |
| P | Pen | Ben | Mhen | Phen |
| Rh | Rhan | Ran | Rhan | Rhan |
| T | Tad | Dad | Nhad | Thad |

# PENNOD V.

## AM SILLAU.

**Sill yw cynnulliad o lythyrenau, a gynanir ag un anadliad heb gyfnewid nac ysgogi y llais; geill gynwys o un llythyren hyd saith, sef o un i dair o lafariaid yn gysylltiedig neu yn anghysylltiedig âg un neu fwy o gydseiniaid, megys *a, af, awr, cawr, grawn, gwraig, cwlltr,* a *trwsgl*: ac nid oes mwy na saith lythyren yn un sill gymreig. Dau fath sill y sydd, sef sill un**

seiniog, megys *câr*, a sill llios-seiniog, megys *cawr*. Ac o sillau y ffurfir geiriau o un hyd yn naw sill, megys

DI-AD-YM-GORFF-OR-IED-IG-AETH-OL
1. CORFF
2. CORFF-OR
3. CORFF-OR-IAD
4. CORFF-OR-IED-IG
5. CORFF-OR-IED-IG-AETH
6. CORFF-OR-IED-IG-AETH-OL
7. YM-GORFF-OR-IED-IG-AETH-OL
8. AD-YM-GORFF-OR-IED-IG-AETH-OL
9. DI-AD-YM-GORFF-OR-IED-IG-AETH-OL

Ond nid canmoladwy yw arfer geiriau hirion, os gellir cael rhai byrion yn cynwys y meddylddrych. Mynych iawn y mae areithwyr ieuainc yn cymylu prydferthwch eu meddylddrychau, drwy bentyru lliaws o eiriau hirion, ansathredig, ac afreidiol yn nghyd, er ceisio dangos eu gwybodaeth ieithyddol, a thrwy hyny yn mawr leihau eu cymeradwyaeth a'u defnyddioldeb fel areithwyr.

---

# PENNOD VI.

## AM SILLEBU.

Y mae sillebu yn gangen o addysg anhebgorol angenrheidiol i fod yn fedrus ynddi, cyn y mae yn ddichonadwy i neb fod yn alluog i ddarllen yn gywir ac yn hylithr; ac er hyny nid oes unpeth yn cael ei esgeuluso yn fwy yn yr ysgolion Cymreig na hyn. Pa beth yw'r achos fod dynion yn mwmialu, yn llusgo, yn camseinio, ac yn llysenwi geiriau, onid byrdra o wybodaeth o'r egwyddor ac o sillebu? ac er hyny gadewir iddynt ymbalfalu mewn tywyllwch y naill Sabboth ar ol y llall, heb un gobaith am eu gwellhad; oni ddylai pob athraw o gydwybod weithredu yn ddidderbyn wyneb, a dyweyd wrth y cyfrai am yr angenrheidrwydd o fedru sillebu, ac ymdrechu eu perswadio i ymddarostwng

i droi yn ol i'r dosbarth sillebu, ac nid oes dadl na ddysgent fwy mewn ychydig o Sabbothau fel hyn, nag wrth fwmial darllen am flynyddoedd.

Un attalfa mawr i blant a phobl gael blas ar sillebu yw, am y gosodir y rhan fynychaf athraw annghymhwys ar y dosbarth hwn; ni ddymunwn ddiystyru nac israddio neb, ond eto rhaid im' ddyweyd yn y fan hyn mai y dall yn tywys y dall yw hi yn rhy aml; pe gosodid un o oreuon yr ysgol ar y dosbarth hwn, er iawn wreiddio y wybodaeth o sillebu, yn enwedig yn y tô ieuanc, deuent yn ddarllenwyr rhagorol yn negwm yr amser.

"Deall sillau sy'n gwau'r gerdd
Yw cyweirgorn cywirgerdd."

Sillebu yw y gelfyddyd o iawn ddosbarthu geiriau i sillau, a sillau i lythyrenau.

Y mae rhai geiriau yn hawdd iawn i'w dosbarthu, tra y mae ereill yn dra anhawdd. Y mae yn hawdd iawn rhanu cysyllteiriau, megys *llaeth-oen*, *byd-wraig*, *troed-fainc*, &c. Nid yw y rhai uchod amgen na dau air cysefin wedi eu cysylltu yn nghyd; ond y mae y geiriau tarddedig, y rhai a elwir yn hanedigion, yn amrywio yn ddirfawr yn null eu cyfansoddiad, yr hyn a bair gryn anhawsdra i'w dosbarthu yn sillau, oddeithr y byddis yn lled hysbys â'r gwahanol ddulliau o gyfansoddi geiriau.

Yr hanedigion ynt wedi eu cyfansoddi o'r cysefiniaid, naill ai gyda blaenddodiaid neu olddodiaid, neu gyda'r naill a'r llall; o ganlyniad, y mae bod yn hyddysg ynddynt o rwyddineb mawr er ein galluogi i iawn ddosbarthu gair yn sillau, ac felly i allu sillebu yn gywir.

Y blaenddodiaid sydd fel y canlyn:—

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| A | am | cyd | dad | dis | ech | go | hu | rhag |
| ach | an | cyf | dam | dos | ed | gor | hy | rhy |
| ad | ar | cym | dar | dy | edd | gos | lled | tra |
| add | as | cyn | ded | dym | eil | gwr | lly | try |
| af | at | cynt | di | dys | er | gwrth | ofer | ym |
| all | cy | cys | dir | e | es | han | oll | ys |

Fe gyfunir dau, tri, neu bedwar o'r blaenddodiaid hyn yn nghyd yn nghyfansoddiad rhai geiriau, megys—

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Ad-ddy | adys | anadd | anned | annis | annghyd |
| ador | adymddir | anes | anedd | annos | annghyf |
| ados | adymgys | anhy | anni | annys | annghyn |
| adym | anad | annar | annir | anys | annghys |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| arddis | diadd | diym | lledar | ymad | ymgyd |
| arddy | diaf | diys | lledym | ymdry | ymgyf |
| arddym | diam | dym | lledys | ymddad | ymgym |
| arddys | dian | dyddym | oferym | ymddar | ymgyn |
| cyfym | diddos | goled | oferys | ymddi | ymgys |
| dadym | diddy | gores | rhyddi | ymddir | ymled |
| darym | diled | gorym | rhyddar | ymddis | ymos |
| dia | dirag | goym | rhyor | ymddy | ymry |
| diad | diwrth | gwrthym | traym | ymddys | ymwrth |

Y terfyniadau a arferir i gyfansoddi geiriau ydynt y rhai hyn:—

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Ach | megys | dynionach | eu | megys | goleu |
| ad | ... | goleuad | i | ... | poeni |
| aeth | ... | gorfodaeth | iad | ... | cariad |
| ai | ... | llatai | iaeth | ... | barddoniaeth |
| an | ... | chwiban | iant | ... | llesiant |
| ar | ... | llafar | id | ... | cadernid |
| awd | ... | molawd | ig | ... | genethig |
| awr | ... | crythawr | ineb | ... | gwylltineb |
| dawd | ... | Duwdawd | iar | ... | toniar |
| deb | ... | sefylldeb | ni | ... | bryntni |
| der | ... | hyfder | ol | ... | rhagorol |
| did | ... | dyndid | rwydd | ... | boddlonrwydd |
| dra | ... | pelldra | ur | ... | penadur |
| eb | ... | traetheb | ures | ... | golchures |
| ed | ... | tynged | wg | ... | tywyllwg |
| edd | ... | gwagedd | wr | ... | cyfrwywr |
| eg | ... | troelleg | wch | ... | tegwch |
| ell | ... | pibell | yd | ... | bywyd |
| en | ... | gwydden | ydd | ... | gweydd |
| es | ... | dynes | yddes | ... | pobyddes |

Cyfunir rhai o'r terfyniadau uchod â'u gilydd yn nghyfansoddiad rhai geiriau fel hyn:—

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| achydd | megys | cyfeillachydd | iedydd | megys | cynlluniedydd |
| adur | ... | pechadur | inebwr | ... | godinebwr |
| aduriaeth | ... | pechaduriaeth | inebydd | ... | godinebydd |
| aethwr | ... | tystiolaethwr | odiad | ... | penodiad |
| awdwr | ... | dysgawdwr | odiaeth | ... | penodiaeth |
| dodiad | ... | Trindodiad | odraeth | ... | llywodraeth |
| dodiaeth | ... | Undodiaeth | odraethiad | . | llywodraethiad |
| dodwr | ... | Undodwr | odraethydd | . | llywodraethydd |
| dodydd | ... | Trindodydd | odraethwr | . | llywodraethwr |
| ediad | ... | cerddediad | odwr | ... | penodwr |
| edydd | ... | cerddedydd | odydd | ... | penodydd |
| eiaeth | ... | llateiaeth | oriaeth | ... | cerddoriaeth |
| elliad | ... | cyllelliad | ychiad | ... | efelychiad |
| ellydd | ... | cyllellydd | ychwr | ... | heddychwr |
| iadwr | ... | trefniadwr | ychydd | ... | heddychydd |
| iarus | ... | soniarus | yddiaeth | ... | prydyddiaeth |

Y terfyniadau a arferir er lliosogi geiriau unigol ydynt:—

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| au | megys | parth-*au* | ion | megys | dyn-*ion* |
| aint | ... | gof-*aint* | od | ... | llwynog-*od* |
| edd | ... | bys-*edd* | on | ... | llw-*on* |
| i | ... | llestr-*i* | oedd | ... | byd-*oedd* |
| iaid | ... | creadur-*iaid* | ydd | ... | bro-*ydd* |
| iau | ... | gwyl-*iau* | | | |

Y terfyniadau a ddefnyddir er trosi geiriau lluosog i'r unigol ydynt:—*yn,* megys, plant, plent-*yn*; blodau, blodeu-*yn*: *en,* coed, coed-*en*; sêr, ser-*en.* Defnyddir *an, yn, en, ig,* ac *ach* yn derfyniadau lleihaol hefyd, megys dyn-*an,* neu dyn-*yn,* am ddyn bach; gardd-*en,* am ardd fechan; morwyn-*ig,* am eneth ieuanc; a dynion-*ach,* naill ai am ddynion bychain o gorffolaeth, neu o ymddygiadau gwael ac anheilwng o ddynoliaeth.

---

# PENNOD VII.

## AM Y GWAHANNODAU.

Y MAE cyfansoddiadau ysgrifenedig ac argraffedig yn cael eu dosbarthu yn ymadroddion, ac yn rhanau o ymadroddion, drwy gymhorth attal-nodau, i'r dyben o ddal ar y gorphwysfâu priodol, fel ag y gellir iawn ddeall gwir ystyr yr hyn a ddarllenir; a phe hebgorid y nodau hyn, arweinid y darllenydd i betrusder parhaus, a byddai y cyfryw gyfansoddiadau yn agored i amryw gamddeongliadau.

Dylid bod yn fanwl iawn wrth ddarllen, am dalu perffaith sylw ar yr attal-nodau fel ar y geiriau; canys heb hyn yr ym yn agored i wneuthur yr un camgymeriadau a phe byddai y cyfryw gyfansoddiadau heb eu hattal-nodi, drwy roddi gorphwysiad y llais, yn ol ein mympwy ein hunain, mewn lleoedd anmhriodol.

Tybiwyf na thramgwyddir wrthyf yn y man hyn, gan fod grammadegwyr yn amrywio yn enwau attal-nodau, am i minau gyfnewid enwau rhai o honynt; yr hyn, i'm tyb i, sydd yn rhestriad rheoleiddiach o honynt, ac yn hwylusach i'w trysori yn y cof.

Y Gwahannod ............... (,)
Yr Adwahannod ............... (;)
Y Gorwahannod ............... (:)
Y Diweddnod ............... (.)

1. Y Gwahannod a arddengys y gorphwysiad byraf, ac a ddefnyddir mewn oddeutu un-ar-bymtheg o wahanol sefyllfäoedd mewn cyfansoddiad; a phan y cyfarfyddir âg ef, dylid dyrchafu ychydig ar y llais, os bydd yr ymadrodd yn faith; ac os amgen, fe ddylid cadw y llais yn ddiysgog, gan arwyddo o hyd na fyddis ond megys yn nghanol meddwl yr awdwr; ac nas gellir gwneyd synwyr cyflawn o hono drwy ostwng y llais, megys y gwelir yn yr adnod ganlynol:—"Canys ysprydion cythreuliaid, yn gwneuthur gwyrthiau ydynt, y rhai sy'n myned allan at frenhinoedd y ddaiar, a'r holl fyd, i'w casglu i ryfel y dydd hwnw, dydd mawr Duw Hollalluog." Attalier y llais wrth y nod hwn tra y rhifir un.

2. Yr Adwahannod a arferir i ddosbarthu ymadrodd cyfansawdd yn ddwy neu ychwaneg o ranau, pan nad oes cysylltiad mor agos rhyngddynt â'r rhai hyny a wahenir gan y gwahannod, a chysylltiad agosach rhyngddynt na'r rhai hyny a wahenir â'r gorwahannod. Canfyddwn engraifft o'i ddefnydd yn yr adnodau canlynol:—"Pob un sydd yn gofyn, sydd yn derbyn; a'r neb sydd yn ceisio, sydd yn cael; ac i'r hwn sydd yn curo, yr agorir." "Pob pren da, sydd yn dwyn ffrwythau da; ond pob pren drwg, sydd yn dwyn ffrwythau drwg." "Y sail gyntaf oedd faen iaspis; yr ail, saphir; y trydydd, calcedon; y pedwerydd, smaragdus; y pummed, sardonyces; y chweched, sardius; y seithfed, chrysolithus; yr wythfed, beryl; y nawfed, topazion; y degfed, chrysoprasus; yr unfed-ar-ddeg, hyacinthus; y deuddegfed, amethystus." Cadwer y llais yn ddiysgog wrth y nod hwn, ac ymattalier tra y rhifir dau.

3. Y Gorwahannod, yn gyffredin, a arferir i ddangos fod y rheswm mewn cyflawn gyfansoddiad; ond gall yr awdwr ychwanegu at gorff yr ymadrodd heb ei niweidio, megys "Mewn cyfyngder y gelwaist, ac mi a'th waredais: gwrandewais di yn nirgelwch y daran: profais di wrth ddyfroedd Meriba." Ond nid yw yn dangos fod y rheswm mewn cyflawn gyfansoddiad pan y bydd engraifft, neu ddyfyniad yn cael ei ddwyn i mewn, megys *Y mae yr ysgrythyr yn rhoddi i ni ddarluniad hawddgar o Dduw yn y geiriau canlynol:*—"Duw, cariad yw." *Clywyd ef yn dywedyd yn fynych:*—"Yr wyf wedi darfod â'r byd, ac yn ewyllysgar i'w adael." Gostynger ychydig ar y llais wrth yr attalnod hwn, a gorphwyser tra y rhifir tri.

4. Diweddnod a ddengys bob amser fod yr ymadrodd blaenorol iddo mewn cyflawn gyfansoddiad, yn gwbl annibynol ar ddim a ganlyn: gwelir engraifft o hyn yn y geiriau canlynol:—"Perchwch bawb. Cerwch y brawdoliaeth. Ofnwch Dduw. Anrhydeddwch y brenin." Gostynger y llais mor isel wrth y nod hwn ag y deallo y gwrandawyr fod yr ymadrodd wedi ei gwbl orphen, ac attalier y llais tra y rhifir pedwar.

Gan fod rhai dynion yn darllen yn gyflymach nag ereill, ni ellir dangos yn bendant pa hyd y dylid gorphwyso wrth bob nod; ond dilys yw y dylid gwneuthur hyny yn ogyfartal â'r amser a gymerir i ddarllen, gan wneuthur y gwahaniaeth gosodedig rhwng y naill nod a'r llall.

5. Holnod (?) Arferir y nod hwn i arwyddo fod yr awdwr yn gofyn rhywbeth; a gofynir weithiau liaws o ofyniadau yn olynol, heb unrhyw ateb iddynt; megys, "Pwy a fesurodd y dyfroedd yn ei ddwrn, ac a fesurodd y nefoedd â'i rychwant, ac a gymhwysodd bridd y ddaiar mewn mesur, ac a bwysodd y mynyddoedd mewn pwysau, a'r bryniau mewn clorianau?" "Pwy a gyfarwyddodd Ysbryd yr Arglwydd, ac yn ŵr o'i gyngor a'i cyfarwyddodd ef?" "A phwy yr ymgynghorodd efe, Ie, pwy a'i cyfarwyddodd, ac a'i dysgodd yn llwybr barn, ac a ddysgodd iddo wybodaeth, ac a ddangosodd iddo ffordd dealldwriaeth?" Mewn lleoedd ereill rhoddir atebiad uniongyrchol, yn olynol i'r gofyniad; megys, "Pa fodd y glanha llanc ei lwybr? wrth ymgadw yn ol dy air di." Attalier y llais wrth y nod hwn cyhyd ag wrth ddiweddnod; ac arwyddocäer, drwy ddyrchafiad a bywiogrwydd y sain, mai holiad a fydd y geiriau.

6. Rhyfeddnod (!) Arwydda y nod hwn fod rhyw bwysfawredd rhyfeddol yn yr ymadrodd lle byddo; a'r cyfryw ymadroddion, gan mwyaf, a lefarir oddiar gynhyrfiadau yr anwydau; megys, llawenydd, gofid, neu syndod aruthrol, fel y canlyn;—Gwyn dy fyd! Och fi! Ofnadwy a rhyfedd i'm gwnaed!

Ymddengys defnyddioldeb y gofynnod a'r rhyfeddnod oddiwrth yr enghreifftiau canlynol, yn y rhai y gwahaniaethir yr ystyr yn hollol gan y gwahanol nodau:—

"Pa beth yw dyn i ti ymweled âg ef?"
"Pa beth yw dyn i ti ymweled âg ef!"
"Pa mor uchel yw Duw?"
"Pa mor uchel yw Duw!"

Gorphwyser wrth y nod hwn yn ogyhyd ag wrth y diweddnod; a bydded llais y darllenydd mewn cywair cyfatebol i ansawdd yr ymadrodd.

7. Y cromfachau ( ) [ ] Rhoddir geiriau a ddygir i mewn, er egluro yr hyn y llefarir yn ei gylch, rhwng cromfachau, pan nad ynt yn dwyn perthynas gyfeiriol âg ef, y rhai a ellir eu gadael allan yn gwbl heb niweidio'r synwyr; megys, "Yna Saul (yr hwn hefyd a elwir Paul) yn llawn o'r Ysbryd Glan, a edrychodd yn graff arno ef." Dylid darllen yr hyn a gromfechir yn fwy cymflym na'r rhan arall, gan ostwng ychydig ar y llais, oddieithr bod ymadrodd a gofynnod, neu ryfeddnod, yn ei ddylyn; megys, "Tra y maent yn ewyllysio rhyngu bodd, (a phaham na ddylent ewyllysio hyny?) hwy a ddiystyrant foddion anrhydeddus." Gosodwyd ef allan drwy gyffelybiaeth (O mor annghyfatebol!) wedi ei benthyca oddiwrth goel-grefydd y Cenhedloedd.

8. Yr Acenau (^) (`) (´) Arferir yr acenau hyn uwch ben llafariaid, i arwyddo hyd neu bwys y sain; gelwir y gyntaf yn acen amgylchedig; yr ail, yn acen ddisgynedig; a'r drydedd yn acen dderchafedig. Yr amgylchedig a arferir uwch ben llafariad, i arwyddo y dylid rhoddi sain hirllaes iddi; megys, *â* yn y gair *glân*, ac *ê* yn y gair *gwên*. Yr acen ddisgynedig a arferir i arwyddo ar ba lythyren mewn gair y dylid rhoddi y pwyslais; megys, *cànu*, *tònau*, &c. Yr acen dderchafedig a arferir uwch ben llafariad mewn gair unsill, mewn gwrthgyferbyniad i'r un amgylchedig; megys *glán, gwén*, &c.

9. Sillgoll (') a ddefnyddir i dalfyru gair, drwy adael llythyren neu sill allan o hono: megys, *cym'dogion*, am *cymydogion*; neu i wasgu dau air yn un; megys, *rhei'ny*, am y *rhai hyny*; *a'r*, am *a yr*. Camgymerir gan ddarllenwyr yn fynych gyda'r cysylltiaid *a'r*, *a'th*, &c., drwy seinio yr *a* yn hir, gan dybio fod y sillgoll yn gofyn hyny; dylid bod yn ofalus iawn i ochel hyn, i'r dyben i'r gwrandawyr allu gwahaniaethu rhwng y cysylltiaid a'r arddodiaid.

10. Gwallnod (‸) a arwydda fod llythyren, sill, neu air wedi ei adael allan o ysgrif mewn anghof, rhoddir dan y llinell gyferbyn a'r man y gadawyd ef allan; megys,

erbyn<br>
"Y gwir yn ‸ y byd."<br>
‸

11. Cysylltnod (-) a arferir i gysylltu dau air yn un; megys, *priod-fab, llaeth-oen*, &c. Dylid seinio y cysyllteiriau oll fel geiriau cyfansawdd, ac nid fel dau air didoledig; canys y mae gwahaniaeth dirfawr rhwng *priod fab*, a *priod-fab*; *llaeth oen*, a *llaeth-oen*.

12. Dyfynnodiad (" ") Dau wahannod gwrthdröedig a osodir ar ddechreu ymadrodd, neu ddywediad, a fo wedi ei ddyfynu o waith awdwr arall, a dau sillgoll a osodir ar ei derfyn; megys,

"Tra môr, tra Brython."

13. Gwahanranod (¶) a arferir i arwyddo dechreuad corff o ymadrodd ar unrhyw achos; anfynych y defnyddir ef heblaw yn yr ysgrythyrau santaidd.

14. Diffyglin (—) a arferir pan adewir llythyrenau allan o air, neu eiriau o ymadrodd; megys, Ll—nd—n, am Llundain.

"Roi gynydd i'r eginau:—
Llaw Duw yn hyn;—llaw Adda'n hau."

15. Didolnod ( ¨ ) a arferir uwch ben y gyntaf o ddwy lafariad mewn sill, er didoli y naill oddiwrth y llall, rhag eu bod yn ddeuseiniad, a thrwy hyny gwneir ef yn ddeusill; megys, Gröeg, yn lle Groeg.

"Alpha yw fo yn Ngröeg."

16. Cyplysnod (⁀‿⁀) a arferir fynychaf mewn barddoniaeth, er cydio llinellau a fyddont yn cyd-gynghaneddu; megys,

"Mae'n llefaru } ŵr goleuddawn A'i lafariad } i'r rhai un-
Er ei gladdu, } Er arweiniad } iawn."

17. Dosbarthnod (§) a arferir i ranu ymadrodd, neu bennod, yn ddosbarthiadau llai.

18. Sernodau (***) a arferir i arwyddo fod rhyw ddiffyg yn yr ymadrodd blaenorol iddynt; neu fod gan yr awdwr rhyw beth rhy anfoesol ac anweddaidd i'w adrodd.

19. Mynegfys (☞) a ddefnyddir i arwyddo fod yr ymadrodd cyferbyniol yn haeddu sylw ac ystyriaeth manylaf y darllenydd.

20. Nodau cyfeiriol; sef, y Seren (*), y Bidag (†), y Ber (‡), y Dosbarthnod (§), a'r Ddyblyg-lin (‖), ac weithiau y Llythyrenau mân a'r Rhifnodau, a ddefnyddir i gyfarwyddo y darllenydd at ryw nod ar ymyl neu waelod y ddalen, er prawf neu ddeongliad o'r hyn a ddarllenir.

# PENNOD VIII.

## AM DONYDDIAETH.

### AM OSLEF, LLEISBWYS, ACEN, A GOSTEGAU.

*Am Oslef.*

Y MAE Goslef yn wahanol i Leisbwys, Acen, a Gosteg, fel ag y mae yn cynwys cyweiriad y llais, yn ol yr amrywiol dônau a arferir wrth arllwys allan syniadau y meddwl mewn ymadroddion.

Nid yw lleisbwys yn effeithio ond ar ryw eiriau neu synwyregau; ond y mae Goslef yn effeithio ar wahanranau o gyfansoddiadau, ac weithiau yn rhedeg drwyddynt yn gyfan. Y mae yn resyn nad ystyrid mwy ar y pen hwn, ac nad ymdrechid symud ymaith yr hen arferiad anymunol hwnw ag sydd eto yn parhau yn ein hysgolion, sef darllen pob rhan o'r ysgrythyrau gyda thôn hirllaes, drymllyd, a difywyd, heb wneuthur unrhyw wahaniaeth rhwng yr ymadroddion mwyaf dwys, a'r rhai mwyaf bywiog; darllenir y bygythiadau mwyaf dychrynllyd ac ofnadwy, a'r addewidion mwyaf cysurlawn a gogoneddus, yn gwbl yn yr un dôn a llais; ac y mae hyn yn gwbl mor wrthun ac anmhriodol a phe byddai i flaenor canu arwain y cantorwyr i ganu tôn ysgafn, bywiog, a gorfoleddus ar y geiriau dwys a sobr hyny,—

Wele'r dydd ofnadwy yn dyfod, &c.

Y mae yn ddilys y dylid darllen pob rhan o'r gair santaidd gyda symlrwydd a difrifoldeb; ond nid yw tôn hirllaes, duchanllyd yn un arwydd o hyny, mwy nag yw'r darlleniad mwyaf bywiog a chyflym.

Gan fod geiriau ac ymadroddion wedi cael eu llefaru oddiar wahanol ysgogiadau y meddwl, ni ddylid arferu yr un llais gyda phob ymadrodd; canys y mae rhagluniaeth, nid yn unig wedi ein cynysgaethu ni gydag iaith neu eiriau a pheiriannau ymadrodd i drosglwyddo ein meddwl, ond wedi ein meddiannu â

pheiriannau i amrywio ein llais i fod yn gyfunol âg ansawdd yr hyn a lefarir genym; ac fe ddylem, pan yn darllen unrhyw gyfansoddiad, ymdrechu i ddwyn ein hunain i bersonoli y llefarydd gwreiddiol o'r geiriau, fel pe byddem yn yr holl amgylchiadau ein hunain.

Gall dyfyniadau o alarnad brydferth Dafydd uwch ben Saul a Jonathan, fod yn ddefnyddiol fel cynllun i egluro yr hyn a ddywedwyd ar y pwnc hwn:—

"O ardderchogrwydd Israel, efe a archollwyd ar dy uchelfäoedd di: pa fodd y cwympodd y cedyrn!

Nac adroddwch hyn yn Gath; na fynegwch hyn yn heolydd Ascelon: rhag llawenychu merched y Philistiaid, rhag gorfoleddu o ferched y rhai dienwaededig.

O fynyddoedd Gilboa, na ddisgyned arnoch chwi wlith na gwlaw, na maesydd o offrymau: canys yno y bwriwyd ymaith darian y cedyrn yn ddirmygus, tarian Saul, fel pe buasai heb ei eneinnio âg olew."

Y gyntaf o'r rhanau hyn a esyd allan dristwch a galar; am hyny y mae y sain yn isel. Y nesaf a gynwys archiad bywiog, a dylai gael ei llefaru yn llawer uwch. Yr ymadrodd arall, lle y gwna efe gyfeiriad serch-ddeffrous at y mynyddoedd ar ba rai y lladdwyd ei gyfeillion, sy raid ei ddadgan mewn sain llwyr wahanol oddiwrth y ddau flaenaf; sef, nid mor isel a'r cyntaf, nac ychwaith mor uchel a'r ail, ond mewn llais gwrol, grymus, ac eto yn gwynfanus.

Yn debyg i hyn y dylid gwneuthur amrywiaeth yn y llais fel ag y bydd ansawdd yr ymadrodd yn gofyn.

*Serch* a osodir allan gyda llais araf, esmwyth, llednais, a hynaws: *digllonedd* gyda llais cryf, garw, llym, ac angherddol; *llawenydd* gyda llais bywiog, hyawdl, a melysber; *tristwch* gyda llais wylofus, a thrist; *ofn* gyda llais brawychus, llesg, a chrynedig; *hyfdra* gyda llais dewrwych, cadarn, a dyrchafedig, ac felly pob cyffröad arall yn briodol i'w anian.

### *Am Aceniad.*

Aceniad yw gosodiad mwy o rym y llais, ar ryw lythyren neu sill penigol mewn gair, fel y gellir gwahaniaethu y cyfryw lythyren, neu sill, oddiwrth lythyrenau neu sillau ereill a fo ynddo.

Perthyna i sill ddau amser gwahanol, sef amser byr, ac amser hir.

Un amser byr i sill y sydd; megys hŷn, hẁn, llàn, llèn, tòn.

Tri amser hir y sydd, fel y canlyn:—Amser hir un-amserog; megys, gŵr. Amser hir dau-amserog; megys, gwrysg. Amser hir tri-amserog; megys, gwnaent.

Acenir y cysyllteiriau a'r geiriau cyfansawdd oll drwy roddi grym yr acen ar y sill olaf ond un, ac o hyny yn ol bob yn eil-sill; megys, *ys*grif*en*u; ond pan fyddo *h* rhwng y ddwy sill olaf mewn gair, yna rhoddir pwys yr acen ar y llafariad nesaf iddi; megys, llawen*h*au, trym*h*au, ac hefyd yn cyffröi, didöi, &c.

*Am y Gostegau.*

Gostegau, neu orphwysiadau, wrth lefaru neu ddarllain, ynt attaliadau trwyadl o'r llais dros yspaid amgyffredol, ac mewn amrai achosion yn fesuredig o amser.

Y mae gostegau mor angenrheidiol i'r llefarwr ae i'r gwrandawydd. I'r llefarwr fel y cymero ei anadl, heb yr hyn ni ddichon iddo fyned yn mlaen, ac fel y gallo, drwy y gostegau hyn, gymeryd iawn lywodraeth ar ei lais, ac esmwythau ar ei beiriannau ymadrodd; y rhai, pe amgen, a ymflinent yn fuan drwy weithrediad didor. I'r gwrandawydd hefyd y mae y gostegau hyn yn rheidiol, rhag i'w glyw ef gael ei ferwino drwy barhausder swn, ac fel y gallo y deall gael amser digonol i nodi gwahanrediad y synwyregau a'u hamrywiol ranau.

Dau fath osteg y sydd: sef gosteg lleisbwysol, a gosteg gwahaniaethol. Gwneir gostegau lleisbwysol wedi fod rhyw beth o bwys neillduol yn cael ei draethu, ac at ba un yr ym yn dymuno sicrhau ystyriaeth y gwrandawydd. Weithiau cyn y dywedir y cyfryw beth, arweiniwn ef i mewn gyda gorphwysiad o'r natur yma.

Y cyfrai ostegau a feddant yr un effaith a lleisbwysiad grymus, ac y maent yn ddarostyngedig i'r unrhyw reolau, ac yn enwedig i'r rhybydd o beidio eu tra-mynychu. Canys gan eu bod yn cyffroi sylw annghyffredin, ac o herwydd hyny yn achosi dysgwyliad, oni bydd pwys y mater yn cyfateb yn gyflawn i'r cyfryw ddysgwyliad, y maent yn peri siomedigaeth ac anfoddlonrwydd.

Ond y gostegau a ddefnyddir fynychaf yw y rhai gwahan

iaethol, y rhai a arferir i wahanu amrywiol gangenau synwyregau, ac ar yr un amser yn rhoi cyfleusdra i'r llefarydd gymeryd ei anadl; ac y mae trefniad priodol a destlus y gostegau hyn yn un o'r pethau mwyaf dichlynaidd ac anhawdd mewn parabliad.

Y mae iawn ddefnyddiad o hyn yn galw ar ein holl fedr, rhag ini roddi y gostegau hyn mewn lleoedd anmhriodol, a thrwy hyny wahanu ymadroddion a fyddai yn gofyn y cysylltiad agosaf. Camsyniad mawr yw dychymygu mai ar ddiwedd ymadrodd yn unig y mae cymeryd anadl; gellir ei gasglu yn hawdd wrth wahannodau ereill, ac felly fod yn alluog i fyned yn mlaen yn ddirwystr o barth hyn gyda'r synwyregau hwyaf.

*Am Leisbwys.*

Megys y mae aceniad yn gosod y llais yn fwy grymus ar ryw lythyren, neu sill, mewn gair, felly hefyd y mae lleisbwys yn gosod y llais yn fwy grymus ar ryw air, neu eiriau, mewn ymadrodd. Ar iawn-ddefnydd y lleisbwys ẏ mae bywyd traethyddiaeth yn ymddibynu. Oni osodir y lleisbwys ar unrhyw air, nid yn unig gwneir yr araeth yn drymllyd a difywyd, ond gadewir meddwl yr ymadrodd yn fynych mewn amheuaeth. Os cam-osodir y lleisbwys, gwyrdröwn a dyryswn y meddwl yn hollol. Eglurir hyn drwy yr engraifft ddylynol:—"A ddeui di gyda mi i'r ysgol heddyw?" Os gosodir y lleisbwys ar *di*, yr ateb fydd, Na ddeuaf *fi*, ond fe ddaw fy *mrawd*. Os ar *gyda* Na ddeuaf fi, ond mi a âf *wrthyf fy hun*. Os ar *mi*, Na ddeuaf *fi*, ond mi âf gyda *gwr arall*. Os ar y gair *ysgol*, Na ddeuaf *fi*, canys y mae yn rhaid i mi fyn'd i *le arall*. Os ar *heddyw*, Na ddeuaf, ond mi a ddeuaf y *Sabbath nesaf*. Yn y cyffelyb fodd y mae holl nerth a phrydferthwch traethyddiaeth yn ymddibynu ar leisbwysiaeth gywir, a gallwn gyflwyno i'r gwrandawyr olygiadau cwbl wahanol ar yr un syniadau drwy symud y lleisbwys o'r naill air i'r llall. Sylwer y fath olygiadau gwahanol a drosglwyddir i'r meddwl yn y geiriau canlynol o eiddo ein Hiachawdwr, yn ol y gwahanol leisbwysiaeth a roddir arnynt:—"Ai â chusan yr wyt ti yn bradychu Mab y dyn?" *Ai â chusan*, sydd yn troi pwys y gwaradwydd ar ei waith yn gwael ddarostwng arwyddnod heddwch a chyfeillgarwch, i ddybenion dinystriol a cholledigol. Ai â chusan yr wyt *ti*,

sydd yn peri iddo orwedd ar gyd-berthynas Judas â'i Feistr. Ai â chusan yr wyt ti yn *bradychu*, sydd yn ei osod ar yr anair o fradwriaeth. Ai â chusan yr wyt ti yn bradychu *Mab y dyn*, sydd yn ei adael i orphwys ar nodwedd priodol, ac enwogrwydd ein Hiachawdwr. Mynych iawn y camgymerir gyda lleisbwysiad mewn holiadau: clywir llawer, pan yn darllen, yn rhoddi'r lleisbwys, bob amser, ar y gair diweddaf mewn holiad. Ond nid felly y dylid ei roi y rhan fynychaf; disgyna yn fwyaf cyffredin ar y gair holiedig; megys, "Pwy a wnaeth hyn?" "Pwy a wnaeth y byd?" Ond weithiau disgyna ar y gair olaf; megys, "Pwy oedd y dyn *cyntaf*?" "Pwy oedd y dyn *cryfaf*?" &c., ac weithiau disgyna ar air yn nghanol gofyniad; megys, "Pwy a â *drosom* ni?". Y mae rhai ymadroddion mor llawn a chynwysfawr fel y bydd bron bob gair ynddynt yn galw am leisbwys arnynt; megys, "Paham y byddwch feirw?" "Paham y sefwch chwi yma ar hyd y dydd yn segur?" "O frodyr, gweddiwch drosom."

---

## PENNOD IX.

### EGLURHAD AR DROELLEGAU, A GWAHANOL FFURFIAU YMADRODDION YR YSGRYTHYRAU.

Ni oddefa terfynau y llyfryn hwn i'm wneyd sylwadau meithion ar yr hyn a achosodd yr arferiad o droellegau mewn iaith, ond y mae yn dra thebyg mai y prif achos oedd yr hen ddull a arferid o gyfleu meddylddrychau drwy arwyddluniau, *(hieroglyphics)*. Y dull hwn o ysgrifenu a ddefnyddid gan yr Aiphtiaid ac eraill, yn y cyn-oesoedd, cyn lluniaethu llythyrenau, ac o herwydd nas gallent gael arwydd-luniau pethau yn uniongyrchol, defnyddient luniau pethau a fyddent yn dwyn perthynas, neu gysylltiad â hwynt: felly byddai *coron* neu *deyrnwialen* yn arwyddo gallu, neu awdurdod breninol. *Cleddyfau, gwaywffyn, &c.*, yn arwyddo rhyfel. *Cawell wedi ei orlenwi â ffrwythau*, yn arwyddo llawnder, &c.; ond pan y dyfeisiwyd llythyrenau

ac y defnyddiwyd hwy i ysgrifenu geiriau er cyfleu meddylddrychau; fe ddiddymwyd yr arferiad o'r arwyddluniau, ond fe arosodd y delweddau o honynt mewn iaith ac y maent byth yn cael eu harferyd genym, yn ein hymadroddion wrth lefaru ac ysgrifenu. Ac y mae y delweddau, neu'r troellegau hyn, wedi bod ac yn bod o ddirfawr fantais i ddynion allu gosod allan eu meddylddrychau yn llawer rhagorach nag y buasai yn ddichonadwy hebddynt. Canys trwyddynt hwy y lluosogir geiriau ac ymadroddion, er gosod allan bob math o feddyliau, er darlunio hyd yn nod y gwahaniaeth lleiaf, y godremiadau manylaf, ac eil-liwiau mwyaf lledneis y meddwl, yr hyn ni fuasai alluadwy i unrhyw iaith ei wneuthur, drwy eiriau priodol yn unig, heb gymhorth troellegau. A chan fod yr ysgrythyrau yn llawn o'r cyfrai ymadroddion, dichon na fyddai ychydig o eglurhad arnynt yn anfuddiol i'r ysgolor.

### 1. *Am Drawsenwad.*

Trawsenwad sydd ffurf o ymadrodd, sylfaenedig ar amrywiol berthynasau, *achos* ac *effaith*, drwy roddi y naill am y llall; weithiau rhoir yr *achos* am yr *effaith*, yr *effaith* am yr *achos*, y *sylfon* am y *cysylltai*, y *cysylltai* am y *sylfon*, y *cynwysydd* am y *cynwysedig*, y *cynwysedig* am y *cynwysydd*; yr *arwydd* am yr hyn a *arwyddoceir*, a'r hyn a *arwyddoceir* am yr *arwydd* o hono.

1. Rhoddir yr *achos* am yr *effaith*; yn ol y dull hwn y rhoddir Crist am ei *athrawiaeth*, Rhuf. xvi. 9. 1 Cor. iv. 15. Eph. iv. 20. Am ei *rasusau*, Rhuf. xiii. 14. Gal. iii. 27. Yr *yspryd* am ei *ddoniau* a'i *rasusau*, Ecs. xxxi. 3. Num. xi. 17. Luc i. 15. Gal. iii. 2. Am *dueddiad y meddwl*, megys y gweithredir arno gan yr yspryd, Gal. v. 17. Sal li. 10, 11. Rhoddir *personau* am eu *gwaith*, neu eu *hysgrifeniadau*, Luc xvi. 29. xxiv. 27. Act. viii. 28. xxi. 21. Rhoddir y *genau*, y *gwefusau*, a'r *tafod*, am y *geiriau* a lefarir ganddynt, 2 Cor. xiii. 1. Diar. v. 2. xvii. 7. xxv. 15. Gelwir *ysgrif* dyn ei *law*, 1 Cor. xvi. 21. Drwy yr un ffurf o ymadrodd rhoddir *llafur* am y *cyflog* a enillir drwyddo, Ezec. xxiii. 29.

2. Rhoddir yr *effaith* am yr *achos*: gelwir *Crist* yn *Iachawdwriaeth*, Esa. xlix. 6. Luc ii. 30. Yn *Fywyd* ac *Adgyfodiad*, Ioan xi. 25. Yn *Dangnefedd*, Eph. ii. 14. Felly hefyd y dy-

wedir ei fod wedi ei wneyd i ni yn *Ddoethineb*, yn *Gyfiawnder*, yn *Santeiddrwydd*, ac yn *Brynedigaeth*; h.y. yn *Awdwr* o'r holl bethau hyn, 1 Cor. i. 30. Gelwir yr *Efengyl* yn allu Duw er iachawdwriaeth; h.y. yn *offeryn* ei allu, Rhuf. i. 16. Gelwir *ffydd* ein *buddugoliaeth*, am mai drwy ffydd yr ym yn gorchfygu y byd, 1 Ioan v. 4.

3. Rhoddir y *sylfon* am y *cysylltai*, neu yr hyn a berthyna i'r cyfryw sylfon. Felly yr arferir y *galon* yn fynych yn yr ysgrythyrau am yr *ewyllys* a'r *serchiadau*, ac am y *gydwybod*. Rhoddir yr *arenau* hefyd yn fynych am y *dirgel feddyliau*, ond gwneir hyny yn hytrach drwy drawsymddwyn, na thrawsenwad; am fod yr arenau mor ddirgel, wedi eu hamgylchu â brasder, a'u harwisgo gan bilionen ddyblyg. Felly yr *hen ddyn*, y *dyn newydd*, y *dyn oddi allan*, a'r *dyn oddi mewn*, a *dirgel ddyn y galon*, ni arwyddant ond ansawdd a theithi yn unig.

4. Arferir y *cynwysydd* weithiau am y *cynwysedig*. Rhoddir y *ddaiar* a'r *byd* yn fynych am y rhai a'u *preswyliant*; *gwledydd*, *dinasoedd*, a *thai*, am y *rhai a drigant o'u mewn*. *Ty Israel*, *ty Levi*, am y *tylwythau hyny*: y *cawell*, am y *ffrwyth* casgledig yn y cawell: *bort*, am yr *arlwyad ar y fort*: y *gwpan*, am y *gwin ynddi*; *llongau*, *dynion ynddynt*, Esa. xxiii. 1—14. Y *bedd*, *dynion claddedig ynddynt*, Esa. xxxviii. 18.

Yn yr un modd rhoddir y meddiannydd, weithiau, am y meddiannau, "Efe a'u mesurodd *hwynt* â llinyn, gan eu cwympo hwynt hyd lawr;" h.y. "Efe a fesurodd eu *gwlad* gan ddymchwel eu *tai* a'u *dinasoedd*," 2 Sam. viii. 2. Weithiau rhoddir y gwrthrych am yr hyn sydd gyfymlyn ag ef. Felly *nerth* yw'r mawl a'r gogoniant dyledus i Dduw, neu a roddir iddo am dano, Sal. viii. 2. xxix. 1. *Baich*, yw prophwydoliaeth, o bethau blin a gorthrymus, Esa. xiii. 1. xv. 1.

5. Rhoddir, weithiau, y peth *arwyddol* am yr arwydd o hono; *Nerth* a *Chadernid* Duw yw'r *Arch*, yr hon oedd yn arwydd o honynt, 1 Cron. xvi. 11. Sal. lxxviii. 61.

6. Rhoddir y *cysylltai*, yn fynych, am y *sylfon*; felly, dyddiau a *lliaws o flynyddoedd* ydynt *hynafgwyr*, Job xxxii. 7. *Cadernid Israel*, yw *Cadarn Dduw Israel*, 1 Sam. xv. 29. Rhoddir yr *enwaediad* am yr *enwaediaid*, Rhuf. iii. 30. Yr *etholedigaeth*, am yr *etholedigion*, Rhuf. xi. 7. Gelwir hyn yn gyffredin y *Crynodeb*, am y *Cyfiawnder*; rhoddir *ffieidd-dra*, am *ffieidd-beth*;

Gen. xlvi. 34. Rhoddir *tywyllwch*, am *anwybodaeth*; a *goleuni*, am *oleuedig*, Eph. v. 8. Felly y mae *chwant y llygaid* yn arwyddo *gwrthrychau y llygaid*, y rhai a drachwantir genym: a gelwir *Crist* yn *ddymuniad* yr holl genhedloedd, am fod pobl Dduw yn mhlith yr holl genhedloedd yn ei *ddymuno*, a chesglir hwynt oll ato.

7. Rhoddir yr *arwydd* weithiau, am y peth a *arwyddir*; felly mae *penadur*, *gallu*, ac *awdurdod*, yn cael eu gosod allan drwy *deyrnwïalen*, *coron*, a *thalaith*. Arwyddir *rhyfel* drwy *fwäau*, *gwaywffyn*, *cleddyfau*, *cerbydau*, *tarianau*, *&c.*; yn yr un modd, *plygu y glin* yw *gweddïo*. Gwisgo *sachliain*, yw *galaru*, Sal. lxix. 11. Curo *cleddyfau* yn *sychau*, a *gwaywffyn* yn *bladuriau*, ydyw byw mewn *heddwch* a *thangnefedd*.

2. *Am Gamarferiad.*

Camarferiad fydd pan fenthycir gair o'i briodolder ei hunan i arwyddocad anmhriodol; a hyny, weithiau, a ddengys fwy o ryfeddod, ac o ystyr, o herwydd hyfdra a newydd-beth. Felly y mae y dwfr a ddygodd gwyr Dafydd drwy y fath enbydrwydd o ffynon Bethlehem, yn cael ei alw *eu gwaed*, 2 Sam. xxiii. 17. Gelwir *cenfigen* yn ddrwg-lygad, am mai drwg-lygad yw'r arwydd o hono; a dywedir fod y drwg-lygad hwnw yn dyfod o'r galon, Marc vii. 21, 22. Gelwir *pechod* yn *ddeddf*, Rhuf. vii. 23. *Trachwantau* yn *aelodau*, Col. iii. 5. A geilw Paul ei waith yn cymeryd cyflogau yr eglwysi na phregethodd iddynt, yn eu hyspeilio.

3. *Am Gyforddwyn.*

Pryd y rhoddir y *cyfan* am *ran*, neu *ran* am y *cyfan*. Felly *cnawd*, yr hwn nad yw ond rhan o'r dyn, a roddir am yr *holl ddyn*, gorph ag enaid, Gen. vi. 12. Weithiau rhoddir y rhif *luosog* am y rhif *unigol*. Fel hyn y sonir am blant, merchaid, a meibion; pan na feddylir ond un o bob un o honynt, Gen. xxi. 7. Weithiau, rhoddir y rhif *unigol* am y *lluosog*; megys, *Gwyn ei fyd* y gwr, h.y. *pawb na rodiant*, Sal. i. 1. "Dyn a aned o wraig sydd fyr o ddyddiau a llawn o helbul;" h.y. *pob* dyn, Job xiv. 1. Cyfododd yr Iuddewon yn unfryd yn erbyn Paul; h.y. *rhan fawr* o'r Iuddewon, Act. xviii. 12.

### 4. *Am Drawsymddwyn.*

Trawsymddwyn sy ddull ymadrodd, wedi ei sylfaenu yn hollol ar y cyfatebiad a ddyg y naill wrthrych i'r llall. Y mae trawsymddwyn a chyffelybiaeth o agos gyfathrach; er hyny, y mae gwahaniaeth digonol rhynddynt. Mewn trawsymddwyn rhoddir y naill beth am y llall, ond mewn cyffelybiad neu ddameg cydmerir y naill beth gyda'r llall. "Ac efe a fydd *fel* pren wedi ei blanu ar lân afonydd dyfroedd," &c. sydd yn gyffelybiad, ond "Myfi a fyddaf yn fur o dân o'i hamgylch, ac yn ogoniant yn ei chanol," sydd yn drawsymddwyn.

O dan y pen hwn y cyfrifir yr ymadroddion dylynol, "Llusern yw dy air i'm traed, a llewyrch i'm llwybr," Salmydd; h.y. Fel ag yr oedd *llusern* yn fuddiol i oleuo y teithiwr yn ngwyneb *tywyllwch* naturiol; felly hefyd yr oedd gair Duw yn fuddiol i'w oleuo ef, yn ngwyneb tywyllwch moesol. "Pob cnawd sydd wellt," h.y. yn wywadwy, a darfodedig. "Gwisgwch am danoch yr Arglwydd Iesu Grist," h.y. bydded i chwi fod ar ei ddelw, ac aros yn ei gariad. "Myfi yw y bugail da." "Myfi yw drws y defaid," sef unig dderbyniwr, cyfiawnhawr, ac arweiniwr y rhai cadwedig.

Trwy y ffurf hwn o ymadrodd hefyd y priodolir pethau i *Dduw* ar a berthynant i ddyn: pa rai yr ym i'w deall mewn ffordd a modd teilwng o natur a mawredd Duw wedi symud ymaith bob anmherffeithrwydd ar sydd ynddynt yn y creadur. Megys pan y mae aelodau corph dyn yn cael eu priodoli iddo ef, yr ym i ddeall y perffeithderau hyny o ba rai y mae y cyfryw aelodau ynom ni yn foddion ac yn offerynau. Felly y *llygad* drwy yr hwn yr ym ni yn canfod pethau, ac yn sylwi arnynt; pan briodolir ef i Dduw y mae i ni ddeall *ei wybodaeth berffaith a manwl* o bethau; gwyliadwriaeth manylgraff ei ragluniaeth. Felly y priodolir *clustiau* iddo i arwyddo ei *gymeradwyaeth rasol* o weddïau ei bobl, neu y *sylw manwl* y mae ef yn ei gymeryd o bechodau dynion. Wrth ei *fraich*, y mae i ni ddeall ei *nerth*, a'i *allu*. Wrth ei *fysedd* y mae i ni ddeall ei *waith*. Ac wrth ei *ymysgaroedd*, ei *gariad* a'i *dosturi*.

### 5. *Am Aralleg.*

Nid yw aralleg amgen na thrawsymddwyn barhaol yn rhedeg drwy'r holl ymadrodd. Y mae engraifft nodedig o honi

i'w gweled yn y lxxx. Salm. "Mudaist winwydden o'r Aipht: bwriaist y cenhedloedd allan, a phlenaist hi. Arloesaist o'i blaen, a pheraist i'w gwraidd wreiddio, a hi a lanwodd y tir. Cuddiwyd y mynyddoedd gan ei chysgod; a'i changenau oedd fel cedrwydd rhagorol. Hi a estynodd ei changau hyd y môr, a'i blagur hyd yr afon. Paham y rhwygaist ei chaeau, fel y tyno pawb, a el heibio ar hyd y ffordd, ei grawnwin hi? Y baedd o'r coed a'i turia, a bwystfil y maes a'i pawr. O Dduw y lluoedd, dychwel, atolwg: edrych o'r nefoedd, a chenfydd, ac ymwêl â'r winwydden hon."—Gwel hefyd Ezec. xvii. 22. 24.

6. *Am Gyffelybiad.*

Cyffelybiad yw pan fynegir y tebygolrwydd rhwng y naill wrthrych a'r llall; megys, "Fel oen yr arweiniwyd ef i'r lladdfa, ac fel y tau dafad o flaen y rhai a'i cneifiai; felly nid agorai yntau ei enau." Gwel hefyd Sal. cxxxiii. Pan y rhedir hwynt yn faith, gelwir hwynt yn ddamhegion. Dyma y dull cyffredin o lefaru a arferai Crist yn ei bregethau.

7. *Am Ormoddiaith.*

Y droelleg hon a elwir felly am ei bod yn gynwysedig mewn mwyhau gwrthrych tu hwnt i'w derfynau naturiol. Felly y dywedir am y genedl Iuddewig, "Juda ac Israel oedd aml fel y tywod sydd gerllaw y môr o amldra," 1 Bren. iv. 20; diammhau y gallasid eu rhifo yn nyddiau Solomon, ond y tywod ni ellir byth ei rifo; er hyny nid oedd dim addasach i ddangos eu rhyfeddol amldra na'r tywod.

8. *Am Watwariaith.*

Gwatwariaith yw troi gair o'i ystyr briodol i ystyr gwrthgyferbyniol, a hyny nid â bwriad i dwyllo, ond i ychwanegu grym i'n sylwadau. Cawn engraifft rymus iawn o hyn yn ymadrodd Elias, wrth herio prophwydi Baal, i brofi gwirionedd eu duw, pan ddywedodd, "Gwaeddwch â llef uchel: canys duw yw efe: naill ai ymddyddan y mae, neu erlid, neu ymdeithio y mae efe; fe allai ei fod yn cysgu, ac mai rhaid ei ddeffro ef." Gwel hefyd Barn. x. 14. Gen. iii. 22.

9. *Am Waeddolef.*

Gwaeddolef yw amlygiad o unrhyw gyffroad grymus yn y

meddwl; megys, o syndod, rhyfeddod, llawenydd, tristwch, a'r cyffelyb. Gwelir engraifft hynod o hyn yn Jer. ix. 1, 2, "O na bai fy mhen yn ddyfroedd, a'm llygaid yn ffynon o ddagrau, fel yr wylwn ddydd a nos am laddedigion merch fy mhobl! Oh na byddai i mi yn yr anialwch letty fforddolion, fel y gadawn fy mhobl, ac yr elwn oddiwrthynt! canys hwynt oll ydynt odinebus, a chymanfa anffyddloniaid!" Gwel hefyd Esa. i. 4.

### 10. *Am Attaliaith.*

Attaliaith sy ddull drwy yr hwn, gan ddigllonedd neu ryw gythrybliad arall yn y meddwl, ni ddywedir yn gyflawn yr hyn a fwriedir, ond torir ymaith yr ymadrodd yn ddisymwth, gan ddangos ar yr un pryd y peth a feddylir yn mhellach; megys, Hos. iv. 17, "Ephraim a ymgysylltodd âg eilunod: gad iddo."

### 11. *Am Wrthdroad.*

Gwrthdroad sy ddull ymadrodd, pan droir oddiar rediad rheolaidd y testyn, i anerch rhyw berson neu beth; megys, 1 Cor. xv. 54, 55, "Angeu a lyncwyd mewn buddugoliaeth. O angeu, pa le mae dy golyn? O uffern, pa le mae dy fuddugoliaeth." Gwel engreifftiau nodedig, Esa. i. 2. Jer. xlvii. 6, 7.

### 12. *Am Ohiriad.*

Gohiriad yw canlyniad o ymadrodd, dechreuedig yn y fath fodd ag y boddheir y darllenydd ar ei hyd, gan ei gadw mewn dysgwyliad awyddus am rywbeth nodedig yn y diwedd; megys, Rhuf. viii. 38, 39, "Mae yn ddiogel genyf na all angeu, nac einioes, nac angylion, na thywysogaethau, na meddiannau, na phethau presenol, na phethau i ddyfod, nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd."

### 13. *Am Gyferbyniad.*

Trwy y ffurf hwn o ymadrodd y gosodir pethau gwrthgyferbyniol yn nghyd, a hyny er dangos y gwahaniaeth yn amlycach; megys, "Anweddaidd i ffol ymadrodd rhagorol, mwy o lawer i bendefig wefusau celwyddog," Diar. xxii. 7. Gwel hefyd 2 Cor. vi. 8—10.

### 14. *Am Ddynsoddiad.*

Dynsoddiad yw pan ddywedir y fod yn llefaru y neb nad yw, neu pan ddynweddir yn ddychymygol bethau difywyd, gan olygu

peth mud yn dafodiog; megys, "Pa le y ceir doethineb? Y mae y dyfnder yn dywedyd, Nid yw hi ynof fi: ac y mae'r môr yn dywedyd, Nid yw hi gyda myfi. Colledigaeth a marwolaeth sydd yn dywedyd, Ni a glywsom â'n clustiau son am dani hi," Job xxviii. 12. 14. 22. Gwel hefyd Sal. cxiv. 3, 4. Diar. viii.

### 15. *Am Raddeb.*

Graddeb yw dyrchafu holl amgylchiadau, gwrthrych, neu weithred yn uwch, yr hon a fynem osod mewn iaith amlycach; megys, "Pwy a'n gwahana ni oddiwrth gariad Crist? ai gorthrymder, neu ing, neu ymlid, neu newyn, neu noethni, neu enbydrwydd, neu gleddyf?" Rhuf. viii. 35. Gwel hefyd 2 Pedr i. 5—7.

### 16. *Am Ad-ddywediad.*

Ad-ddywediad a fydd pan ail adrodder naill ai yr un geiriau drachefn, neu yr un synwyr mewn geiriau ereill, a hyny yn addas a phwysig; megys, "Llef yr Arglwydd sy mewn grym: llef yr Arglwydd sy mewn prydferthwch," Sal. xxix. 4. Yr un synwyr mewn geiriau gwahanol. "Hwy a synasant, nid atebasant mwy, peidiasant a llefaru," Job xxxii. 15.

### 17. *Am Ofyniaith.*

Gofyniaith yw cynyg holiad: arferir ef yn fynych gan ddynion wrth lefaru, pan byddont wedi eu cyffroi yn rymus, fel y rhoddant yr hyn a geisiant ei wadu, neu haeru, gyda difrifwch mawr ar ddull holiad, gan arddangos drwy hyny yr ymddiried cadarnaf yn eu syniadau eu hunain, a chyrchu at eu gwrandawyr am eu barn mewn perthynas i analluoldeb y gwrthwyneb. Yn ol y dull hwn y dywedodd Balaam wrth Balac, Num. xxiii. 19, "Nid dyn yw Duw i ddywedyd celwydd, na Mab y Dyn i edifarhau: a ddywedodd efe ar nis cyflawna; a lefarodd efe ac oni chywira?"

### 18. *Am Amgylchiaith.*

Amgylchiaith yw amlygu un gair â llawer, a hyny er prydferthu yr ymadrodd; megys, pan ddywedir "Tad y ffyddloniaid," am Abraham; "Duw y byd hwn," am y diafol. Neu pan fyddo enw yn cael ei guddio, ac arfer geiriau ereill i'w arwyddocau; megys, "Y dysgybl yr oedd yr Iesu yn ei garu," am Ioan.

### 19. *Am Oddefiad.*

Goddefiad sy ddull o ymadrodd drwy yr hwn y mae y gofynydd yn caniatau fod yr hyn a ddywedir yn ei erbyn yn wir, a thrwy hyny yn cael gwrandawiad gwell, ac yn ennill ewyllys da y rhoddwr yn fwy. Engraifft nodedig o hyn a geir yn atebiad y wraig o Ganaan i Grist, pan ddywedodd, "Nid cymhwys yw cymeryd bara'r plant a'i daflu i'r cenawon cwn. Hithau a atebodd ac a ddywedodd wrtho, Gwir, O Arglwydd: ac eto y mae y cenawon dan y bwrdd yn bwyta o friwsion y plant," Marc vii. 27, 28.

### 20. *Am Ragflaeniad.*

Rhagflaeniad yw pan achuba y llefarwr y blaen ar ei wrthwynebwr i gymeryd gafael mewn gosodiad a ragwelai ef a ddygid yn ei erbyn; ac o herwydd hyny dwg ef yn mlaen ei hun, ac a'i hesbonia, a thrwy hyny yspeilia y cyfryw o'i saeth; megys, Mat. iii. 9, "Na feddyliwch ddywedyd ynoch eich hunain, Y mae genym Abraham yn dad ini: canys fe ddichon Duw, Ie, o'r meini hyn, gyfodi plant i Abraham."

### 21. *Am Fyrieithiad.*

Byrieithiad sy ddull cryno, cynwysfawr o ymadroddi, yr hyn a fydd pan roir llawer mewn ychydig; megys, "Meddwl dyn Duw a'i terfyn." Y fath yn gyffredin ydynt holl ddiarebion Solomon.

### 22. *Am Ddiweddlef.*

Diweddlef sy ddull ymadrodd bywiog a ffraethlym, yn niwedd unrhyw draethawd, neu adfyfyrdod cyflym ar yr hyn a rag-grybwyllwyd; megys, Rhuf. xi. 33, "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt!"

CAERNARFON, ARGRAFFWYD GAN H. HUMPHREYS.

Rhodd Thomas Owen i'w Gyfaill Cadwaladr Davi[illegible] Ebrill 2il 186[illegible]

YR

# YSGRIFELL GYMREIG

SEF CYFARWYDDYD

## I YSGRIFENU

## CYMRAEG YN RHEOLAIDD;

LLE Y NODIR

### Gwallau Cyffredin Ysgrifenwyr Ieuainc,

MEWN

LLYTHYREG, PRAWEG, RHESYMEG, A RHEITHEG,

GAN HUGH HUGHES, *(Tegai.)*

AIL-ARGRAFFIAD.

ABERDAR:

ARGRAFFWYD GAN J. T. JONES, COMMERCIAL PLACE.

1861.

## RHAGLITH I'R AIL ARGRAFFIAD O'R YSGRIFELL GYMREIG.

---

Gydwladwyr Cymreig,

Wele yr Ail Argraffiad o'r Ysgrifell at eich gwasanaeth, gyda llawer o ddiwygiadau, ac yn helaethach na'r argraffiad cyntaf o tua y bedwaredd ran, heb chwanegiad yn y pris.

Fe ddylasai yr argraffiad hwn fod yn gyhoeddedig er ys rhai blynyddau bellach, o herwydd fod y cynargraffiiad wedi ei lwyr werthu, a'r galwadau yn parhau i ddyfod i fewn.

Nid oes angen am udganiad o flaen yr adgyoeddiad hwn, am fod cymeradwyaeth unfrydol y wasg, a gwerthiad cyflym tair mil o'r llyfryn, yn ddigon o drwydded iddo. Yr un pryd, dylem grybwyll fod rhai cannoedd o wersi pwysig yn yr ail argraffiad hwn nad oeddynt yn y cyntaf.

Pe gwelai rhyw Gymreigydd gwladgarol yn dda gyfansoddi *Geirlyfr Cymreig* ymarferol, o bris chwech cheiniog, i fod yn gydymaith i'r Ysgrifell, wrth law yr efrydydd ieuanc, efe a wasanaethai ei genedl yn dda. Fe ellir crynoi holl eiriau arferedig yr iaith i Eirlyfr o'r pris yna. Cyn y gallai y cyfryw fod yn gydymaith i'r Ysgrifell efe a ddylai fod yn yr un orgraff, sef orgraff Dr. Puw, yn y modd symlaf, fel y gwelir. Dealler yma, fod Dr. Puw ei hun wedi arfer a dyblu y cydseiniaid mewn lluaws o eiriau nad oedd

ei rëol ef ei hun yn gofyn hyny. Y dull byraf a ddewisir yn yr Ysgrifell.

Dymuniad yr awdwr ydyw i'w lafur gael ei wobrwyo yn llesiant ei genedl.

*Aberdar, Calan Mai,* 1861.

O. Y.—Anfonwyd amryw archiadau atom o dro i dro, am "Ramadeg Dwy Geiniog Tegai." Ni chyfansoddodd Tegai erioed Ramadeg o'r pris hwnw—gocheler twyll.

# YR YSGRIFELL GYMREIG.

## DOSBARTH. I.—AR LYTHYREG.

### PENNOD I.

### AR GYFNEWIDIAD Y LLAFARIAID.

Dysgybl.—Pa beth yw Llythyreg?

Athraw.—Llythyreg yw y gelfyddyd o iawn lythyrenu pob gair, heb roddi mwy na llai nag amgen o lythyrenau nag a ddengys eu defnydd gwreiddiol. Dyma reol y Dr. Pughe, ac y mae braidd yr holl enwogion Cymreig yn ei chefnogi. Y mae yn wir i'r reol hon gael ychydig o wrthwynebiad gan rai dynion teilwng, am, meddynt, fod yn angenrheidiol dyblu y cydseiniaid mewn rhai manau, i ddangos sefyllfa yr acen. O berthynas i'r acen, digon yw dyweyd fod nodau ereill priodol i'r swydd hono, a gadael y llythyrenau i wasanaethu yn eu galwedigaeth eu hunain: ac y mae dau reswm arbenig yn erbyn dyblu y cydseiniaid yn lle nodau acenawl. 1. Nid ar gydsain y mae yr acen i fod, ond ar lafariad. 2. Y mae yr acen yn newid ei lle mewn gair cyfansawdd, yn ol natur ei dreigliad; ond nid oes neb yn foddlon i ddylyn y rëol hon gyda y llythyrenau dyblyg, mewn geiriau cyfansawdd; pe felly, byddai geiriau yn ddyblygion anferth i gyd: ond gan nad yw y rhai sydd yn pleidio y fath rëol yn barod i'w dylyn eu hunain, yn ofer y sonir am dani mwy. Y peth blaenaf y sylwwn arno, megys un o anhebgorion iawn lythyraeth, fydd rhai o gyfnewidiadau y llafariad. 1. *a* i *e*—*ca*nu, *ce*nais; nid canais. 2. *a* i *y*—att*a*l, ett*y*l. 3. *a* i *ei*—*a*rth, *ei*rth; nid airth. Y mae *e* yn treiglo 1. *e* i *i*—ma*e*n, me*i*ni; nid maeni. 2. *e* i *u*—gwna*e*th, gwne*u*thym; nid gwnaethym. 3. *e* i *y*—ll*e*m, ll*y*mion; nid llemion. *O* yn newid, yn 1. *o* i *w*—cr*o*en, cr*w*ynwr; nid croenwr. 2. *o* i *y*—g*o*rdd, g*y*rdd. *W* yn newid, yn 1. *w* i *y*—d*w*fr, d*y*froedd;

nid dwfroedd. Y mae llawer o gyfnewidiadau ereill yn perthyn i'r llafariaid, (gwel y "Geiriadur Cymreig" gan J. W. Thomas); ond tybiaf fod hyn yn ddigon i dy gadw di tu allan i beryglon. O barth y llafariaid cyfnewidiol, gwel fod dwy lafariad yn newid, rai gweithiau, yr hyn a elwir lluossain, megys *oe* i *wy*—cr*oe*n, cr*wy*nwr. Sylwa hefyd fod *a*, *e*, ac *o* yn newid bob amser i *y*, ac nid i *u*—att*a*l, ett*y*l; nid ettul. Ll*e*m; ll*y*m; nid llum. G*o*rdd, g*y*rdd; nid gurdd: yr un modd gyda phob gair arall o'r un natur. Sylwer mai yn ol y rëol hon y mae *y* yn terfynu Cymr*y* (cenedl), ond *u* yn Cymr*u* (gwlad).

---

## PENNOD II.

### AM GYFNEWIDIAD Y CYDSEINIAID.

Y PETH nesaf y dylit fod yn hyddysg ynddo ydyw cyfnewidiad y cydseiniaid. O'r rhai hyn y mae naw: ac i'r dyben iddynt fod yn haws eu deall a'u cofio, dosberthir hwy yn dri threian. 1. *c, p, t.* 2. *b. d. g.* 3. *m, ll, rh.* Perthyn i'r dosran blaenaf dri chyfnewid; yr ail, ddau; y trydydd, un; megys isod:—

| | Ysgafn. | Chwyrn. | Meddal. |
|---|---|---|---|
| C.—g, ngh, ch: | coes, dy goes, | fy nghoes, | ei choes. |
| P.—b, mh, ph: | pen, dy, ben, | fy mhen, | ei phen. |
| T.—d, nh, th: | troed, dy droed, | fy nhroed, | ei throed. |
| B.—f, m: | bara, dy fara, | fy mara: | |
| D.—dd, n: | dwrn, dy ddwrn, | fy nwrn. | |
| G.—w, ng: | gwisg, dy wisg, | fy ngwisg. | |
| M.—f: | mam, dy fam. | | |
| Ll.—l: | llaw dy law. | | |
| Rh.—r; | rhan, dy ran. | | |

Sylwa yn awr mai i *ngh*, nid *ng*, y mae *c* yn newid yn y sain chwern; *p* i *mh*, nid *m*; *t* i *nh*, nid *n*. Sylwa hefyd mai i *m* nid *mh*, y mae *b* yn newid; *d* yn newid i *n*, nid *nh*; *g* yn newid i *ng*, nid *ngh*.

Nid yw *ll* yn newid i *l* yn rheolaidd yn mhob man. Yn *ll*wyr, yn *ll*on, yn well na yn *l*wyr, yn *l*on. Y mae geiriau y gellir rhoddi yr un a fyner ai *l* ai *ll* ynddynt; megys, gor*l*if, gor*ll*if; gor*l*awn. gor*ll*awn; gor*l*oni, gor*ll*oni.

Cyfrifir *rh* yn un llythyren, am nad oes yr un gair Cym-

raeg gwreiddiol yn dechreu gydag *r* heb *h* yn gysylltiedig a hi.

Sylwer fod *g* yn colli yn y sain ysgafn, a'r llythyren agosaf ati, pa un bynag ai llafariad ai cydsain, yn cadw ei lle. Nid oes unrhyw berygl i gamysgrifenu, o herwydd hyny, oddieithr mewn geiriau cyfansawdd, megys anoleu, nid a*nn*oleu; anolosg, nid a*nn*olosg; anorfod, nid a*nn*orfod; anorphen, nid a*nn*orphen; anorphwys, &c., canys nid newid i *n* y mae *g*, fel y sylwwyd—ond ffoi ymaith; er hyny y mae *ng* yn cadw ei lle yn y sain chwern, megys yn *ng*oleu.

Cofia di fod pob gair sydd yn dechreu gyda y naw cydsain uchod, yn newid yr un modd a'r rhai sydd yn y daflen; deall hefyd fod amryw eiriau ereill heblaw *dy*, *fy*, ac *ei* yn eu newid: ond y mae hyn yn ddigon i ti ddysgu y rëol, gan mai yr un modd y mae y lleill.

Y mae o bwys mawr i ti ddysgu y rhai hyn, os amgen, byddi fel rhyw haner Sais, yn dyweyd dy fod am gychwyn o Caernarfon i Bangor trwy Conwy, at Treffynon, mor bell a Caerlleon. Pan y dylasit ddyweyd dy fod yn cychwyn o Gaernarfon i Fangor, trwy Gonwy at Dreffynon, mor bell a Chaerlleon. Y mae y Saison yn methu dirnad y rëol hon, a dyma y rhwystr mwyaf iddynt ddysgu ein iaith ni. Y maent yn gadael y naw cydsain uchod heb eu newid, ac ni fyddi dithau fawr well heb ddysgu y cyfnewidiadau hyn. Dyben y rëol hon ydyw pereiddio y sain; am hyny gelli gymeryd dy ryddid i'w thori mewn rhai amgylchiadau, os bydd y sain mor naturiol. Y mae hyn yn ymddibynu ar dy chwaeth a dy synwyr di. Y mae yr arddodiad *i*, yn ol y rëol, yn newid i'r sain ysgafn; *i fi*, ac nid *i mi*, ddylid ddyweyd neu ysgrifenu; megys, dyro y llyfr i fi. Y mae rhai o'r Deuheuwyr yn arfer fel hyn: ond am fod *i mi* mor naturiol, gwell cadw y gwreiddyn, gan ei ystyried megys eithriad; goreu po lleiaf newidir ar enwau priodol persodol. Y rëol yw, Dos at Foses, ac at Ruffydd, ac heibio i Ddafydd, a gofyn am y llyfrau sydd gan Domas, a chan Byrs William: fel yna y mae y rëol, ac fel yna y mae yr argraffiad o'r Bibl oedd tan olygiad Mr. Richard Morris: ond y mae y sain mor lefn wrth adael y rhai uchod yn ddigyfnewid, megys Dos at Moses, ac at Gruffydd, ac heibio i Dafydd, a gofyn am y llyfrau sy gan Tomas, a chan Pyrs William; fel yna y mae yr argrafiad olaf o'r Bibl. Y mae hefyd gyfnewidiad yn perthyn i *d* ac *g*; *d* yn newid i *t*—bwy*d*, bwy*ta*; *g* yn newid i *c*—drw*g*, dry*c*ach, &c.

## PENNOD III.

## AM Y TOLNODAU.

Bellach, ni a gymerwn bob llythyren wrthi ei hun, gan ddechreu gyda yr *a*; ac fel y byddo y geiriau sydd yn dechreu ag *a* fod yn rhwyddach i'w cael, ni a'u nodwn yn ol trefn yr egwyddor; ond yn gyntaf, gweddus fydd rhybyddio yr efrydydd ieuanc i sylwi yn fanwl ar y geiriau mwyaf llygredig fydd ar arfer yn y dywysogaeth y byddo yn byw ynddi; canys peth naturiol iawn yw i ddyn ysgrifenu fel y bydd wedi arfer siarad. Mewn rhai ardaloedd defnyddir *a* yn rhy fynych, megys ab*a*rth, yn lle ab*e*rth; ab*a*r yn lle ab*e*r; llyfr*a*, yn lle llyfr*au*, &c. Mewn ardaloedd ereill, camddefnyddir *e*; ceffyl*e*, yn lle ceffyl*au*; hwd*e*, yn lle hwd*a*; yn*e*, yn lle yn*a*, &c. Ereill, *is* yn derfyniad berf, yn lle *ais*; gwel*is*, yn lle gwel*ais*: cysg*is* yn lle cysg*ais*. Gwasanaethed hyn fel engraifft, a bydded i'r ysgrifenydd ieuanc chwilio yn fanylach i wall cyffredin ei fro ei hun. Dylid bod yn ofalus hefyd gyda geiriau y byddo y llythyren olaf o'r naill yn flaenaf o'r llall; y mae hyn yn dygwydd, yn fynych, gyda pharwyddiaid ac arddodiaid rhagenwol:—wyf fi, ydych chwi —nid wy *fi*, nac wyf *i*—nid yd*y* chwi, nac ydych *wi*—ataf fi, nid at*a* fi, nid ataf *i*—atat ti—nid at*a* ti, nid atat *i*— atoch chwi, nid at*o* chwi, nid atoch *i*, nid atoch *chi*. Sylwer ar bob gair o'r un natur.

Dysgybl.—Fy Athraw, yr ydych wedi fy amgofio i gan fyned i addysgu ereill.

Athraw.—Yn awr, sylwa pa fodd i dolnodi geiriau unsill, yn dechreu âg *a*; ac i'r dyben o gyraedd dau nod gydag un saeth, rhoddwn yr hyn a ddylasai fod tan y pen cystrawen, sef, engraifft o briodol le y cyfryw eiriau, ac i ba ran ymadrodd y perthynent.

*a'ch*, *â'ch*.—Lluosog.

A'ch—*Cys.** Eich pen *a'ch* traed.
A'ch—*Ardd.* Gweled *â'ch* llygaid.

**Cys.* am cysylltiad. *Ardd.* am arddodiad. *B.* am berf. *An.* am ansoddair. *Ban.* am bannod. *R.* am rhagenw. *Gor.* am gorair. *Cys. r.* cysylltiad rhagenwol. *Ardd. r.* arddodiad rhagenwol, &c.

*ai a'i â'i.*—Unig?

Ai—*Gor.* *Ai* ti yw y gwr.
A'i—*Cys.* Ei ych *a'i* asyn.
A'i—*Ardd. r.* Daliodd *â'i* law.
Lluosog.—Eu hychain *a'u* hasynod.
Daliasant *â'u* dwylaw.

*am, a'm, â'm.*—Unig.

Am—*Ardd.* Dillad *am* danaf.
A'm—*Cys. r.* Fy llaw *a'm* llygad.
A'm—*Ardd. r.* Daliaf *â'm* llaw.
Lluosog.—Ein dwylaw *a'n* llygaid.
Daliasom *â'n* dwylaw.

*ar, âr, a'r, à'r, â'r.*

Ar—*Ardd.* Dyro dy droed *ar* lawr.
Ar—*Syl.* Mae y brain ar yr *ár.*
A'r—*Cys. ban.* Yr ych *a'r* asyn.
A'r—*Ardd. ban.* Tori *á'r* erfyn.
A'r—*B. ban.* Pa ham nad *â'r* dyn allan.

Neu, fel hyn, er rhoddi y cyfan mewn un frawddeg. Pa ham a'r brain ar yr âr, nad â'r gwr i'w saethu â'r gwn. Pa ham, *gor.*; a'r, *cys. ban.*; brain, *enw*; ar, *ardd.*; yr, *ban.*; âr, *enw*; nad, *gor.*; â'r, *b. ban.*; gwr, *enw*; i'w, *ardd.*; saethu, *b.*; â'r, *ardd. ban.*; gwn, *enw.*

*a'th, â'th.*

A'th—*Cys. r.* Dy droed *a'th* law.
*A'th—*Ardd. r.* Taraw *â'th* ddwrn.

---

## PENNOD IV.

### AM Y DIDOLNOD, CYPLYSNOD, &c.

Didolnod (¨) Ni ddylid rhoddi didolnod mewn un man ond lle y bydd dwy lafariad yn nesaf at eu gilydd, mewn unrhyw air, a'r gair hwnw yn gwahanu yn sillau rhwng y ddwy.

*Sylwa, na ddylid rhoddi nod acenawl uwchben prif lafariad, nac uwch ben cydsain o un math.

Ni ddylai didolnod fod yn nage, am ei fod yn gwahanu rhwng cydsain a llafariad; ond dylai fod yn dileër, am mai rhwng y ddwy *e-e* y gwahanir y gair; felly am bob llafariad arall.

Cysylltnod (-) A ddylai fod pan fyddo dau enw yn nghyd, megys, croes-brenau; neu, gyda berf, croes-hoelio; hefyd, ystlys-bost, am bost-ystlysawl; ystlys post, yw ochr post; ystlys-bost, yw post wrth ochr post: llaeth-oen, nid llaeth oen. Dylid rhoddi cysyllt-nod hefyd mewn geiriau, megys, bastardd-ddyn, i'r dyben i wahanu y ddwy *dd-dd*; fe allai y dylid rhoddi yn bastardd iaid, rhag iddo gael ei gam ddarllen yn bastard-diaid, fel y gwneir yn fynych.

Gwallnod (^). Gwallnod fydd pan adewir gair yn annghof wrth ysgrifenu, i ddangos lle y dylai fod.

sy
Gwallnod ^ fel hyn.

Cyplysnod (⏞) Y nod hwn a roddir i arwyddo fod gair i'w ddarllen gyda phob llinell a fyddo oddi fewn iddo, fel hyn:—

| | | |
|---|---|---|
| Y mae yn yr Hen Destament a'r Newydd, ............ | o | Lyfrau, .......... 66 |
| | | Bennodau, .... 1,189 |
| | | Adnodau, .... 31,137 |

Arferir y nod hwn hefyd mewn barddoniaeth, fel hyn,—

Gan laddiadau,
Terfysgiadau, } ac ergydion;
Gwyw rwygiadau,

Mae profiadau
Fod rhodiadau } yn alltudion.
Ein holl dadau

Ond byddai yn llawer haws ei ddarllen, i ddyn annghynefin â barddoniaeth, fel hyn,—

Gan laddiadau, terfysgiadau,
Gwyw rwygiadau, ac ergydion;
Mae profiadau fod rhodiadau
Ein holl dadau yn alltudion.

Dichon fod hyn yn ddigon o barth y tolnodau, &c. Gwneir sylw byr tan y pen cystrawen ar yr attalnodau.

# PENNOD V.

## AM Y PRIF LYTHYRENAU.

1. Dylid rhoddi prif lythyren yn nechreu pob llyfr, pennod, adnod, neu ddosbarth. 2. Yn nechreu pob llinell mewn barddoniaeth. 3. Yn nechreu enwau priodol, ac ansoddeiriau, yn tarddu o enwau priodol. Enwau yw Cymraeg, Groeg; ansoddeiriau, Cymreig, Groegaidd. 4. Yn nechreu yr urddenwau dwyfol, megys, Tad, Mab, Ysbryd Glan. Ner, Naf, Iôr, Ion, Arglwydd, &c. Ni ddylai prif lythyren fod yn duwiau ac arglwyddi, nac un enwad arall a roddir i ddynion. yn y Beibl. 5. Yn nechreu pob dyfyniad o waith awdwr arall. 6. Dylai pob llythyren a fyddo yn gyfryngiad, fod yn brif, megys, *O! Ha! Ah!* 7. Dylai prif lythyren fod yn nechreu pob gair hynod a phwysig. Ni ddylai prif lythyren fod mewn un man ond yn nechreu gair, oddieithr iddo fod yn brif lythyrenau i gyd, megys, "YDWYF YR HWN YDWYF." Os gwneir enwau priodol yn ddau air, rhodder dwy brif lythyren, megys, Bryn Ymenyn, Blaen Gwawr, Cae'r Berllan, &c., &c.; ond os ysgrifenir y cyfryw enwau yn un gair, y gyntaf yn unig sydd i fod yn brif lythyren, megys, Brynymenyn, Blaengwawr, Cae'rberllan.

# PENNOD VI.

## AM EIRYDDIAETH.

*Taflen o eiriau priodol yn lle rhai anmhriodol.*

A dyma, nid a *th*yma*
A dyna, nid a *th*yna
Ac wedi, nid a *ch*wedi
Amgylchi, nid amgylch*yni*

Amgyffredion, nid amgyffred*iadau*
Amryw, nid amr*ai* †
Anmharch, nid a*mm*harch ‡

* Dyma fai y mae llawer yn euog o hono.

† Y mae i'r gair amryw, well treigliad na'r gair amrai, megys, amrywiaeth, amrywiol, amrywiawg; ni weddai rhoddi amraiaeth, amraiol, amraiawg, &c.

‡ Hen arfer lygredig yw rhoddi *am* o flaen gair yn dechreu âg *m*; a rhoddi *ang* o flaen gair yn dechreu âg *ng*: *an* a ddylai fod yn negedydd bob amser.

Annglod, nid *angng*lod
Bastardd, nid bartar*d*
Barug, nid bar*i*g
Benyw, nid ben*i*w
Bloedd, nid blo*u*dd
Blwyddi, nid *blynyddoedd*
Bod, nid bod*oli*
Braich, nid bra*u*ch
Canys, nid can*us*
Camfa, nid cam*dd*a
Cyfhwrdd, nid cy*ff*wrdd
Cyfelyb, nid cy*ff*elyb
Cymreig, nid cymreig*aidd*
Cynfon, nid cyn*ff*on
Cynorthwyydd, nid cynorthw*y*dd
Cyneu, nid cyn*au*
Cynhwrf, nid cy*n*wrf
Cynysgaethu, nid cynysgae*dd*u
Cynuta, nid cyn*y*ta
Cyllid, nid cyll*y*d, *treth*
Corffol nid corff*orol*
Cosbau, nid cosb*edigaethau*
Corff, nid Cor*ph*
Cadwwyd, nid cad*w*yd
Dafad, nid daf*o*d
Dedwydd, nid dedwydd*ol*
Dilys, nid dil*us*
Digyffelyb, nid *anhefelychadwy* *
Dieflig, nid dieflig*aidd*
Dirgelion, nid dirgel*edigaethau*.
Digllawn, nid digll*on*
Deddfryd, nid de*d*fryd
Eb, nid eb*e*
Ebai, nid eb*r*ai
Eisiau, nid *eisio*, *cael*
Erlidigaeth, nid erl*e*digaeth
Goleuni, nid gol*ei*ni
Gwlybon, nid gwlyb*yron*
Gwybodau, nid gwybod*aethau*
Gweirglodd, nid gw*er*glodd
Gwobrau, nid gwobr*wyon*
Gwrandawwr, nid gwranda*wr*
Hanes, nid hanes*yddiaeth*
Hoff, nid hoff*usol*, na hoff*usaidd*
Hoffusion, nid hoffus*olion*
Ho! neu O! nid *oh*! †
Huliaw, nid h*i*liaw
Iach, nid iach*us*, nac iach*usol*
Iechyd, nid *iachusrwydd*
Ieuanc, nid ieua*ng*c
Iraidd, nid *ireiddiawl*
Llaes, nid lla*u*s
Llaeth, nid lla*u*th
Llariaidd, nid llar*ieiddiawl*
Llawenu, nid llawen*ychu*

* Y mae yn rhyfedd fod neb yn arfer y fath glogyrnair amrosgo ag yw anhefelychadwy, tra y mae mor hawdd ei dalfyru, megys, dihefelydd, neu anhefelydd: y gwreiddyn yw *mal*.
Fe ddichon amgylchiadau gyfiawnhau arfer y geiriau hirion uchod.

† Ni ellir seinio *h* ar ol llafariad, ac ni ddylid ei rhoddi ar ol llafariad, yn yr un gair Cymreig, oddieithr yn nghyfansoddiad y geiriau sydd yn cyfnewid o *c*, *p*, neu *t*, megys, eng*h*raifft. Rhoddir *h* hefyd yn arwydd o'r sain chwern, ar ol *ei*, pan fyddo y gwrthddrych yn fenywaidd, ac ar ol *ein* ac *eu*; hyny yw, rhoddi *h* at wreiddyn unrhyw air a ddechreuir â llafariad ar ol *ei*, *ein*, ac *eu*; oen, ei *h*oen; ein *h*oen ni, eu *h*oen hwy. Sylwer, nid yw *h* yn arwydd y sain chwern ar ol *ar*; am hyny, beius yw un ar *h*ugain, dau ar *h*ugain, &c.; fel hyn y dylai fod, un ar ugain, dau ar ugain, &c. Beius yw ei m*h*am, ei m*h*ab, &c.

Llestri pridd, nid llestri pridd*ion*
Llonydd, nid llonydd*awl*
Llygod, nid llygo*e*d
Manwl, nid manw*y*l
Maen, nid ma*u*n
Maes, nid ma*u*s
Olewwydd, nid olew*y*dd
Peraidd, nid per*eiddiol*
Perffeithio, nid perffei*dd*io
Aifft, nid Ai*ph*t *
Proffwyd, nid pro*ph*wyd
Rhesymeg, nid rhesym*ydd-iaeth*
Rhôs, nid rhos*ynau*
Sarug, nid sar*i*g
Sant nid sa*ngct*
Sug, nid s*i*g
Sugn, nid s*i*gn
Taenu, nid ta*n*u
Teyrn, nid te*u*rn, brenin
Triugain, nid tr*i*gain
Udgorn, nid u*t*gorn
Udganu, nid u*t*ganu
Ugain, nid *i*gain
Ust, nid *i*st
Ymboeni, nid *hunan*-ymboeni
Ymguddiaw, nid ymg*i*ddiaw
Ymholi, nid *hunan*-ymholi
Ymroddi, nid *hunan*-ymroddi
Ymwadiad,nid *hunan*-ymwadiad
Ysgrifau, nid ysgrif*eniadau*
Ystranc, nid ystra*ng*c

* *Ph*, Llythyren ddienw!!! Y mae yn bryd bellach rhoddi rhyw enw arni. Nid oes genym yr un enghraifft o'r fath ddylni yn mysg y barbariaid penaf. Yn mha le mae teulu sydd yn gadael rhai o'u plant yn ddienw? ie, onid oes gan berchenogion cwn enwau arnynt oll? ond dyma ni, cenedl yr eisteddfodau, coleddwyr y Gymraeg, tabyrddwyr clodydd y cymdeithasau cymroaidd, y rhai y mae ein hiaith yn bob peth, yn y byd oedd, ac yn y byd sydd, a'r byd a ddaw; ond eto heb goleddu digon arni i enwi y llythyrenau oll, Oni fyddai yn well enwi *ph* yn *phi* nid *eph*: *ef*, *eff*, *pi*, *phi*. Gan mai llawforwyn i *p* yw *ph*, dylai gael ei henwi yn unsain a *p*. Y mae athrawon yr ysgol Sabbothol yn gwybod yr angenrheidrwydd am enw ar y llythyren hon. Peth anhawdd iawn yw newid arferiad; ond os bydd yr athrawon ryw bryd yn cytuno ar y diwygiad hwn, sylwer na fydd i hyn beri un gwahaniaeth, ond yn yr enw yn unig; yr un modd y dylid sillebu a darllen, pa un bynag o'r llafariad fydd yn cyfansoddi ei henw, a pha un bynag ai yn ol ai yn mlaen; *eff*, *e* yn mlaen; *phi*, *i* yn ol; er hyny yr un modd y seinir *ffon* a *phon*; nid *effon*, ac nid *phion*; canys nid yr un peth yw *sain* ac *adsain* y cydseiniaid; neu yn ol iaith y gramadegwyr, *enw* a *gallu*: y mae i bob cydsain lun, trefn, enw, a gallu. Fe wyr pawb am lun, trefn, ac enw, ond ychydig a all wahaniaethu rhwng *enw* a *gallu*. Y mae mwy o allu gan y naill na'r llall o'r llafariaid. Er engraff, y mae mwy o allu gan *a*, nag sy gan *i* ac *w*, yn iaith, gwarth, &c. Ni pherthyn adsain i'r llafariaid, canys yr un modd y seinir hwy mewn cyfansoddiad ac yn y wyddor; ond pe darllenem y cydseiniaid yr un modd, byddai y gair *byd* yn *biydi*, canys *bi*, *y*, *di*, yw y

*Y geiriau mwyaf cyffredin y dylid dyblu n ynddynt.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| Annymunol | Annrhefn | Annyddan | Dannodd |
| Annatodol | Annghariadus | Annghymedrol-der | Gwahannod |
| Anneallus | Annibynol | | Heiddiannol |
| Annechreuol | Anniffoddol | Annymunol | Llwyddiannus |
| Annedwydd | Annileadwy | Annysgedig | Meddiannu |
| Annefnyddiol | Annilys | Bannod | Moliannu |
| Annewisol | Anniwylledig | Breinniol* | Pennod |
| Annhebyg | Annoeth | Cannoedd | Porthiannus |
| Annhegwch | Annaf | Cywreinnrwydd | Peiriannau |
| Annheilwng | Annuwiol | Chwannog | Tyciannus |
| Annhirion | Annyben | Dannedd | |

---

# PENNOD VII.

## TAFLEN O'R GEIRIAU UNSILL MWYAF CYFFREDIN AG *U* YNDDYNT.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Au | Dur | Lleu, *darllen* | Pur |
| Aur | Duw | Llu | Pug |
| Bu | Eu | Lluch, *llucheden* | Pul, *helbul* |
| Bru, *croth* | Ffau | Lludw | Pun, *cyfartal* |
| Brau | Ffug | Llau | Rhu, *rhuad* |
| Brud, *hanes* | Ffull, *rhedig* | Llud | Rhuch, *rhuchion* |
| Budd, *elw* | Ffurf | Llud, *trefnus* | |
| Bun, *benyw* | Ffust | Llug, *darn* | Rhudd, *coch* |
| Buwch | Ffun, *anadl* | Llum | Rhull, *rhedeg* |
| Cau, *ceuedd* | Gau | Llun, *delw* | Rhus, *rhuso* |
| Cau, *cloddio* | Gwau | Llus, *grawn* | Su, *si bei babi* |
| Caul, *colydd* | Glud | Llusg | Sud |

llythyrenau: a thebyg i hynyna fyddai pob gair arall. Nid yw *ph* i fod yn un man ond pan y bydd *p* yn newid iddi; megys, *pen*, a *phen*; *pysg* ei *physg*; *porth*, chwe' *phorth*; hefyd *gorphen*, o gor a *pen*; *gorphwys*, o gor a *pwys*, &c.

* Y mae CALEDFRYN ac ereill yn ysgrifenu y geiriau hyn, sef, breinniol, cannoedd, &c., heb ddyblu yr *n*. Os dewisir dim ond un *n* yn y naill air, cymerer yr un reol at yr oll, er mwyn cysondeb.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Cna | Grud, *careg arw* | Mau, *eiddof fi* | Sudd } *nodd* |
| Cnau | Gruff, *grudd* | Mud, *dodrefn* | Sug } |
| Cnu | Grug, *yn tyfu* | Mud, *heb siarad* | Sugn, *i blentyn* |
| Clust | Gwull, *blodau* | Mun, *ffurfiad* | Sul, *dydd Sul* |
| Clud, *a gludir* | Hau | Mur, *pared* | Sum, *swm* |
| Clun | Haul | Murdd, *sylfaen* | Sur, *surion* |
| Crud, *i siglaw* | Hud, *twyll* | Mus } *tafliad* | Sut, *pa fodd* |
| Creu | Hudd, *huddaw* | Musg } | Tau, *y Duw tau* |
| Cu | Hug, *hugan* | Neu | Tu, *ochr* |
| Cul | Hul, *hulyn* | Neud, | Tuch, *tuchan* |
| Cur | Hun, *cwsg* | Nudd, *a fag* | Tud, *alltud* |
| Dau | Hun, *fy hun* | Pau, *lle* | Turn, *i droi* |
| Drud; *am bris* | Hur, *hurio* | Plu | Tuth, *tuthio* |
| Dul, *tarawiad* | Hurt, *dyn hurt* | Prudd | Uch, *uchel* |
| Dull | Hust, *histyngwyr* | Pud, *a lithia* | Udd, *arglwydd* |
| Du | | Pump | Un |

## PENNOD VIII.

### GEIRIAU UNSILL AG Y YNDDYNT.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Blwydd | Chwydd | Chwyd, *chwydu* | Gŵyr, *gwybod* |
| Blydd, *tyner* | Chwyf, *chwyfio* | Cryn, *ysgydwad* | Gwyr, *dynion* |
| Brwyn, *hesg* | Chwyl | Cryn, *cryn lawer* | Gwyr, *osgo* |
| Brwyn, *gofid* | Chwyn | Crys | Llyn, *dwr* |
| Bry, fry, *i fyny* | Chwyrn | Cwyd | Llyn, *hyn* |
| Brych, *brychion* | Chwys | Cwyd, *gogwydd* | Llys, *llysu* |
| Bryd, *meddwl* | Chwyth | Cwymp | Llys, *brenindy* |
| Bryn, *mynydd* | Cryd, *y crynu* | Cwyn | Mwy |
| Brys } *diaros* | Crydd, *esgidiwr* | Cwyr | Mwyll |
| Brysg } | Cryf | Cwys | Mwyn |
| Bwyd | Cyd *tra* | Cy, *cyf* | Mwyth, *llyfndra* |
| Byd, *bydoedd* | Cyff | Cyd, *cyduno* | |
| Bych, *bydd* | Cylch | Cyd, *cyd a bys* | Rhwysg |
| Byr | Cyll, *o collen* | Drych | Rhy, *rhy fawr* |
| Bys, *bysedd* | Cyll, *o colli* | Dryll | Rhych |
| Byw | Cym, *cyd* | Gwyll | Rhyd |
| Clwyd, *adargell* | Cyn | Gwyllt | Rhydd, *rhyddid* |
| Clwyf | Cynt | Gwymp | Rhydd, *rhodder* |
| Clyd, *clydwch* | Cyrch | Gwyn, *nwyd* | Rhyg, *i wneud bara* |
| Clyw | Cys, *cyd* | Gwyn, *lliw* | |
| Crych, *crychlyd* | Cyw | Gwynt | Rhyn, *anwyd* |

Dwy
Dwyn
Dwys
Dy, *dy eiddo*
Dyd, *dodi*
Dydd
Dyg, nid *dug*
Dysg
Ffrwyn
Ffrwyth
Ffydd
Ffyll
Ffyn, *o ffon*
Ffyst, *cyflym*
Gryg, *gerwindeb*
Grym
Gwrysg
Gwy, *dwr*
Gwych
Gwyd
Gwydd, *gwyddfod*
Gwydd, *edn*
Gwydd, *coed*
Gwydd, *gwybodus*
Gŵyl, *dydd gwyl*
Gwyl, *gwylaidd*

Gwyrdd
Gwyrf, *dihallt*
Gwyrth
Gwys, *rhybydd*
Gwysg, *gwysg ei gefn*
Gwyth
Gwyw
Gyd
Gyr
Hwy, *hirach*
Hwy, *hwynt*
Hwyl
Hwyr
Hy
Hyd
Hydd, *carw*
Hyn, *hynach*
Hyn, *y peth hyn*
Hynt, *taith*
Hyrdd
Hys
Hysb
Llwy
Llwyd
Llwydd
Llwyn
Llwyth
Llyfr
Llym

Myg, *hardd*
Myn, *mynu*
Myn, *gafr*
Myn, *llw*
Myr, *moroedd*
Myr, *ymyraeth*
Myrdd, *rhif*
Mysg, *yn mysg*
Nwyd,
Nwydd
Nwyf
Nych, *nychu*
Nyth
Plwyf
Pryd, *o fwyd*
Pryd, *amser*
Pwy
Pwyll
Pwynt, *point*
Pwys
Pwyth
Pyd, *enbyd*
Pys, *grawn*
Pysg
Rhwyd
Rhwydd
Rhwyf
Rhwyg
Rhwyll
Rhwym

Rhys, *rhysedd*
Swydd
Swyn
Sy
Sych
Sydd, *sy*
Syl, *sylfaen*
Syn
Syr, *sir*
Syr, *ser*
Syth
Syrth
Syw, *hardd*
Trwy
Trwydd
Trwyn
Twyll
Twym
Twyn
Ty
Tyb
Tymp
Tyn
Tyrch, *o torch*
Tyst
Ych
Yd,
Yn
Ys
Yw

Y mae geiriau unsill ereill yn cynwys *u* ac *y*, ond gadawwyd hwy allan o herwydd eu dyeithrwch.

Sylwer, nad oes yr un cyfnewidiad yn perthyn i *u* nac *y*, oddieithr p*u*mp, p*y*mtheg; ond y mae yn amlwg mai llygredd yw hyn o pum'ddeg. Y mae amryw yn newid ll*u*n,—eul*y*n eul*y*nod. Y mae y gwall yma mewn rhai argraffiadau o'r Beibl; ond yn y lleill y mae yn gywir; sef, eil*u*n, eil*u*nod. Mynych, hefyd, y newidir d*u*g i d*u*g; ond i *y* y mae *u* yn newid bob amser: am hyny, *dyg, dygai, dygodd, &c.*, a ddylai fod. Sylwer, hefyd, mai *y* sydd ar ol *w*, (oddieithr yn y gair gw*u*ll) *wy, llwy, mwy, trwy, hwy, clwyf, rhwyf, nwyf, &c.*

## PENNOD IX.

### TAFLEN O EIRIAU YN DECHREU A'R BLAEN-DDODIAID *DI* A *DY*.

*Di* a *Dis*.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Dibynu | diffeithwch | diledryw | diorfod |
| dichell | diffwys | dilwrf | dirdynu |
| dichlyn | diffyg | dilys | dison |
| didori | diffyn, *amddi-ffyn* | dilyth | disperod |
| diduedd | | dillad | distadl |
| diddig | digrifwch | dillyn | disymmwth |
| diddos | digywilydd | dinystr | diwair |
| diddyfnu | dihalog | diofryd | diwedd |
| diddyfnder | diheuraw | diogyn | diwrnod |
| diechrys | dihenwyd | diolch | diwydrwydd |
| difenwi | dihoced | diodydd | diwylliad |
| difraw | diledrith | dielwch | diystryw |

*Dy* a *dys*.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Dyben | dyfetha | dylyn, *o glyn* | dysdylliad |
| dyblyg | dyfyniad | dyoddef | dysgwyl |
| dybryd | dyfysgiad | dyiolwch | dysgywen |
| dydoli | dygwyddiad | dyrwyn | dysbaddu |
| dyddan | dygymod | dyrysu | dyspwyll |
| dyddordeb | dyheuad | dysclaer | dystaw |
| dyeithr, *alltud* | dyhuddiant | dysgybl | dyystryw |
| dyferu | dynoethi | dysgyrchiad | dyweddi |

Gellir newid ystyr amryw o'r geiriau wrth newid y blaen-ddodiaid; megys, d*y*benu, penu; *di*benu, tori pen: ond rhoddwyd hwy yma yn y dull mwyaf cyffredin: defnyddied y darllenydd ei synwyr.

---

## PENNOD X.

### AR Y TERFYNIADAU CYFELYB I'W GILYDD.

1. *Aeth ac aith.*

*Aeth*, ac nid *auth*, sydd yn terfynu enwau, megys, tal*aeth*, dysgeidi*aeth*, iaithyddi*aeth*, athrawi*aeth*, gwybod*aeth*, gwas-

an*aeth*, &c. Unsill, tr*aeth*, chw*aeth*, ll*aeth*, s*aeth*, m*aeth*. Berfau, unsill, *aeth*, gwn*aeth*. Ansoddeiriau, c*aeth*, ffr*aeth*, gw*aeth*, &c.

*Aith*, yn terfynu rhai enwau, megys, ar*aith*, tal*aith*, (am y talcen); hefyd, geiriau a gyfansoddir gydag *aith*, br*aith*, i*aith*, gr*aith*, chw*aith*, ffr*aith*, gw*aith*, ll*aith*, m*aith*, p*aith*, rh*aith*, s*aith*, t*aith*. Ansoddeiriau, diff*aith*, hirf*aith*, &c.

2. *Ad*, *iad*, ac *ed*, *ied*.

*Ad*, unsill, br*ad*, b*ad*, c*ad*, gw*ad*, h*ad*, ll*ad*, m*ad*. Sylwer ar yr unsillolion hyn wrth gyfansoddi, megys, can*iad*, car*iad*, ymwel*iad*, rhed*iad*, llwy*ad*, cyfansodd*iad*, yn*ad*, &c., &c.

*Ed*, unsill, c*ed*, cr*ed*, dl*ed*, ll*ed*; yn gyfansawdd, dig*ed*, digr*ed*, &c. Hefyd yn terfynu berfau, modd gorchymynol, megys, can*ed*, rhed*ed*, gweithi*ed*, ymgrym*ed*, ymffrost*ied*, ymdrech*ed*, &c., &c.

3. *Ad* ac *aid*.

*Ad*, unig, llyg*ad*, henur*iad*, t*ad*, c*ad*, rh*ad*, n*ad*, gwl*ad*, m*ad*, &c.

*Aid*, lluosog, llyg*aid*, henuri*aid*. Unsill, h*aid*, ll*aid*, n*aid*, p*aid*, rh*aid*, g*aid*, t*aid*, &c.

4. *Al* ac *El*.

*Al*, unsill, d*al*, gw*al*, m*al*, chw*âl*, g*âl*, gw*âl*, h*âl* i*al*, m*al*, p*al*, s*al*, t*al*. Lluossill, ur*ial*, gwam*al*, haf*al*, grisi*al*, &c.

*El*, unsill, d*el*, dr*el*, ff*el*, h*el*, c*êl*, gw*êl* m*êl*. Ansoddeiriau, uch*el*, is*el*, diog*el*, &c. Enwau, rhyf*el*, cwr*el*, &c. Berfau gorchymynol, dychw*el*, ardd*el*, &c.

5. *Ar* ac *er*.

*Ar*, unsill, *ar*, g*ar*, gw*ar*, *âr*, b*ar*, c*ar*, gw*ar*, p*ar*, i*ar*. *Ar* sydd yn terfynu llaf*ar*, tryd*ar*, llach*ar*, lleu*ar*, gal*ar*, &c.

*Er*, unsill, *er*, b*er*, ff*er*, g*er*, h*er*, ll*er*, b*êr*, c*êr*, cl*êr*, ff*êr*, gw*êr*, d*êr*, s*êr*, t*êr*. Enwau, lluossill, hyd*er*, balchd*er*, llawnd*er*, uddfwynd*er*, isd*er*, uchd*er*, &c.

6. *As* ac *es*.

*As*, unsill, cr*as*, gl*as*, gr*as*, gw*as*, i*as*, ll*as*, tr*as*. *As* yn terfynu teyrn*as*, din*as*, pal*as*, &c.

*Es*, unsill, gwr*es*, ll*es*, m*es*, n*es*, pr*es*, rh*es*, tr*es*. *Es* yn terfynu enwau benywaidd, brenin*es*, lod*es*, gweinydd*es*, rhifydd*es*, &c.

### 7. *Au, ai,** ac *eu*†

*Au*, unsill, *au*, br*au*, c*au*, cl*au*, cr*au*, d*au*, ff*au*, gw*au*, h*au*, i*au*, m*au*, t*au*. *Au* yn terfynu enwau, megys, llys*au*, arf*au*, llwy*au*, cern*au*, &c.

*Ai*, unsill, *ai*, b*ai*, cl*ai*, cr*ai*, chw*ai*, h*ai*, ll*ai*, m*ai*, rh*ai*, tr*ai*. *Ai* yn terfynu berfau, megys, gweithi*ai*, rhodd*ai*, rhed*ai*, cysg*ai*, can*ai*, &c.

*Eu* yn terfynu ansoddeiriau, megys, gor*eu*, gol*eu*, gwin*eu*, ten*eu*, &c.

### 8. *An* ac *en*.

*An*, unsill, *an*, b*an*, c*an*, gl*an*, gw*an*, ll*an*, m*an*, rh*an*, t*an*, b*ân*, c*ân*, gl*ân*, gw*ân*, m*ân*, t*ân*, &c. *An* yn terfynu enwau, megys ari*an*, ani*an*, dyn*an*, &c. Ansoddeiriau, seiri*an*, eiri*an*, &c.; goreiriau, all*an*, weithi*an*, &c.

*En*, unsill c*en*, gw*en*, ll*en*, m*en*, n*en*, p*en*, pr*en*, s*en*, gw*ên*, h*ên*, ll*ên*. *En* yn terfynu enwau benywaidd, megys gwlan*en*, coed*en*, coll*en*, helyg*en*, ffawydd*en*, brwyn*en*, &c.

### 9. *Ant* ac *ent*.

*Ant* yn terfynu yr amser dyfodol, gweithi*ant*, rhed*ant*, car*ant*, gwel*ant*, bydd*ant*, &c.

*Ent* yn terfynu amser anmherffaith, gweithi*ent* os dysgwyli*ent* gyflog, &c.

### 10. *Aidd* ac *edd*

*Aidd* yn terfynu ansoddeiriau, megys llari*aidd*, gwyl*aidd*, benyw*aidd*, &c.

*Edd* yn terfynu enwau, megys Gwyn*edd*, rhinw*edd*, anrhyd*edd*, &c. Dosbarth arall yw *haidd*, *gwraidd*, &c.

### 11. *Odd* ac *oedd*.

*Odd* yn terfynu berfau, megys, can*odd*, car*odd*, gwel*odd*, cwyn*odd*, crym*odd*, &c.

*Oedd*, yn terfynu enwau, megys, mynydd*oedd*, dyffryn*oedd*, mor*oedd*, llyn*oedd*, mis*oedd*, blynydd*oedd*, &c. Eithriaid, *oedd*, yd*oedd*, berfau.

* Sylwer mai dull cyffredin geiriau a olygir: gall fod rhai eithriaid, megys *trai*, enw; ond sylwer mai gair unsill, ac nid terfyniad yw *trai*.

† Y mae y beirdd hen a diweddar wedi arfer gor*au*, gol*au*, &c. wrth angen.

12. *Id*, *ud*, ac *yd*.

*Id*, unsill, b*id*, gwr*id*, ll*id*, t*id*. *Id* yn terfynu berfau anmhersonol, yn yr amser anmherffaith, bydd*id*, oedd*id*, cen*id*, rhodd*id*, gwerth*id*, pryn*id*, &c., ond nid mewn berfau annherfynol, megys dywedyd, &c. *Id* yn terfynu enwau, gof*id*, addew*id*, rhydd*id*, &c.

*Ud*, unsill, br*ud*, cl*ud*, cr*ud*, dr*ud*, h*ud*, m*ud*, t*ud*; yn gyfansawdd, allt*ud*, anngh*lud*, &c.

*Yd*, unsill, b*yd*, c*yd*, cl*yd*, cr*yd*, gw*yd* h*yd*, pr*yd*, p*yd*, rh*yd*, *yd*; yn gyfansawdd, diogl*yd*, hyfr*yd*, ynf*yd*, hef*yd*, &c.

13. *Udd* ac *Ydd*.

*Udd*, unsill, b*udd*, c*udd*, ll*udd*, gr*udd*, n*udd*, pr*udd*, rh*udd*, s*udd*. Ychydig o eiriau sydd yn terfynu gyda'r terfyniad yma, megys, dif*udd*, llawr*udd*, &c.

Y*dd*, unsill, b*ydd*, d*ydd*, ff*ydd*, gwl*ydd*, h*ydd*, n*ydd*, rh*ydd*, s*ydd*, &c. Y mae *ydd* yn derfyniad i luaws mawr o eiriau, megys, unig, pryd*ydd*, myn*ydd*, llyw*ydd*, &c. Lluosog, nent*ydd*, bron*ydd*, ffrwyth*ydd*, &c.

14. *Ir*, *ur*, ac *yr*.

*Ir*, unsill, *ir*, b*ir*, cl*ir*, t*ir*, gw*ir*, s*ir*, d*ir*. *Ir* yn terfynu berfau, megys gwel*ir*, clyw*ir*, clym*ir*, rhwym*ir*, rhodd*ir*, &c.; hefyd ansoddeiriau, megys, cyw*ir*, &c.

*Ur*, unsill, c*ur*, d*ur*, m*ur*, p*ur*, s*ur*. *Ur* yn terfynu glein-iad*ur*, ysbiad*ur*, geiriad*ur*, iaithad*ur*, &c.

*Yr*, unsill, b*yr*, g*yr*, h*yr*, gw*yr*, ll*yr*. *Yr* yn derfyniad i ychydig eiriau, megys brod*yr*, &c.

15. *Un* ac *yn*.

*Un*, unsill, *un*, b*un*, cl*un*, ff*un*, h*un*, ll*un*. Nid yw *un* yn derfyniad unrhyw air, ond a gyfansoddir o'r geiriau uchod, megys, rhyw*un*, neb*un*, pob*un*, dil*un*, eil l*un*, &c.

*Yn*, unsill, br*yn*, c*yn*, cŷn, cr*yn*, d*yn*, chw*yn*, ff*yn*, gl*yn*, ll*yn*, m*yn*, s*yn*, t*yn*, gw*yn*, &c. *Yn* yn terfynu geiriau sydd yn cymeryd eu rhif unig i'r lluosog, hyny yw, pan fydd y gair unigol yn fwy na'r lluosog, megys, bryg*yn*, rhos*yn*, sofl*yn*, blew*yn*, gwellt*yn*, &c.; hefyd, gwen*yn*, gel*yn*, dyffr*yn*, morw*yn*, &c. Sylwer o hyd ar y geiriau a ellir gyfansoddi gyda y rhai unsill a nodir, megys yma, claerw*yn*, gorw*yn*, digr*yn*, &c.

*Uch* ac *ych*.

*Uch*, unsill, *uch*, b*uch*, ll*uch*, h*uch*. Nid yw *uch* yn terfynu

ond y geiriau a gyfansoddir o'r rhai uchod.

*Ych*, unsill, *ych*, br*ych* cl*ych*, dr*ych*, gw*ych*, rh*ych*, n*ych*, s*ych*. *Ych* yn terfynu berfau. edr*ych*, cen*ych*, gwel*ych*, &c.; yn terfynu arddodiaid, wrth*ych*, heb*ych*, &c.

17. *Is*, *us*, ac *ys*.

*Is*, unsill, d*is*, gr*is*, m*is*, pr*is*, *is*. Nid yw *is* yn terfynu ond ychydig o eiriau, sef y rhai a gyfansoddir gyda y geiriau uchod, megys gor*is*, uchelbr*is*, &c.; hefyd, bydd*is*, gwydd*is*, &c.

*Us*, unsill, *us*, ll*us*, rh*us*. Y mae *us* yn terfynu rhai enwau; hefyd, yr ansoddeiriau sydd yn tarddu o enwau, megys trefn*us*, o trefn; mel*us*, o mêl; mol*us*, o mawl; grym*us*, o grym, &c.

*Ys*, unsill, *ys*, b*ys*, br*ys*, bl*ys*, ll*ys*, cr*ys*, chw*ys*, gw*ys*, p*ys*. Y geiriau lluossill ynt, can*ys*, meg*ys*, dil*ys*, hys*bys*, dyfr*ys*, &c.

18. *Ig*, *yg*, ac *ug*.

*Ig*, unsill, br*ig*, d*ig*, c*ig*, gw*ig*, m*ig*, p*ig*, s*ig*, tr*ig*. Y mae *ig* yn terfynu llawer o eiriau, megys, ys*ig*, gweled*ig*, ared*ig*, un*ig*, &c. Cyfraniad yn gyffredin, yw *edig* ac *adwy*; *edig*, yn bod; *adwy*, a all fod megys gweled*ig*, yn gweled; gwel*adwy*, a ellir ei weled; anwel*edig*, yr hyn nid ydys yn ei weled; anwel*adwy*, yr hyn na ellir ei weled.

*Yg*, unsill, gw*yg*, ll*yg*, p*yg*, pl*yg*, rh*yg*, m*yg*. Cyfansawdd, diw*yg*, dybl*yg*, teb*yg*, edm*yg*, &c.

*Ug*, unsill, cr*ug*, ff*ug*, gr*ug*, h*ug*. Yn gyfansawdd, diff*ug*,* haerll*ug*, &c.

*Iw*, *uw*, ac *yw*.

*Iw*, unsill, br*iw*, rh*iw*, (ochr), ffr*iw*, gw*iw*, ll*iw*. Yn gyfansawdd, oerfr*iw*, serthr*iw*, anw*iw*, trill*iw*, &c.

*Uw*, unsill, d*uw*. Cyfansawdd, ann*uw*, didd*uw*, dyl*uw*, yn llygredig yn lle dylif.

*Yw*, unsill, b*yw*, c*yw*, cl*yw*, dr*yw*, gl*yw*, gw*yw*, ll*yw*, rh*yw*, *yw*. Yn gyfansawdd, yd*yw*, diledr*yw*, anhygl*yw*, &c.

20. *I*, *u*, ac *y*.

*I*, unsill, b*i*, br*i*, c*i*, cr*i*, chw*i*, h*i*, ll*i*, m*i*, n*i*, s*i*, t*i* tr*i*, w*i*. *I* yn terfynu berfau fel *u*, bodd*i*, hollt*i*, rhodd*i*. I yn unig

* Nid wyf yn meddwl bod *diffyg* yn air Cymraeg. Yr wyf yn ei gael yn Dr. Pughe; ond nis gallaf gael *ffyg*. Pa fodd y tyf cangen heb wreiddyn?

sydd yn lluosog*i*, perth*i*, llö*i*, &c.

*U*, unsill, b*u*, br*u*, cn*u*, d*u*, h*u*, ll*u*, pl*u*, t*u*. *U* yn terfynu pob berf yn y modd annherfynol o'r natur yma. car*u*, can*u*, cysg*u*, nerth*u*, &c.

*Y*, unsill, tr*y*, h*y*, s*y*, t*y*. *O* yn newid i *y*—ff*y*, tr*y*, &c. Yn gyfansawdd, obr*y*, hyn*y*, fell*y*, dettr*y*, &c.

21. *Cy, cyd, cyf, cym, cyn, cys, &c.*

Y mae y blaenddodiaid uchod yn gyfystyr, am hyny nid oes un rëol well nag i bob un arfer ei chwaeth ei hun:—Cy-sylltiad, neu cys-sylltiad, neu cyd-sylltiad; cy-nal, neu cyn-nal; cym-mod, neu cy-mod; Cym-mro, neu Cy-mro; cyf-wladwr, neu cyd-wladwr. Sylwer nad yr un ystyr yn union a arferir i *cyfundeb a cytundeb.*

22. *Ynt* ac *unt.*

*Ynt,* nid *unt,* sydd yn terfynu y geiriau hyn oll, a'u cy-felyb, at*ynt*, wrth*ynt*, idd*ynt*, heb*ynt*, hyp*ynt*, erdd*ynt* &c.; hefyd, y geiriau a gyfansoddir gyda gw*ynt* a h*ynt*, megys corw*ynt*, a croesh*ynt*.

23.

Sylwer mai *ae*, nid *au*, sydd yn c*ae*, gw*ae*, m*ae*; *ae*d, gw*aed*, tr*ae*d; *ae*dd, b*ae*dd, gw*ae*dd, &c. Yr un modd yn *ae*l, c*ae*l, ff*ae*l, gw*ael*, h*ae*l, m*ael*; hefyd, bl*ae*n, c*ae*n, chw*ae*n, dr*ae*n, m*ae*n, p*ae*n; eto, *ae*r, c*ae*r, cl*ae*r, chw*ae*r, m*ae*r, s*aer*, t*ae*r; eto, *aes*, ll*aes* m*aes*; eto, *ae*th, c*ae*th, chw*ae*th, ffr*ae*th, gw*ae*th, ll*ae*th, m*ae*th, s*ae*th, *Oe*, nid *ou*, yn *oe*n, cr*oe*n, p*oe*n; eto, *oe*d, c*oe*d, tr*oe*d; eto, *oes*, c*oe*s, cr*oe*s, gl*oes*, m*oes*, tr*oes*, &c. Cofier mai *wy*, nid *wu*, sydd yn yr holl eiriau, megys b*wy*d, n*wy*d, &c.

---

## PENNOD XI.

### AR EIRIAU RHIFYDDOL.

"Addefir fod godidawgrwydd iaith yn gynnwysedig mewn rhan fawr yn anamledd y llythyrenau, a'r geiriau gofynol i osod allan amgyffredion y meddwl; ond syndod i mi bod cynifer o eiriau afreidiol yn cael eu defnyddio i egluro rhif-nodau yn y Gymraeg, tra y mae y Saeson, ac ereill, yn mynegu

yr unrhyw â llawer llai o eiriau, wedi myned unwaith dros ddeg. Enghraifft:—

| SAESNEG. | CYMRAEG. |
|---|---|
| 12 Twelve, (unsill.) ........ | Dau ar ddeg, (3 sill.) Bai erchyll yw galw *deuddeg* ar 12. |
| 13 Thirteen .............. | Tri ar ddeg. |
| 39 Thirty nine, (3 sill.) .... | Pedwar ar bymtheg ar ugain! (8 sill.) |
| 99 Ninety nine, (eto.) ...... | Pedwar ar bymtheg a phedwar ugain!! (10 sill.) |
| 199 Hundred ninety nine(5 sill) | Pedwar ar bymtheg a phedwar ugain wedi'r cant!!! (13 sill.) |

"Dirfawr wahaniaeth! Dichon y Sais rifo mil, yn araf deg, cyn y gallo Cymro, er brysio, ddyfod i ben a'i 400! A gwahaniaeth hollol ddiraid ydyw; gellir rhifo o un i gant mor fyr yn y naill iaith a'r llall; ac o un cant uchod yn fyrach yn Gymraeg nag yn Saesneg. Os dichon y Sais ddyweyd 4 a 12 *(four and twelve)* yn fyrach na'r Cymro, eto dichon yr olaf fynegu 7 ac 11 *(seven and eleven)* yr un gymaint yn fyrach na'r blaenaf:—wedi rhifo hyd 10, yn y modd arferol, rhifwch fel hyn:—11, deg un—12, deg dau, ac felly hyd 19, deg naw; h.y., deg a naw—yna 20, deuddeg—21, deuddeg un—22, deuddeg dau, ac felly hyd 29, deuddeg naw; ac yna, 30, trideg—40, pedwar deg—50, pumdeg—60, chwedeg—70, seithdeg—80, wythdeg—90, nawdeg—100, cant—139, cant trideg naw—599, pumcant nawdeg naw. Yn y modd hyn y rhifa y Saeson; nid yw eu *twenty, thirty, fourty, fiifty, &c.*, ond *two tens, three tens, four tens, fiive tens*, &c., wedi eu harallu; *thirty one* yw *three tens one*, neu drideg un, sef trideg *ac* un, os mynech lefaru yn llawn, megys, *thirty and one* yn llawn, yn y Saesneg. Hyd yma y mae'r Cymro yn gydradd â'r Sais; ond wedi myned at gant, y mae mantais o un sill gan y Cymro yn mhob rhif oddiyno i fil; ac o fil yn y blaen, fantais o ddwy sill yn mhob rhif, oblegyd bod dwy sill mewn *hundred* ac mewn *thousand*, a dim ond un mewn *cant* a *mil*.

"Hefyd, os dilynir y drefn a gynygir yn awr, bydd i olwg arwynebol o'r rhifnodau, megys yn y Saesneg, roddi geiriau addas yn ngenau y rhifwr i'w darlunio; canys os bydd tair rhifnod y mae y flaenaf o'r tair yn gant, neu

gantoedd, yr ail yn ddeg, neu ddegau, a'r olaf, yr hyn sydd dros ben y degau; megys, 121, *hundred twenty (two tens) one*, 'cant deuddeg un,' 347, *three hundred fourty (four tens) seven*, 'tri chant pedwardeg saith.'—577, *five hundred seven tens seven*, 'pumcant seithdeg saith;' h.y., 5 o gantoedd, 7 o ddegau, a 7 yn ychwaneg. Gwelwch mor amlwg y mae y rhifnodau yn egluro eu hunain; eithr sylwwch ar y tri rhifnod olaf, (er enghraifft,) sef, 577, a darluniwch hwy yn ol yr hen ffordd; sef, 'pumcant a dau ar bymtheg a thriugain;' y mae yn gofyn i wr fyned i fyfyrio tipyn cyn cael allan y dirgelwch: nid oes un o'r rhifnodau, ond y cyntaf, yn ei gynnorthwyo. Yn 577 gwelir pumcant, yn amlwg, eithr nid oes yma na *dau*, na *phymtheg*, nac un *ugain*, chwaithach *tri ugain!*"

Onid ydynt yr ystyriaethau blaenorol yn ddigon i beri i bawb lwyr ymwrthod a'r *hen drefn;* a rhyfeddu na buasid wedi dynoethi ei gwrthuni, a hyny yn effeithiol, cyn ei eni ef?

Eto, er dangos nad oeddynt ein hynafiaid mor anwybodus yn nghelfyddyd rhifyddiaeth ag y gallai ambell un farnu eu bod wrth y drefn ledchwich bresenol, rhoddaf yma yr hyn a fenthyciwyd o hen lyfr, ysgrifenedig yn nghylch y flwyddyn 1300, gan HOPKIN THOMAS, AB EINION, *Offeiriad* o Ynys Tawy.

"Tair awgrym gwybodau a fuont ar arfer, o'r dechreuad, gan genedl y Cymry.

"Cyntaf o'r tair herwydd braint a bonedd yw awgrym gair ac ymadrodd, sef llythyr.

"Ail awgrym, erddigan, sef goslef ac arwest.

"Trydydd awgrym, rhif, ac fel hyn y mae:—

"Un, dau, tri, pedwar, pump, chwech, saith, wyth, naw, deg—unneg ac un, unneg a dau, unneg a thri, unneg a phedwar, unneg a phump, unneg a chwech, unneg a saith, unneg ac wyth, unneg a naw, deuneg—ac fel o'r blaen hyd trineg, pedryneg, pumneg, chweneg, seithneg, wythneg, nawneg, cant—ac hyd fil, ac o hyny hyd geu*g*ant neu afreidredd. A chyfrinach yw cadwedig ar lafar Gorsedd Beirdd Ynys Prydain, o'r dechreuad; a Thydain Tad Awen a'i trefnes gyntaf yn y gelfyddyd fannog ar wybodau doethineb."—GOMER, yn 'Seren Gomer.'

# DOSBARTH II.—AR BRAWEG.

---

## PENNOD I.

### AM Y RHANAU YMADRODD.

DYSGYBL.—Yr ydych wedi son, amryw weithiau, am y rhanau ymadrodd; byddai yn dda iawn genyf gael ychydig o eglurhad arnynt, yn fyr ac yn amlwg. Y mae Dafydd, fy mrawd, wedi bod yn ceisio eu dysgu i mi, ac y mae wedi methu.

ATHRAW.—Y mae yn lled debyg dy fod di yn dysgwyl i Dafydd, dy frawd, dy lenwi di â Gramadeg, yr un modd ag y bydd y melinydd yn llenwi sâch gyda blawd; y mae eisiau i ddyn feddwl, cyn y dysg unrhyw gelfyddyd byth, ac ond i tithau roddi dy ddyall ar waith, y mae yn dra hawdd it addysgu dirnad deddfau y rhanau ymadrodd, canys nid rhyw fympwy o eiddo segurddyn yw iaithyddiaeth, ond peth cwbl athronyddol; ac nid rhaid ond sylwi ar y gwahaniaeth sy rhwng y naill ddyn a'r llall yn areithio, neu ysgrifenu, na welir yn ebrwydd ei mawr werth. Ond i ddyfod at y pwnc; naw rhan ymadrodd sydd yn Gymraeg; sef enw, ansoddair, rhagenw, berf, rhagferf, bannod, cysylltiad, arddodiad, a chyfryngiad. Dosberthir y naw hyn yn ddwy brif ran, sef, *enw* a berf; ac os gelli dithau wahaniaethu rhwng gweithredydd a gweithred, gelli wahaniaethu rhwng enw a berf.

DYSGYBL.—O gallaf yn hawdd. Dacw ddyn yn canu;—dyn yw y gweithredydd—canu yw y weithred.

ATHRAW.—Ië, mewn geiriau ereill, dyn, enw—canu, berf. Sylwa mai enw yw unrhyw beth neu berson, pa beth bynag a fyddo, ac yn mha le bynag y byddo, gweledig, neu anweledig, gwirioneddol neu ddychymygol. Gelli adnabod enw mewn atebiad i'r gofyniad, Pa beth yw hwn? Pa beth bynag fydd yr ateb, dyna enw gwrywaidd unig. Pa beth yw hon? Y mae yn rhaid i'r ateb fod yn enw benywaidd. Pa bethau yw y rhai hyn? Y mae yn rhaid i'r ateb fod yn enw lluosog. Engraifft:—

Pa beth yw hwn? ateb, *Llyfr*. Llyfr, enw, ynte.
Pa beth yw hon? *Llwy*. Llwy, enw, ynte.
Pa bethau yw y rhai hyn? *Defaid*. Defaid, enw.

Yr un modd am bob peth arall a ddichon fod yn ateb i'r gofyniad uchod. Gelli wybod, heb i mi ymdrafferthu i ddyweyd, y gwahaniaeth sydd rhwng unig a lluosog, gwryw a benyw, &c.; canys dyma y gwersi cyntaf a ddysg ein babanod. Enw priodol yw yr enw a roddir ar bethau i'w gwahaniaethu oddiwrth bethau ereill o'r un natur. Afon, dyna enw cyffredin; Menai, dyna enw priodol, canys pe dywedit dy fod wedi myned mewn cwch dros afon, ni wyddai neb dros pa afon; ond pe dywedit dy fod wedi myned mewn cwch dros *Menai*, byddai dy feddwl yn amlwg; a dyna yr unig reswm pa ham y rhoddir enw priodol ar unrhyw beth; sef, i'w wahaniaethu oddiwrth bethau ereill o'r un enw cyffredin. Fe all bannod ateb yr un dyben ag enw priodol weithiau, dros *yr* afon.—Ansoddair sydd i ddangos ansawdd enw; gellir adnabod ansoddair mewn atebiad i'r gofyniad, pa *fath* beth yw *hwn*, *hon*, neu *hyn*? Fel y mae enw yn atebiad i "pa *beth* yw," y mae ansoddair yn atebiad i "*pa fath* beth." Dyma geffyl: pa *fath* geffyl? *mawr* neu *fychan*. Pa fath liw du, neu goch, neu wineu; ansoddeiriau, ynte, ydynt mawr, bychan, du, coch, gwineu, &c., &c.—*Rhagenw* sydd air a a ddyfeisiwyd rhag tra mynychu enw: yn lle dywedyd, fe aeth William i'r ffair echdoe, a daeth William adre' ddoe; rhodder *efe*, sef rhagenw, yn lle yr ail enw William, fel hyn:—Fe aeth William i'r ffair echdoe, ac efe a ddaeth adref ddoe. *Efe*, rhagenw; a dyna swydd y rhagenw personol, gwneuthur ymadrodd yn dlysach.—*Bannod*, un bannod o barth synwyr, a dau o barth sain sy, sef *y* neu *yr*; ei swydd yw gwahaniaethu pethau neillduol oddiwrth bethau cyffredin: Dos i dy, a olyga ryw dy; ond dos i *y* ty, a olyga dy neillduol; a'r hyn a'i gwna felly yw y bannod, sef *y*. Dyma afr, a gyflea y drychfeddwl o ryw afr; dyma *yr* afr, a gyflea y drychfeddwl o ryw afr neillduol; a'r hyn a wahaniaetha y ddau ymadrodd yw y bannod, sef *yr*. *Y* o flaen cydsain, ac o flaen *w*, *y weddw*: hefyd, arfera rhai roddi *y* o flaen *i*—*y iaith*: *yr* o flaen llafariad, ond yr eithriad a nodwyd i *y*.—*Cysylltiad* sydd air a roddir i gysylltu dau neu ychwaneg o eiriau, neu ragenwau, yn nghyd: megys, gwr *a* gwraig, mi *ac* yntau; *a*, *ac*, ydynt gysylltiaid. Y mae amryw fath o gysylltiadau. Dyma i ti ddarluniad byr, ac hyderaf eglur, o enw a'i deulu. Sylwa, yn mhellach, ar ansawdd berf, a'i theulu.—*Berf* sydd air yn darlunio tri pheth, sef bod, gweithrediad a goddefiad; bod, yr wyf yn meddwl myned adref heddyw, ac yr ydwyf am ddyfod yn ol y fory, os caniata

Duw: *wyf* ac *ydwyf* ydynt ferfau canolig; nid ydynt yn arwyddo gweithred na goddefiad; ac, yn wir, y mae yn rhaid fod unrhyw beth cyn y gall na rhoddi na derbyn; neu, mewn gair arall, cyn y gall na gweithredu na goddef. Berf weithredol, yn arwyddo gweithred; Robert yn taraw Dafydd. Berf oddefol, Dafydd a darawyd gan Robert: gwel mai yr hyn oedd weithredol i Robert oedd oddefol i Dafydd. Tarawa, berf weithredol; tarawwyd, berf oddefol: y mae rhif a pherson, &c., yn perthyn i'r tri dosbarth.—*Rhagferf:* y mae rhagferf i ferf, yr hyn yw ansoddoir i enw: dyn da; dyn, enw; da, ansoddair:—gwneuthur yn dda; gwneuthur, berf; yn dda, rhagferf. Gan mai dangos sefyllfa y ferf y mae rhagferf, goreu pa agosaf fyddont i'w gilydd.—*Arddodiad*; y mae arddodiad yn fwyaf cyffredin ar ol berf; megys myned *i* Fangor; dyfod *o* Fangor; tori *ag* erfyn; rhedeg *at* y cerbyd: rhwymo *am* fraich: *i*, *o*, *ag*, *at*, *am*, ydynt arddodiaid. Sylwer fod yr arddodiaid uchod, ar ol berfau, ac o flaen enwau, ond cysylltiadau yn fwyaf cyffredin rhwng enwau a'u gilydd.—*Cyfryngiad*: swydd cyfryngiad yw dangos meddwl cyffrous. Y mae llawer o gyfryngiaid nas gellir eu hysgrifenu, tebyg i *dyt*, *dyt*. Nodir cyfryngiad gyda rhyfeddnod; megys, O! Ha! Och! O! ddyfnder doethineb Duw!! Pwy a'i traetha!! Ni soniwn yn bresenol ond hynyna am y rhanau ymadrodd; gwel y Gramadegau am ychwaneg yn eu cylch: ein gwaith ni, yn awr, fydd dangos y camddefnydd wneir o honynt mewn cyfansoddiad.

---

## PENNOD. II.

## AM ELFENAU PRAWEG.

DYSGYBL.—Pa beth yw Praweg?

ATHRAW.—Praweg, neu brawen, neu cystrawen, ydyw iawn osodiad geiriau mewn ymadrodd. Synia ar y gwahaniaeth sy rhwng llythyreg a phraweg. Llythyreg, iawn osodiad llythyrenau mewn gair. Praweg, iawn osodiad gair yn yr ymadrodd. Y mae geiriau, cyn cael eu cyfansoddi yn ymadrodd, fel dolenau yn cael eu cyfansoddi yn gadwyn. Dyma y dolenau, creodd, dechreuad, yn, Duw, y, nefoedd, daiar, a'r; cyfansoddir y geiriau yna yn gadwyn o ymadrodd, fel hyn:—"Yn y dechreuad y creodd Duw y nefoedd a'r

ddaiar;" Y cyfansoddwr goreu yw y byraf, yr egluraf, yr harddaf, a'r mwyaf effeithiol. Dyna bedwar peth y dylit sylwi arnynt wrth gyfansoddi. Rhoddwn un enghraifft eto o bentwr o ddolenau heb eu ffurfio yn gadwyn; y maent wedi eu gosod mewn cylch englyn:—

Duw yw Mugail, (arall em,)
Ni bydd (Duw a rydd da rym,)
Arnaf (er a gaf o gam,)
(Diau o stad) eisiau dim.

Gadawer allan y geiriau sydd rhwng y crwmfachau, a'r gweddill a wnant ymadrodd fel hyn:—"Duw yw Mugail, ni bydd arnaf eisiau dim." Y mae yn ddigon goddefol rhoddi ymadrodd crwmfachol yn nghanol prawddeg, ond nid darn fel yna ar ol pob gair. Rhwng dau wahannod (,) y rhoddir ymadroddion fel a welir uchod, gan awdwyr yn gyffredin yn yr oes hon; canys y mae y dull wedi newid, mal pe dywedid, "Yr wyf yn cydnabod, *gyda diolchgarwch*, y gymwynas a wnaethoch i mi."

Duw yw Mugail, arall em,
Ni bydd, Duw a rydd da rym,
Arnaf, er a gaf o gam,
Diau o stad, eisiau dim.

Cymer hynyna o awgrym, pa fodd i gyfansoddi ac atalnodi ymadroddion cymalog, ond paid byth a'u harfer ond pan fyddo amgylchiadau yn gorfodi.

Fe fydd ymadrodd yn gyffredin yn dwyn perthynas â thri o bersonau; un yn dywedyd, yr ail yn gwrandaw, a'r trydydd yn cael son am dano: gall y trydydd fod yn beth neu yn berson. Hefyd, y mae tair o elfenau arbenig mewn ymadrodd, sef gweithredydd, berf, a gwrthddrych; megys mi a ddarllenaf y llyfr,. *Mi* yw y gweithredydd; *darllenaf*, yw y ferf; *llyfr*, yw y gwrthddrych Y mae lle priodol pob un yn ymddibynu yn aml ar y prif beth fydd i'w brofi: weithiau dodir y gweithredydd yn mlaenaf, bryd arall y gwrthddrych. 1, Mi; 2, ddarllenais, 3 llyfr: neu, 2 darllenais, 1, i y 3 llyfr: neu, y 3 llyfr a 2 ddarllenais 1 i. 2 Dywedodd 1 efe, neu 1, efe, a 2 ddywedodd. Sylwer yn mhellach fod y gweithredydd a'r weithred i fod yr un rhif a pherson; megys, mi a ddarllenaf, ti ddarllleni, efe ddarllena, y llyfr. Ni ddarllenwn, chwi ddarllenwch, hwy ddarllenant, y llyfr. Gellir peidio a

dylyn y reol hon mewn amgylchiadau a wnant yr ymadrodd yn fwy clogyrnaidd; megys, "Pa ham y terfysga y cenedloedd, ac y myfyria y bobloedd beth ofer?" Dyna unig a lluosog yn nghyd; ond y mae yr iaith yn llawer llyfnach na phe y dywedit, Pa ham y terfys*gynt* y cenedloedd, ac y myfyr*ynt* y bobloedd, &c. Gwedi dywedyd hynyna am egwyddorion prawen, ni a nodwn y gwallau mwyaf cyffredin.

*Mi.*— Y mae y rhagenw hwn yn arferol a chael ei gamarfer yn druenus. 1 Trwy ei roddi yn osail i ferfau yn mhob person a rhif, megys, *mi* welaf, *mi* weli, *mi* welodd, *mi* welwn, *mi* welwch, *mi* welant: y mae *mi* yn feius yn mhob un o'r lleoedd hyn ond y blaenaf, sef *mi welaf;* dylai y lleill fod yr un rhif a pherson, a'r ferf, fel y dywedwyd o'r blaen; megys, ni a welwn, chwi a welwch, &c.

*Berf.*—Berf yw enaid ymadrodd; ac os bydd heb ferf, bydd yn wagnod ar unwaith, heb ddim synwyr ynddo. Beirdd ieuainc fydd yn syrthio fynychaf i'r gwall yma; y bonglerwch o ormod o ferfau yw y trosedd amlaf, sef rhoddi berf i gynhorthwyo berf, pan na fydd angen cynhorthwy: yn lle darfum ddywedyd, rhodder, dywedais; nid oes eisiau y ferf gynhorthwyol, darfum: cenais, nid darfum ganu; gweithiais, nid darfum weithio; rhoddais, nid darfum roddi: fel hyn, mewn degau o amgylchiadau. Rhoddir dau air yn lle un trwy roddi y ferf, *darfum*, heb ei heisiau. Yr un modd gydag amryw ereill; megys, yn mha le y mae Tomas? 'Efe a aeth i'r dref.' Nid 'y mae efe wedi myned i'r dref:' y ferf *aeth* ei hun yn well na *mae a myned*—tair llythyren yn lle wyth. 'Yr wyf yn dymuno arnat aros,' 22 llythyren: 'dymunaf* arnat aros,' 17. 'Yr ydwyf am fyned adref,' 19: 'mi af adref,' 9. 'Yr ydwyf am ddyfod,' 14: mi ddeuaf," 7, &c. Dyma brawf teg fod y berfau cynhorthwyol uchod yn ystyn yr ymadrodd cyd ddwywaith ag y dylai fod; er hyny, y mae angen am ferfau cynhorthwyol yn fynych, megys, 'Hyfryd yw i'r llygaid weled yr haul;' y ferf *yw* yn cynhorthwyo y ferf *gweled.* Berf annherfynol a gynhorthwyir bob amser, felly, heb na rhif na pherson; ond bydd y diffyg yn cael ei gyflawni mewn rhif a pherson, &c., yn y ferf gynhorthwyol.

*Y ferf clywed.*—Camarferir y ferf hon, yn dra mynych; megys, 'Yr wyf yn *clywed cur* yn fy mhen; yn *clywed poen*

*Y mae llawer yn terfynu yr amser presenol fel y dyfodol—dymun*af* yn lle dymun*wyf*—mae hyn yn oddefol.

yn fy aelod; yn *clywed* fy *marf* yn fawr; yn *clywed* y *ddiod* yn sur; yn *clywed* y *bwyd* yn dda; yn *clywed* yr *arogl* yn beraidd; yn *clywed* y *dwr* yn oer, &c. Gallai dyn dyeithr dybio mai creadur rhyfedd yw y Cymro, wrth ei glywed yn siarad fel hyn; nis gallai feddwl fod ganddo na theimlad, nac archwaethiad, nac arogliad; ond yn glust i gyd, o fawd ei droed i'w goryn. Dylai yr ymadroddion uchod gael eu hysgrifenu, neu eu traethu, fel hyn:—Yr wyf yn teimlo cur yn fy mhen—yn teimlo poen yn fy aelod—teimlo fy marf yn fawr—archwaethu y ddiod yn sur, ac arogli arogl peraidd, &c. Y mae yn bryd i'r ddiareb hono gael ei gwneuthur yn anwiredd, sef 'Gweled a chlywed y cwbl mae y Cymro.'

*Marw.* Marw unig, 'Dyn marw.' Meirw, neu meirwon, lluosog, 'Dynion meirw.'

*Dim.*—Y mae dim yn air mwys, 'Pwy a rydd ddim yn eu herbyn?' neu, 'Pwy rydd unrhyw beth yn eu herbyn?' Y mae i'r gair *dim* feddwl arall, yr hwn a eiddyf ladmeriad y Gwyddel, pan ofynwyd iddo, 'Pa beth yw dim?' 'Cau dy lygaid, cei ei weled,' ebai y Pat. Yn y sefyllfa hon, camddefnyddir *dim* yn fynych, nis gallaf fi ddim myned—nis gallaf ddim dyfod—nis gallaf ddim eu canfod—nis gallaf ddim clywed—nid wyf fi ddim yn meddwl felly—nid yw ddim llai na dim mwy na hyn. Y mae *dim* yn waeth nac afreidiol yn mhob un o'r enghreifftiau uchod. Fel hyn y dylai fod:—Nis gallaf fyned—nis gallaf ddyfod—nis gallaf ganfod—nis gallaf glywed—nid wyf yn meddwl felly—nid yw na llai na mwy. Camddefnyddir *dim* mewn dull arall hynod o wallus, megys, 'Oes *dim* o William yma?' &c., &c. 'Fu dim o John yma?' A ydyw William—a fu John, yma? ddylasai fod. Bai cyffredin yn y De yw hwn.

*I.*—rhoddir *i* weithiau mewn lle anmhriodol, megys, 'Er i bechod fel mynydd *i* wasgu pechadur.' Er i bechod fel mynydd wasgu, neu ddirwasgu, ddylai fod. Gwelir y gwall yma mewn emynau yn lled fynych.

*Garw.*—Dodir yr ansoddair hwn yn dra anmhriodol, yn fynych, megys sal arw, noeth arw, esmwyth arw, gwyn arw, oer arw, ac weithiau llyfn arw. Ni ddylid dywedyd fod peth yn arw ond a fydd felly mewn gwirionedd, megys careg arw, cerig geirw, neu geirwon. Y mae geiriau ereill mwy priodol i ddangos eithafion pethau, megys, eithaf, iawn, tra—eithaf pell, nid pell arw—esmwyth iawn, nid esmwyth arw—tra noeth, nid noeth arw, &c.

*Pur* a *glan* a gamddefnyddir yn lled debyg i garw.

*Ond.*—Tra mynychir *ond* gan gyfansoddwyr campus yn aml. Y mae yn lled naturiol iddo redeg i ambell fwlch na ddymunid, canys y mae yn offeryn bychan hwylus iawn. Gellir dywedyd yr un peth am y gair *hwn*. Y mae yn arwydd o ddiffyg dawn arfer yr un geiriau yn fynych, oddieithr pan arferir y dull hwnw o ymadroddi, 'Chwanegwch at eich ffydd, rinwedd; ac at rinwedd, wybodaeth,' &c

*Bron.*—Camddodir y gair hwn yn fynych, yn enwedig yn y deheubarth, megys,

O na bai gwybodaeth Iesu
Yn llenwi'r byd i gyd *o'r bron.*

Y mae yn sicr mai nid fel yna yr oedd y bardd yn meddwl, canys credai fod 'Iesu' yn hollwybodol, am hyny yr oedd ei wybodaeth yn llenwi'r byd i gyd, nid o'r bron. Gwell a fuasai y penill fel hyn:—

O na bai efengyl Iesu
  Yn llenwi'r byd i gyd yn grwn,
Gan doi'r ddaiar oll o ddeutu,
  Pawb yn parchu'r enw hwn:
    Gras fy Ior, &c.

*Cam amser.*—Y mae ffair yn Nghorwen, ddydd Llun, ac yr wyf fi yn myned yno, os gallaf. Fel hyn y dylai fod,—Fe fydd ffair yn Nnghorwen, ddydd Llun, ac yr wyf yn bwriadu myned yno, os gallaf: y mae ffair sydd anwiredd: eistedd yr oedd y dyn pan oedd yn dywedyd.

*Ymadrodd crebychog.*; sef, yw hyny, peidio gyru yr ymadrodd i'w derfynau priodol; ceir enghraifft mynych o hyn, yn enwedig mewn emynau, megys,

Os edrych wnaf i'r dwyrain draw,
  Os edrych wnaf i'r de;
Yn mhlith a fu, neu ynte ddaw,
  'Does debyg iddo fe.

Am ddim a ddywedir yma, y mae 'un tebyg iddo fe' yn y gogledd a'r gorllewin, ac yn yr amser presenol. Dylasai fod fel hyn:—

Os edrych wnaf i'r dwyrain draw,
  Gorllewin, gogledd, de:
Yn mhlith a fu, y sy, neu ddaw,
  'Does debyg iddo fe.

Enghraifft arall o ymadrodd diffygiol mewn rhyddiaith. 'Bu fy mam farw yn mhen y naw mis wedi fy ngenedigaeth; pan yn wyth mlwydd oed, bu fy nhad farw hefyd.' Y mae yma eisiau y ferf *oeddwn*; sef, 'Pan *oeddwn* yn wyth mlwydd oed, bu *fy nhad farw hefyd.*'

*Ansoddeiriau yn cael eu cam roddi.*—Mwy hardd—mwy gwyn—mwy grymus—mwy ffraeth—mwy doeth, &c. Gwell yw harddach, gwynach, grymusach, ffraethach, doethach, &c. Eithrir y rëol hon yn fynych, megys, y mae Dafydd yn fwy doniol na William: nid yn ddoniolach na William. Troseddir y ddeddf hon yn fwy anfaddeuol na'r enghraifft uchod, yn enwedig gan seiri emynau, megys, 'Yr enw *mwya' mawr*;' 'mil mwy melusach:' y mae *mawr* yn y llinell flaenaf, a *mwy* yn yr ail, yn waeth na gwagnod. Fe fyddai yr iaith yn well fel hyn, yn y ddau benill a nodwyd:—

Ymgrymed pawb heb goll,
I enw'r addfwyn Oen
Yr enw mwyaf oll,
Erioed a glywwyd son.

Y llall,

Mae'n felus gan fy enaid sôn
Am droion *Un* yn *Dri*:
Ond mil melusach son am Ior
Ar allor Calfari.

Nid mil *mwy* melusach.

---

## PENNOD III.

### AR Y GEIRIAU A RODDIR YN LLE EU GILYDD

*Cynyrchiol a cynrychiol.*—Cynyrchiol, o cynyrch, ffrwyth. Cynrychiol: y mae *cynrychiolwyr* y bobl yn y Senedd-dy Cyffredin—nid cynyrchiolwyr y bobl.

*Diweddaf a diweddaraf.*—Diweddaf, am amser Diweddaraf, yr hyn a gymer le mewn amser. 'Yr amser *diweddaf* y bum i gadref, yr oedd y cynhauaf *ddiweddaraf* y gwelais ef erioed.

*Cyntaf a diweddaf; blaenaf ac olaf.*—Cyntaf a diweddaf—am amser. Blaenaf ac olaf—am le. Dyma frawddeg feius dros ben: 'Yn Mhrydain, fel yn mhob llywodraeth, y mae

uwchafiaid ac isafiaid; ac fel mai lle yr olaf yw ufyddhau, felly lle y cyntaf yw rheoli.' Un gwall yw cysylltu *olaf* a *chyntaf*, gwall arall yw rhoddi yr *olaf* o flaen y *cyntaf*,—ac hefyd y mae yma ormod o eiriau. Dylasai y frawddeg uchod fod fel y canlyn: 'Yn Mhrydain, fel yn mhob llywodraeth arall, y mae uwchafiaid ac isafiaid—y blaenaf sydd i lywodraethu, a'r olaf i ufyddhau.' Dylid bod yn ofalus rhag cysylltu amser â lle mewn amgylchiadau ereill—'yn awr, fel yn mhob llywodraeth:' dyma amser a lle. Dylasai fod yn debyg i hyn, 'yn awr, fel o'r blaen, yn ein llywodraeth ni fel yn mhob llywodraeth arall.

*Dirwyo a dirywio.*—Dirwy, *fine*: dirywiad, llygriad. Dirwyid am lwon, oni bai fod dirywiad yn ngweinyddiad y gyfraith.

*Dychwel a dymchwel.*—'Dychwelodd William o'r dafarn, dymchwelodd y bwrdd a thorodd y llestri,' meddai Margaret.

*Rhyw a rhiw.*—Rhyw, rhywogaeth; rhiw, llethr.

'Rhyw ddyn o'r rhiw a ddaeth.'

*Cymaint a cynifer.*—Cymaint am faint peth; cynifer, am rifedi o bethau. Y mae rhai ysgrifenwyr go dda yn arfer rhoddi *cymaint* yn y lle dylai *cynifer* fod; megys, 'Y mae gan Dafydd gymaint o ddefaid ag sy gan Robert.' Y mae gan Dafydd *gynifer* o ddefaid, &c., ddylasai roddi. 'Pa faint o wartheg sydd genych eleni? Yr un faint ag oedd genyf y llynedd.' Y mae yn iawn fel hyn:—Pa nifer sydd genych o wartheg eleni? Yr un nifer ag oedd genyf y llynedd.' 'Gwnewch yr hugan newydd yn gymaint a'r hen, a rhoddwch gynifer o fotymau arni ag sydd ar yr hen hefyd.' Maint y dilledyn, a nifer y botymau.

*Y banynau dylynawl.*—Banynau dylynawl y galwai Dr. Pugh y geiriau a roddir yn gyffredin o flaen berfau, megys goreiriau, yn gyfred o barth sain, ac annghyfred o barth synwyr; hyny yw, geiriau er pereiddio sain, ond heb gynal dim synwyr, ac o herwydd hyny gellir eu gadael allan, os caniata y sain. Y rhai hyn ydynt, *a, y, yr, &c.*; 'megys fy mam *a* ddywedodd;' gellir gadael yr *a* allan os dewisir: 'Fy mam ddywedodd,' 'Chwi *a* glywsoch ddywedyd: neu, 'Chwi glywsoch ddywedyd: neu, os dewisir, gellir gadael y gosail allan hefyd, a bydd yn ddëalledig fel hyn:—Clywsoch ddywedyd gan y rhai gynt.' 'Nyni *a* ddywedasom;' neu, 'Nyni ddywedasom;' neu 'Dywedasom.' 'Chwi a ddywedasoch wrthyf;' neu, 'Chwi ddywedasoch wrthyf;' neu,

'Dywedasoch wrthyf.' '*Y* mae yn dyfod;' neu, 'Mae yn dyfod.' Y mae yn eglur y gellir gadael y banynau hyn allan yn hawdd o flaen yr holl ferfau sydd yn dechreu gyda chydseiniaid, ond gwell eu harfer o flaen y berfau sydd yn dechreu â llafariaid. 'Efe sydd yn dyfod,' nid 'Efe *y* sydd.' 'Efe fydd,' nid 'Efe *a* fydd.' 'Mae yn dyfod,' nid '*Y* mae.' Y mae hynyna yn oddefol o leiaf, ond nid goddefol, yn gyson â theithi yr iaith Gymraeg, eu gadael allan o flaen berfau canolig, yn dechreu â llafariaid. Nid Cymro cymreigaidd a ysgrifenai fel hyn:—'*Wyf* yn anfon y sypyn hwn i chwi heddyw, oeddwn yn meddwl ei anfon ddoe, ond collais y cerbyd: ydwyf yn iach, fel gobeithiwyf yr ydych chwithau.' Onid yw yn well fel hyn?—'Yr wyf yn anfon y sypyn hwn i chwi heddyw, yr oeddwn yn meddwl ei anfon ddoe, ond collais y cerbyd: yr ydwyf yn iach, fel gobeithiwyf yr ydych chwithau.' Addefwn nad oes yn yr enghraifft olaf fwy o synwyr, ond y mae ynddi well sain. Y geiriau canlynol sydd yn diweddu â chydseiniaid:—y, yr, â, ag, a, ac, o, os, ped, pe, nac, nag, oni, onid, onis, gyda, gydag, sydd, sy, &c. Y ddafad, yr oen, âg arf, â llif, a buwch, ac asyn, o ddyn, os yw, (os gwel, eithriad,) ped awn, pe byddai, nac un, nag oeddwn, oni fydd, onid oes, onis êl, gyda mi, gydag ef, sydd yn, sy dda. Y mae ychydig o eithriaid i'r rëol yna.

*Y ferf weithredol a'r oddefol.*—Y ci a laddodd y llwynog.

DYSGYBL.—Pa un ai y ci ai y llwynog oedd y lladdwr?

ATHRAW.—Y ci oedd y lladdwr, yn ol cystrawen yr ymadrodd uchod.

DYSGYBL.—Ai yr *a* sydd yn profi hyny?

ATHRAW.—Nag ê; nid yw yr *a* yn profi dim, canys fel y sylwwyd o'r blaen, y mae hi yn yn annghyfred o barth synwyr. Pe y ci fuasai y lladdedig, dylai fod fel hyn:—'Y ci a laddwyd gan y llwynog;' neu y llwynog a laddodd y ci.' Sylwa mai dyna y gwahaniaeth wrth ymadroddi rhwng y gweithredydd a'r goddefydd.

*Can, gan, a cyn.*—*Can* ddylai fod o flaen ansoddeiriau, megys, can wyned, can hardded, can fwyned, &c.

*Gan* o flaen berfau, Gan ddywedyd, gan roddi, gan geisio, a chan ddymuno. Can yn newid i gan, a gan i chan.

*Cyn*, am amser. Mi a ddeuaf cyn y fory.

*Pa a pwy.*—*Pa* gydag enw bob amser, megys, Pa ddyn, pa ddoniau, pa dafod, pa ymadrodd, pa ddawn, pa galon, &c.

ag ac nag nac



*Pwy*, bob amser, gyda rhyw air, heb fod yn enw, megys Pwy yw hon? pwy wnaeth hyn? pwy bynag? ond pa ddyn bynag. Y mae rhai cyfansoddwyr da yn euog o droseddu y rëol hon, er ei bod yn yr holl Ramadegau braidd.

*Mae, mai, a mau.*—*Mae*, berf, Mae yn dyfod.

*Mai*, cys. 'Gwybyddwch mai yr Arglwydd sy Dduw.

*Mau*, rhag., i fod mewn cysylltiad âg enw, megys, 'Clodforaf fi fy Arglwydd mau.' Maufi, yw myfi; taudi, tydi: yn y sefyllfa yna y mae *mau*, o flaen rhagenw, wedi cael ei dalfyru i *my*. Gellir gwybod priodle *mae* a *mai* gyda yr *y*, canys gellir rhoddi *y* o flaen mae, megys Y mae yn dyfod; ond ni wedda *y* un amser o flaen *mai*.

*Ac ac ag.*—*Ac*, cys., Dyn ac anifail.

*Ag*, ardd., Rhwymo ag edef. Y mae sefyllfa arall i *ag*, sef, pan fydd ar ol ansoddair yn nghanol ymadrodd; megys Y mae Robert mor hael *ag* yw ei frawd; neu, Y mae Robert mor hael *ag* un dyn. Ni wedda gydag yn lle yr *ag* yna.

*Nag a nac.*—Y mae nag neu nog i fod mewn cysylltiad âg ansoddair yn y ganolradd; Mwy nag ef, uwch nag ef, îs nag ef, harddach nag un ferch, prydferthach nag un dyn, gwell nag aur, gwerthfawrocach nag arian, &c. Fe ddichon i'r ansoddair a *nag* fod mewn rhai lleoedd yn lled bell oddiwrth eu gilydd; Y mae William wedi gwneud *mwy* o ddaioni, yn yr achos teilwng hwn, *nag* un dyn yn y plwyf yma; neu, Y mae William wedi gwneuthur *mwy* o ddaioni *nag* un dyn yn y plwyf, yn yr achos teilwng yma. Sylwer mai yr un berthynas sydd rhwng *mwy* a *nag* yn y ddwy enghraifft. Fe welir y geiriau hyn yn cael eu camleoli yn mhob argraffwasg sydd yn Nghymru, yn achlysurol, yr ym yn meddwl. Maent yn gywir yn y Beibl.

*Nac*, yn gysylltiad, Nid oes genyf nac ŷch, nac asyn, nac oen, nac aur, nac arian, nac unrhyw beth arall. Nac, yn negedydd, Nac ymrysonwch ar y ffordd, nac ymsenwch â'ch gilydd, &c.

*Yw ac i'w.*—Yw, berf, Efe yw y dyn.

*I'w* ardd. rhag., Un i'w faes, ac arall i'w fasnach. Fe wasanaetha *ydyw* yn lle *yw* yn mhob man mewn rhyddiaeth, ac y mae digon o wahaniaeth rhwng ydyw ac i'w; gwel mor anaddas fyddai dyweyd, Un ydyw faes, ac arall ydyw fasgnach. Hwn yw y gwr aeth ydyw dŷ; yn lle, Hwn ydyw y gwr a aeth idd ei dŷ. Fe wasanaetha idd ei, unig, ac idd eu, lluosog, yn lle i'w; megys, Un idd ei faes, ac

ereill idd eu masgnach. Y mae amryw Ramadegwyr da yn barnu mai gwell fyddai *u'w* yn lluosog, Un i'w faes, ac ereill u'w masgnach; pa fodd bynag, y mae y naill neu y llall yn llawer byrach a llyfnach nag *idd ei*, neu *idd eu*.

Yr *hwn, a pa un.*—Ni ddylai pa un, neu pa rai, &c., fod ond mewn gofyniad yn unig. Beius yw 'Dyma y ceffyl *pa un* a welais ddoe:' dylai fod, 'Dyma y ceffyl yr hwn a welais ddoe.' 'Dyma y bobl y rhai oedd yn y cae:' nid 'Dyma y bobl *pa rai* oedd (neu oeddynt) yn y cae.'

*Breninol, breinniol,* (o braint).—'Fe wnaed y Tywysog breiniol (Albert,) yn gyfreinniol yn ddiweddar; sef yn gydfreiniol a'r Frenines, a'i dirgel-gynghor, mewn rhyw bethau.' Yn freiniol, nid yn freninol, y ganwyd pawb. Fe welir breinniol yn lle breninol yn fynych.

*Nwyf, nwydd.*—Hylif yw *nwyf*; y *caled* hefyd yw *nwydd*. 'Y mae William yn gwerthu pob math o *nwyddau*; ond *nwyfau*, yn unig, a werthir gan Robert Jones, y fferyllydd.

*Gyda, gan.—Gyda;* y naill *gyda* y llall. *Gan;* y naill *gan* y llall. Fe ddefnyddir *gyda* yn Morganwg, mewn cannoedd o leoedd y dylai *gan* fod, megys, 'Nid oes *gyda* fi ddim gallu, ond y mae gyda fi ewyllys.' 'A oes *gyda* chwi newydd?' Nac oes *gyda* fi ddim heddyw.' 'A oes *gyda* chwi deulu?' 'Oes, y mae *gyda* fi wraig a phedwar o blant.' 'A oes *gyda* hwy ddigon o annghenrheidiau bywyd?' &c., &c. Genyf, genych, ganddynt, sydd i fod yn lle y *gyda* uchod.

*Hefyd, chwaith.—Hefyd,* yn gadarnhaol; *chwaith,* yn nacaol. 'Fe ddaethym i â'm brodyr *hefyd*; ond ni ddaeth fy ngwraig, na'm plant *chwaith*. Ni welsom neb yn rhoddi *chwaith* yn lle hefyd, ond fe welir *hefyd,* yn lle *chwaith* hyd yn nod mewn 'Beirniadaethau.'

*Bum, a buom.—Bum,* unig, 'Mi a *fum* yno. *Buom,* lluosog, 'Ni a *fuom* yno.' Y mae rhai ysgrifenwyr da yn euog o roddi *buom* yn lle *bum,* ond ni welsom neb yn rhoddi *bum* yn lle *buom.*

*Hwn, hon, hyn.—Hwn,* gwrywaidd unig,' 'Y gwr *hwn,* (nid y gwr hyn.) Gwall mynych yn Morganwg.

*Hon,* benywaidd' 'Y wraig *hon.*'

*Hyn,* cyffredin lluosog, 'Y gwyr *hyn,* y gwragedd *hyn.*'

*Yn, yn.—Yn,* yn arddodiad, o flaen y sain chwern, *Yn* Nghaerdydd, *yn* Mangor, *yn* Mhenfro, *yn* nhy, *yn* niwedd, &c.

*Yn,* y sain ysgafn, pan una a'r gair dylynol i wneud rhag-

ferf, megys pan wna ansoddair yn rhagferf, '*Yn* gyntaf, *yn* dda, *yn* ddrwg, *yn* ddoeth.' Enwau yn troi yn rhagferf, 'Gwneud y rhai nad ydynt bobl *yn* bobl.' 'Gwneud *yn* freninoedd.'

*Fe.*—Camddefnyddir *fe* yn fynych, megys, *Fe* wneuthym, *fe* wneuthost, *fe* wneuthom, *fe* wneuthoch, *fe* wnaethant, &c. Mi wnaethym, ti wnaethost, ni a wnaethom, &c., sy gywir. Pan fyddo *fe* yn rhagenw, gellir ei arfer ar ol dyma, dyna, &c.; pan yn rhagferf, o flaen berf oddefol, megys, Fe'm carwyd, &c.

"Gellir nodi, o fysg ereill, yr ymadroddion canlynol, a'r cyffelyb yn feius a chyfeiliornus, y rhai nad ynt i'w goddef mewn iaith rydd na barddoniaeth.

1. Annherfyniad, sef yw hyny, rhoddi yn mlaenaf yr hyn a ddylai fod yn olaf, megys, Efe a fagwyd ac a anwyd (yn lle a anwyd ac a fagwyd) y'Nghymru: claddwyd ef a bu farw farw (yn lle bu farw a chladdwyd) yn Lloegr. Pan helaethodd yr ysgol, cynyddwyd yr ysgoldy; yn lle pan gynhyddodd yr ysgol, helaethwyd yr ysgoldy.

2. Anmhriodoliad, yr hyn a fydd pan draws-enwir gair yn erbyn ei arwyddocâd priod; megys, Gwlaw direswm; Peth drwg cynddeiriog; Ffordd bell o'i hwyl.

3. Gwrthddywediad, sef yw hyny, bod un mewn ymadrodd yn gwrthddywedyd ei hun; megys, *Y gwr, y wraig, a'r plant, oeddynt yn unig yn y ty; torasant y dorth yn dri hanner*. Hefyd pan gymero un arno ddywedyd neu amlygu unrhyw beth, ac heb ddywedyd dim yn y diwedd; megys, Efe a fu byw holl ddyddiau ei einioes, yna bu farw.

Y mae rhai ymadroddion fel yn ymddangos eu bod yn gwrthwynebu eu gilydd, ac heb fod; megys, *Cofiodd iddo ollwng y peth yn angof; gwneuthur canwyllbren pres*: neu mewn barddoniaeth:—

Dros bryd na âd drws heb bren,
Dros brenio'r drws â brwynen.
G. I. Ll.

Llygaid a ddywaid i ddoeth
Synwyr, lle ni chais annoeth.—G. O.

*Gram. Robert Davies.*

# PENNOD IV.

## GWALLAU YN IAITH Y BEIBL.

Er fod llythyreniaeth, geiryddiaeth, a chystrawiaeth y Beibl yn dda ar y cyfan, eto y mae ynddo rai gwallau y dylid eu nodi, er addysg. Gwell genym nodi gwallau o'r Beibl nag o weithiau awdwyr adnabyddus, rhag briwio teimlad neb.

Ceir y gwallau canlynol, yn mysg ereill, cyfelyb, yn Meibl Peter Williams:—Na's, ne's, ni's; yn lle, nas, nes, nis: y'm, y'th, y'w; yn lle, ym yth, yw: capten, yn lle cadben: diben, yn lle dyben: paratoi, yn lle parotoi: i wared, yn lle i waered. Ni welir y gair hwn braidd byth yn cael ei ysgrifenu yn gywir yn Ngwynedd, ac os digwydd i ambell awdwr gofalus ei ysgrifenu yn gywir, sef i waered, darllenir ef yn annghywir, sef i wared. Cofier fod *ae* bob amser yn seinio yn *au*, wegys, i wa*u*red. Y mae y Deheuwyr yn lled ofalus i wahaniaethu rhwng, Efe ddaeth i waered —*he came down*, ac, Efe a ddaeth i wared—*he came* to *deliver*, wrth ysgrifenu, ac wrth ddarllen. Y mae llawer iawn hefyd o lythyrenau dyblyg hollol afreidiol yn y Beibl hwn, megys, dwy *m* yn camu, rhesymu, &c.: dwy *n* yn bynag, hyny, calonau, penaeth, prenau, ninau, &c.: dwy *c* yn acw, gwerthfawrocach, &c.: dwy *t* yn ato, atoch, &c.: dwy *r* yn tori, gyru; a *ch*wedi, yn lle *a*c wedi.

Wele isod ddau o argraffiadau gwahanol o'r Testament Newydd yn cael eu cymharu gan Gwalltair Mechain. Niw*aid*, niw*eid*, ac arall niw*ed*; y blaenaf yw y goreu: yfor*y*, yfor*u*; y blaenaf yw y goreu: dd*y*g, dd*u*g; y blaenaf yw y goreu. Twys, t*y*wys, twysen o ŷd, nid tywysen: cyn*h*auaf, cyneuaf; yr olaf, sef cyn gauaf, yn oreu: planigyn, plan*h*igyn—gormes yw yr *h*. A thaenwyd, a thanwyd; goreu yw y blaenaf. Hyd yn *n*od, hyd yn *o*ed. Y mae rhyw nod gan y cyntaf i gyfeirio ato, nid oes dim yn yr ail, (ysgrifenir hwn weithiau yn hyd yn *od—nod* yn ddiau yw y goreu.) Tyngedu, tyng*h*edu—*h* yn ormes. Byddar*iaid*, bydd*air*— y cyntaf yn fwy dealladwy. Trwy gra*i*, trwy gra*u*—gwaed yw crau, ac yn fwy priodol at flaen nodwydd na chrai. Olewwydd, mwy cyflawn nag olewydd. Y geiriau maufi, mau fi, yn well: gwell na'r ddau ar ymyl y ddalen, sef fy ngeiriau

i. Brenin Iudea, yn well na frenin Judea: ychain, yn well nag ychen: arysgrifen, yn well nag arsgrifen: anghen yn well nag angen: fel gwyneb angel, yn well nag fel wyneb: thriugain yn well na thrugain: darllen yn well na darllain: ofelwch, yn well nag ofalwch; y'ch bernir, nid ych bernir: i dy Dduw, nid i dy Duw: tra byddwyf, nid tra byddaf: tra byddo, nid tra byddwyf, tra byddai, tra byddo,—(blaenddawd) diddysgyblaeth yw *tra*, nid yw yn cyfnewid *b*, *d*, *g*, *ll*, *m*. Y mae yn cyfnewid *c*, *p*, *l*, i'r sain feddal. Eithriaid, tragywyddol, traddodi.) Glanh*aer* di, nid glanh*eir* (Math. viii. 3:) disymwth, yn well na disymmwth: gau dystion, yn well nag audystion: daiar gryn, yn well na daiargryn: glaniasant, yn well na glanniasant: y genedlaeth hon, yn well na'r genedlaeth yma: gwedd-newidiwyd, arogl-darth, ddi-wniad, oddi-isod, oddi-uchod, yn well na gweddnewidiad, arogldarth, ddïwnïad, oddiuchod: ar roddi i ni, nid a'r roddi—gwell eto yw Dr. Morgan, ar ei roddi: gwastadedd, yn well na gwastatir, ac na gwastattir: at *eich* gilydd, nid at *eu* gilydd, Luc xxiv. 17.: weddilliasid, yn lle weddillias*ai*, Ioan vi, 13.: can gynted, yn well na c*y*n gynted; (eithriad, cyn-ddrwg:) ymdwymo, nid ymdwym*n*o: ar y lan, yn well nag ar y lan*n*: y'n ganed, nid yn ganed: deisyfasoch, yn well na *d*deisyfasoch, mo Joseph. Gellir hebgor *mo*, Act. vi. 18: i Damascus yn well nag i Ddamascus. Gadawer Paul, Barnabas, Babilon, Gath, Galilea, heb eu newid, am mai geiriau estronol ydynt. Boneddigaidd yw dangos parch i ddieithriaid. Di-dyst, yn well na didyst. Cymhwys iawn y gwahaniaeth rhwng *iachawdwriaeth* yr enaid trwy Grist, ag *iechydwriaeth* y corph, Act. iv. 22. Gwel y "Gwyliedydd" am Mawrth, 1829.

---

## PENNOD V.

### NEILLDUOLION Y GYMRAEG.

Y MAE amryw neilldulion *(peculiarities)* i bob iaith: gwnaf nodi rhai o'r cyfryw yn y Gymraeg.

I. *Yr arfer o osod perwyddiad* (verb) *yn y rhif unigol i enwad* (nominative) *yn y rhif luosog, pan y rhagflaeno ef.*

Gwneir hyn yn gyffredin, ac yn wir *bob amser*, hyd a allaf weled, oddieithr pan y byddo y rhagenw *hwy*, yn enwad, fel

y gwelir yn yr ymadroddion a ganlynant:—

Daeth y lluoedd yn nghyd,—nid *daethant.*
Ymgasglodd y bobloedd,—nid *ymgasglasant.*

Ond

Daethant hwy—ymgasglasant hwy.

Darfu y Dr. Pugh ganfod yr angysondeb hwn, ac yn ei Ragymadrodd i 'Goll Gwynfa,' gochela ef trwy droi y perwyddiad i'r rhif luosog: ond nid yw hyn ond diddymu un o neillduolion y iaith. Arferiad *cyson* yw, y dylid ei olygu fel peth neillduol; a dylai aros felly heb un cyfnewidiad. Nid oes ond *un* modd o ymadroddi i'r gwrthwyneb; yr hyn a enwais eisioes. Ond nid goddefol yw hyn, oddieithr dan yr amgylchiad a nodwyd, sef, pan *ragflaeno* y perwyddiad yr enwad. Gwall ieithadurol, fel y tybiaf, yw cymysgu y rhifau pan y byddo yr enwad yn rhagflaenu y perwyddiad, am mai arfer gyffredin y iaith yw cysoni y rhifau pan fyddo y geiriau yn y drefn hon.

Y lluoedd a ddaethant ynghyd,—nid, a *ddaeth.*
Y bobloedd a ymgasglasant,—nid, a *ymgasglodd.*

Nid cywir gan hyny yw yr ymadrodd canlynol, gan nad yw y rhifau yn cyduno, ac y mae llawer iawn o'r fath i'w canfod yn ein cyfieithiad presenol o'r Beibl:

I'r rhai a ofyno *(ofynant)* ganddo. *Luc* xi, 13.
Y dyddiau a ddaw *(a ddeuant).* ——xvii, 22.

Dylai yn ddiau y fath wallau gael eu hadgyweirio.

II. Yr *arfer o ddefnyddio y* perwyddiad *cynnorthwyol heb* un enwad iddo, *pan ddefyddia yr Hebraeg a'r Groeg yr enwad, yn enwedig y rhagenw, heb un perwyddiad.*

Amlygir hyn yn yr ymadroddion a ganlynant, ynghyd a llawer eraill a ellir enwi:—

| | |
|---|---|
| Estyn y waywffon *yr hon* yn dy law, Jos. viii, 18. | *Hebraeg.* |
| Estyn y waywffon *sydd* yn dy law. | *Cymraeg.* |
| Graslawn a thrugarog *ti*, Neh. ix, 31 | *Hebraeg.* |
| Graslawn a thrugarog *ydwyt.* | *Cymraeg.* |
| *Nyni* mewn cyfyngder mawr, Neh. ix, 37. | *Hebraeg.* |
| *Yr* y*dym* mewn cyfyngder mawr. | *Cymraeg.* |
| Fel yr angylion *y rhai* yn y nefoedd Marc. xii. 25. | *Groeg.* |
| Fel yr angylion *sydd* yn y nefoedd. | *Cymraeg.* |

Y saith ysbryd *y rhai* ger bron, &c., Dat. i. 4. *Groeg.*
Y saith ysbryd *sydd* ger bron, &c. *Cymraeg.*

Darfu ein cyfieithwyr yn y manau uchod gadw neillduoliaeth y iaith, er nad yw y cyfieithiad yn llythyrenol: ac yn iawn y gwnaethant felly. Eu hunig fai oedd gosod *sydd—ydwyt—yr ydym* yn y tri lle cyntaf mewn llythyrenau Italaidd, fel pe na buasai un ymadrodd cyfatebol iddynt yn yr Hebraeg. A gwnaethant yn iawn yn y ddau le olaf trwy beidio eu gosod felly, gan fod yn y Groeg eiriau cyfatebol, er nad yr un. Ond mewn llaweroedd o fanau rhoddant yr enwad i mewn ynghyd a'r perwyddiad heb un achos, gan anghofio nad oes un angen o hyn yn y iaith Gymraeg. Yn Gen. iii. 9, "Pa le ti?' yw yr Hebraeg. 'Pa le yr wyt?' a ddylai fod y Gymraeg. Neillduaeth yr Hebraeg yw 'ti,' heb 'yr wyt;' fel ag y mae neillduaeth y Gymraeg yw 'yr wyt,' heb 'ti.' Gosod 'ti' i mewn nid yw ond afreidiol. Y mae aneirif o leoedd ag y gosodir *sydd—yw—oedd, &c.*, mewn llythyrenau Italaidd, yn nghyd a'r enwad, pan na ddylent fod felly, a phan na ddylid osod yr enwad i mewn.

III. *Yr arfer o uno y* rhagddodiad *a'r* rhagenw.

Ni wneir hyn yn y Saesneg, na'r Lladin, na'r Groeg; ond gwneir hyn yn yr Hebraeg yn gystadl ag yn y Gymraeg. Y drefn a gyfeiriaf ati a welir yn y geiriau canlynol:—*Iddynt—oddiwrth—hebddi—trostynt*, &c., &.

IV. *Yr arfer o ddefnyddio* rhagenwau yn ddyblyg.

Neillduoliaeth y Gymraeg yw hyn, gan nad yw yn arfer mewn un iaith arall adnabyddus i mi. Defnyddia un o flaen yr enw ac ar ei ol, megys, *ei* air *ef—eu* geiriau *hwynt—dy* iaith *di—eich* iaith *chwi*, &c.

Ond er bod y Gymraeg yn caniatau y fath arfer, eto defnyddir hi yn aml yn hollol afreidiol. Tybiaf na ddylid arfer y ddau ragenw, oddieithr bod pwys neillduol yn perthyn iddynt, sef, mewn modd o wrthwynebiad, neu pan byddo rhyw beth arbenig yn cael ei nodi. Ni ddylid ysgrifenu, ei air *ef*, oddieithr bod enwwedigol at y dyn y byddom yn llefaru am dano, na chwaith, eu geiriau *hwynt*—dy iaith *di*—eich iaith *chwi*, &c., oddieithr dan y fath amgylchiad. Nid yw sain na rhediad un dryll ymadrodd yn gofyn hyn, os gofalir ei eirio yn drefnus. Nid oes brin un peth, o ran iaith, ag y mae ein cyfieithiad presenol o'r Beibl yn fwy beius, nag yn

hyn. Arferir y ddau ragenw yn afreidiol mewn aneirif fanau; ac yn aml yn y fath fodd ag i beri cyd-donedd anhyfryd yn yr ymadrodd, ac anhawsdra o ran iawn osod y pwyslais. Gosodaf i lawr un man neillduol, gan y dengys yr afraid hwn yn dra hynod, ynghyda'r sain gyd donol a wna wrth ddarllen :—

'Drylliwch hefyd *eu* hallorau *hwynt*, a thorrwch *eu* colofnau *hwynt*, a llosgwch *eu* llwynau *hwynt* â thân, a thorrwch gerfiedig ddelwau *eu* duwiau *hwynt*, a dinystriwrch *eu* henwau *hwynt* o'r lle hwnw.' Deut. xii. 3.

Ni ddylai '*hwynt*' fod yn *un* o'r lleoedd hyn: rhoddir y gair *bum*' gwaith heb un achos. Nid ar 'hwynt' y mae y pwyslais i fod, gan yr enwir y bobl yn neillduol yn yr adnod flaenorol, ond dylai fod ar y *pethau* a enwir, sef 'allorau,' &c., &c.

Ynghyda'r afraid hwn y mae un arall o ran y rhagenwau, sef eu gosod o flaen perwyddiad pan nad oes angen o hyny. Y mae y Gymraeg yn yr ystyr hwn yn debyg i'r Lladin, Groeg, a'r Hebraeg, ac nid fel y Saesoneg; y mae yn dangos y rhagenw yn nherfyniad y perwyddiad. Y mae ysgrifenwyr presenol, yn gystadl a chyfieithwyr y Beibl, yn feius yn hyn, sef trwy ddefnyddio y rhagenw yn afreidiol. Nid oes un achos o wneud hyn, ond dan y cyffelyb amgylchiad ag y defnyddir y rhagenw yn ddyblyg. Nid oes un o ugain o'r geiriau, *Mi—ti—efe—ni—chwi—hwynt*, a geir yn ein cyfieithiad, yn y ieithoedd gwreiddiol: ac nid oes angen o honynt yn y Gymraeg.

V. *Yr arfer o ddefnyddio y perwyddiad* heb *yr enwadau rhagenwol.*

Nid yw hyn yn beth neillduol ond o ran y ieithoedd mewn arferiad presenol yn ngorllewyn y byd, gan mai peth cyffredin yw yn y ieithoedd dysgedig, Groeg a Lladin, ac hefyd yn yr Hebraeg. Anaml iawn yr arferir rhagenwau personol, megys *mi*, *ti*, *&c.*, yn un o'r ieithoedd hyn: nid un amser oddieithr bod cyfeiriad neillduol yn cael ei wneuthur. Nid amgen y *dylid* gwneuthur yn y Gymraeg, gan ei bod yn hollol ddealladwy, yn fwy grymus a chryno, trwy gadw y fath arferiad. Yn ol a allaf farnu, dyma yr *hen* arfer, pan oedd y iaith yn ei blodau ; a gwneir hyn yn bresenol yn fwy helaeth nag yn yr amserau diweddar. Y mae y Saesneg, fel y tybiaf, wedi bod yn foddion i ddwyn i mewn yr arfer

hon o osod i lawr y rhagenwau, trwy y cyfieithiadau a gawsant eu gwneuthur: ond arfer yw ag sydd, yn ol fy marn i, yn anharddwch ac yn wanychiad i'r iaith, ac yn hollol afreidiol o ran synwyr ac eglurder. Dangosaf hyn trwy osod i lawr ddau fan o'n cyfieithiad cyffredin, un o'r Hen Destament, a'r llall o'r Newydd. Ni wnaf ond agor y Beibl er eu cael, gan eu bod mor gyffredin.

Eto efe a edrychodd pan oedd ing arnynt,
Pan glywodd efe eu llefain hwynt:
Ac efe a gofiodd ei gyfamod â hwynt
Ac a edifarhaodd yn ol lluosowgrwydd ei drugareddau:
Ac a wnaeth iddynt gael trugaredd
Gan y rhai oll a'u caethiwai.—*Ps*. cxi. 44—46.

Nid yw *efe* yn un o'r lleoedd hyn yn y iaith wreiddiol, ac nid oes angen o hono. Hirhaa yr ymadrodd heb un achos. Y mae dau o wallau ereill yn yr adnodau hyn, a soniais am danynt eisioes, sef *hwynt* ar ol *llefain*, gan wneud y rhagenw yn ddyblyg heb achos,—a *chaethiwai* yn lle *caethiwent*, yn croesi y rhifau. Meddyliaf y byddai y cyfieithiad canlynol yn gyflawn mor ddealladwy, yn fyrach, yn daclusach, ac yn well yn mhob ystyr:—

Etto edrychodd pan oedd ing arnynt,
Pan glywodd eu llefain;
A chofiodd ei gyfamod â hwynt
Ac edifarhaodd yn ol amledd ei drugareddau:
Ie, gwnaeth iddynt gael trugaredd
Gan y rhai oll a'u caethiwent.

Canfyddir yr un bai yng nghyfieithiad y Testament Newydd o'r Groeg, lle y rhoir y rhagenwau i mewn mewn llawer iawn o fanau heb un angen o honynt; megys yn yr adnod a ganlyn:—

Ac wedi ymaflyd yn llaw y dall, *efe* a'i tywysodd ef allan o'r dref; ac wedi iddo boeri ar ei lygaid *ef*, a dodi ei ddwylaw arno, *efe* a ofynodd iddo, a oedd *efe* yn gweled dim.—Marc viii. 23.

Dyma dri *efe* ac un *ef* heb eu heisiau, yn llwytho yr ymadrodd heb un achos. Niweidiant hefyd y sain gan fod yr un yn dyfod mor aml. Gellir cyfieithu yr adnod fel hyn:

Ac wedi ymaflyd yn llaw y dall, tywysodd ef allan o'r dref;

ac wedi poeri ar ei lygaid a dodi ei ddwylaw arno, gofynodd iddo, a oedd efe yn gweled dim.

VI. *Y drefn o osod yr* enwad, *y* perwyddiad, *a'r* gwrthddrych.

Y lle cyntaf yn aml a osodir i'r perwyddiad, yna yr enwad, ac wedi hyny y gwrthddrych; megys yn yr ymadrodd hyn,—'A chofiodd Pedr air yr Iesu.' Y drefn gyffredin yn yr Hebraeg yw hon, yn enwedig ar ol gair cyssylltiol, a gellid ei harferyd mor aml yn y Gymraeg. Gwelir hyn yn yr ymadroddion canlynol, y rhai a osodir i lawr yn ol eu trefn yn yr Hebraeg; ac unol yw ag arferiad y Gymraeg hefyd:—

A galwodd Duw y goleuni yn ddydd. *Gen.* i. 5
A dygodd y ddaear egin. —— i. 12.
A bendithiodd Duw hwynt. —— i. 22.
Felly creodd Duw y dyn ar ei ddelw. —— i. 27.

Pe cymerid y geiriau, un ar ol y llall, yn ol eu trefn yn yr Hebraeg, a chan mwyaf yn y Groeg hefyd, byddai y cyfieithiad yn fwy Cymreigaidd na'r un presenol; o herwydd yn y cyfieithiad cyffredin, dilynir, fel y barnaf y iaith Saesneg yn yr ystyr hyn, yn hytrach na'r ieithoedd gwreiddiol. Gwelir hyn yn eglur yn y lle hwn a ganlyn: trefn y Saesneg a gedwir, ac nid yr Hebraeg:—

A'r Arglwydd Dduw a luniasai y dyn o bridd y ddaear, ac a anadlasai yn ei ffroenau ef anadl einioes: a'r dyn a aeth yn enaid byw.—*Gen.* ii. 7.

Rhoddaf i lawr gyfieithiad cywir, gan gadw trefn y geiriau yn gyfangwbl fel ag y mae yn yr Hebraeg:—

A lluniasai yr Arglwydd y dyn o bridd y ddaear, ac anadlasai yn ei ffroenau anadl einioes: aeth y dyn yn enaid byw.

Dyma, yn ol fy marn i, well Cymraeg, a thaclusach a chadarnach modd o eiriadu, gan y gadewir allan amryw o eiriau bychain byrion, y rhai a wanhant y iaith, heb chwanegu dim at ystyr nac eglurder.

VII. *Trefn gosodiad y sylweddeiriau, pan fyddo* un *yn ymddibynu ar y* llall.

Dynodir yr ymddibyniad hwn, a feddyliaf am dano, yn y Groeg a'r Lladin trwy derfyniad yr ail air; megys, UIOS THEO*u*, FILIUS DE*i*, neu yn Saesneg, gan *of*, SON *of* GOD;

ond nid oes dim yn y Gymraeg onid cyflead agos y gair, megys, *Mab Duw*, heb un cyfnewidiad na chwanegiad. Nid oes un iaith arall ag a wn i am dani, neu a glywais am dani, yn gwneuthur yr un peth, onid yr Hebraeg. Y mae y Gymraeg a'r Hebraeg yn hyn, fel mewn llawer o bethau eraill, yn cyduno yn hollol. 'Solomon, mab Dafydd, brenin Israel.' Felly y ceir y geiriau yn Hebraeg, heb un peth yn dyfod ar ol neu yn myned o flaen y gair *Dafydd*, neu *Israel*, er dangos eu hymddibyniad neu eu cysylltiad â *mab a brenin*, ond bod eu cyflead yn nesaf iddynt. Dangosir y cysylltiad yn wir weithiau trwy roddi *o* rhwng y ddau enw, megys 'gobaith o fywyd tragwyddol,' ac nid fel ei gwelir ambell waith, 'gobaith y bywyd tragwyddol.'

Gallwn enwi neullduolion eraill, megys *cyflead yr ansoddair*, hyny yw, yn fynychaf, ar *ol* y sylweddair, megys *dyn da —Duw Hollalluog, &c.*, ac nid *Hollalluog Dduw*, fel y ceir yn aml yn ein Llyfr Gweddi Cyffredin;—*cysylltiad gair unigol a rhifenwau*, megys, *dau ddyn—saith merch—ugain cerbyd*, a'r cyffelyb; yr hyn sydd yn bod hefyd yn yr Hebraeg;—a'r arfer *o roddi ateb i ofyniad*, megys, *A wnai di y peth hwn? Gwnaf*, gan ddefnyddio y perwyddiad a arferir wrth ofyn. Ond nid af yn mhellach yn bresenol, gan obeithio y bydd i'r hyn a grybwyllais eisioes i beri i ddarllenwyr y *Gwladgarwr* sylwi ar nodweddau arbenig ein iaith, y rhai ydynt, fel y tybiaf, yn addurn ac yn ragoroldeb iddi.

CRITICUS.

O.Y.—Anghofiais nodi un peth o ran y perwyddiad. Y mae rhai yn Gymraeg o ansawdd hynod y rhai Hebraeg. Y mae yr un perwyddiad ambellwaith yn myned trwy y fath dreigliadau fel y gellir ei alw yn weithredol (*active*)—yn oddefol (*passive*)—yn achosol (*causative*)—ac yn adgyrchol (*reflective*), megys, Serchu—serchwyd—sercheiddio—ymserchu;—Pryderu—pryderwyd—pryderuso (gwneud yn bryderus)—ymbryderu. Nis gwn am un iaith a wna hyn ond ein iaith ni a'r Hebraeg.

Y mae addysg ddwbl yn y traithawd uchod. Y mae y cyfarwyddiadau a geir oddiwrtho yn dra gwerthfawr—synwyr cryf yn mhob brawddeg, ond y mae *dull* yr ysgrifenydd i'w ochel—ysgrifenydd truenus ydyw—un yn rhoddi addysg dda mewn iaith wael. Engraffau: 'Gwnaf nodi rhai o'r cyfryw,'—nodaf rai, &c., ddylasai fod yma. 'Hyd a allaf

weled,'—hyd y gallaf weled. 'Darfu y Dr. Pugh ganfod,'—canfu y Dr. Pugh. 'Nid oes ond *un* modd o ymadroddi i'r gwrthwyneb; yr hyn a enwais eisioes, ond nid goddefol yw hyn,' &c. Tywyll iawn; ac 'ond' 'ond,' 'nid' 'nid,' 'hyn,' 'hyn,' yn methu ffoi o swn eu gilydd, yr hyn a arwydda ddiffyg mawr mewn ysgrifenydd. 'Darfu ein cyfieithwyr yn y manau uchod gadw,' &c.,—Cadwodd ein cyfieithwyr, &c. 'Angen o hyn,'—anghen am hyn. 'Pan na ddylid osod,'—Pan na ddylid gosod. '*Yr arfer o ddefnyddio* rhagenwau yn ddyblyg,'—yr arfer o roddi gormod o ragenwau. 'Anhawsdra o ran iawn osod y pwyslais,'—anhawsdra i iawn osod y pwylais. 'Un arall o ran y rhagenwau,'—un arall perthynol i'r rhagenwau. 'Pan nad oes angen am hyn,'—yn ddiangenrhaid. 'Yr ystyr hyn,'—yr ystyr hwn. 'I'r Lladin, Groeg, a'r Hebraeg,'—I'r Lladin, *y* Rroeg, neu *yr* Hebraeg. 'Y mae yn dangos,'—dengys. 'Y mae ysgrifenwyr presenol,'—y mae *yr* ysgrifenwyr presenol, &c. 'Angen o honynt,'—anghen am danynt. 'Heb yr enwadau rhagenwol,'—heb ragenwau. 'Nid yw hyn yn beth neillduol ond o ran y ieithoedd mewn arferiad presenol yn ngorllewyn (ngorllew*in*) y byd, gan mae (gan *mai*,) peth cyffredin yw yn y ieithoedd dysgedig, Groeg a Lladin, ac hefyd yn yr Hebraeg.' Heb law y gwallau llythyrenol a geiryddol a welir yn y frawddeg uchod, y mae hi mor dywyll i ni fel nas gallwn anturio cynyg ei halleirio. Wedi y cwbl fe geir meddwl y beirniad allan yn ei engraffau:—'Hirhaa,'—hirha. 'Angen o hono,'—anghen am dano. 'Heb eu heisiau'—heb un achos,'—dau ddywediad yr un ystyr. Gadawer un o'r ddau allan. 'Newidiant hefyd y sain gan fod yr un yn dyfod mor aml.' Tywyll fel y fagddu. 'Cyssylltiol' 'cysylltiad,' anngysondeb. Onid yw yn resyni na ddysgai Cymry dysgedig, fel y *Criticus* hwn, ysgrifenu Cymraeg yn fwy rheolaidd nag y gwelir yma. Nis gwyddom yn y byd pwy ydyw, am hyny yr ydym yn gwneud defnydd rhyddach o hono, fel esiampl i'w ddylyn, yn ei wersi defnyddiol, ac i'w ochel yn ei *ddull* trwsgl o ysgrifenu. Ail sylwer ar ei ysgrif. Gwelir yn '1.' fod yr iaith yn fwy cydgerddol wrth ddodi y gosail yn gyntaf, ac y mae yn fwy athronaidd hefyd. Dan yr 'II.' gwelwn fel y mae y Gymraeg yn rhagori ar yr Hebraeg a'r Groeg. Dan 'IV.' sylwir yn dra phriodol ar 'hwynt: y mae adnod debyg yn Ruth i. 18; 'Pan welodd hi ei bod hi wedi ymroddi i fyned gyda hi, yna hi a beid-

iodd a dywedyd wrthi hi,—hi bum' waith !! Onid gwell fel hyn, 'Pan welodd Naomi fod Ruth yn ymroddi i fyned gyda hi, hi a dawodd.' Dan 'VI.' y mae yr awdwr yn croesi ychydig ar ei reolau ei hun dan y pen '1.' Trefn y Saesaneg yw yr oreu pan fyddo y sain yn esmwyth.

---

## PENNOD VI.

### GEIRIAU O GYFELYB SAIN A GWAHANOL YSTYR.

Ab, mab
Ab, epa
Anghwanegu, cynyddu
Anwanegu, lleihau
Arail, amddiffyn
Araul, goleuedig
Areithwyr, llefarwyr
Aireithwyr, uchelreithwyr
Badd, ymdrochfa
Baedd, mochyn
Baidd, heriad
Bradwr, llawrudd
Brawdwr, barnwr
Bru, croth
Bry, uchel
Brud, hanes
Bryd, meddwl
Budd, elw
Bydd, a ddel
Bus, y wefus
Bys, un o'r bysedd
Cad, rhyfel
Ced, rhodd
Caboli, harddu
Cyboli, baeddu
Cael, caffael
Cail, corlan
Caul, cylla llo
Calon, dan y fron
Galon, gelynion
Canaid, can
Caniedydd, canwr
Cenadydd, negeswr
Celi, Duw
Celu, cuddiaw
Clud, cerbyd
Clyd, cysgod
Crud, i blentyn
Cryd, crynu
Cyfhwrdd, cyd-darawiad
Cyffwrdd, cydgychwyn
Cymru, y wlad
Cymry, y genedl
Cymun, cymundeb
Cymyn, ewyllys
Cymynu, tori coed
Cymynu, gwneud ewyllys
Cynud, coed tan
Cynyd, cyfodi
Cywain, cludo
Cywen, iar fach
Cyweiriad, trwsiad
Cywiriaid, ffyddloniaid
Chwaeth, blas
Chwaith, cysylltiad
Daw, dyfod
Daw, mab ynnghyfraith
Delid, mwn
Delyd, dyfod
Dieithr, estron

Difeth, anfethedig
Dyfeth, methedig
Diffaeth, bwriad allan
Dilid, heb lid
Dilyd, canlyn
Dilin, pur
Dilyn, peidio glynu
Dylyn, glynu
Diriaid, drygionus
Diraid, heb eisiau
Dirnad, deall
Dyrnaid, llonaid dwrn
Dul, tarwaiad
Dyl, dyled
Eilfydd, yn ail
Elfydd, elfen
Esgid, am droed
Esgud, dyfal
Ewin, ar y bys
Ewyn, ar y dwfr
Ffin, terfyn
Ffun, anadl
Ffyn, pastynau
Ffurf, agwedd
Ffyrf, praff
Ffust, i ddyrnu
Ffyst, cyflym
Grug, yn tyfu
Gryg, gerwindeb
Gwae, gofid
Gwau, gweoedd
Gwaedd, llef
Gwaudd, tyrchyn
Gwaudd, merch yn ngyfraith
Gweliau, archollion
Gwelyau, i gysgu
Gwisg, dilledyn
Gwysg, i waered
Gwiw, hardd
Gwyw, gwywedig
Gwyrf, dihalen
Gwyryf, morwyn

Hael, rhwydd
Haul, ffynon goleuni
Hil, epil
Hul, gorchudd
Hir, maith
Hur, cyflog
Hud, twyll
Hyd, hirder
Hudd, huddo
Hydd, carw
Hun, cwsg
Hun, hunan
Hyn, hynach
Hyn, hyny
Hwnt, draw
Hwynt, hwy
Iachawdwriaeth, yr enaid
Iechydwriaeth, y corff
Llawrudd, lladdwr
Llawrydd, hael
Lleian, mynaches
Lliain, i'w wisgo
Llus, grawn
Llys, brenindy
Maidd, diod
Maedd, llawgell
Mael, elw
Mail, cwpan,
Megin, i chwythu
Megyn, plentyn
Melin, i falu
Melyn, lliw
Milod, bwystfilod
Mulod, asynod
Mud, dodrefn
Mud, disiarad
Munud, ystym
Mynud, cymdeithasgar
Mynyd, o amser
Mynu, rhaid
Myny, i fyny
Pob tu, pob ochr

Pob ty, pob anedd.
Pridd, y ddaiar
Prudd, prudd-der
Rhagdybiad, rhagdybiaeth
Rhagdybied, rhagdybio
Rhagllaw, ger llaw
Rhaglaw, llywydd
Rhu, rhuad
Rhy, gormod
Rhudd, coch
Rhydd, rhwydd
Rhuddion, eisin
Rhyddion, dirwym
Sill, rhan o air
Syll, trem
Sudd, nodd
Sydd, yn bod
Sylfan, y lle
Sylfaen, y maen isaf
Sylfon, testyn
Taenu, lledu
Tannu, tantio
Talaeth, rhandir
Talaith, am y taloen
Taran, gyda mellten
Tarian, mewn rhyfel
Taren, darn o dir
Tirfion, iraidd
Tirion, hawddgar
Traeth, o dywod
Traith, traithawd
Tri, rhifnod
Tru, truenus
Try, troi
Tu, ochr
Ty, anedd
Twys, twysen
Tywys arwain
Uch, uchel
Ych, eidion
Yntau, rhagenw
Ynte, rhagferf

## PENNOD VII.

### GEIRIAU O'R YSGRYTHYR.

Adolwyn, atolwg
Afrllad, teisen denau
Alch, *grate*
Alegori, cyffelybiaeth
Aleluia, molwch Dduw
Almon, cuddiedig
Almugim, pren arogl-ber
Aloes, pren o'r enw
Amber, marworyn
Amethyst, maen
Amneidio, awgrymu, winció
Amrwd, lledoer
Amyn, oddieithr, ond
Anaele, erchyll
Anathema, esgymunedig
Anelwig, cynffurf
Anhywaith, cyndyn
Annhymig, anamserol
Anis, ffenigl
Anwe, edef traws ystof
Argae, dyfrddor
Arholion, gofyniadau
Arweddwyd, arweiniwyd
Arwyl, galar
Atteg, a gynnalia
Athrywynwr, heddychwr
Ballegrwyd, cored
Barcer, lledrwr,

Bastardd, un ordderch
Beryl, maen
Boglyn, bogail-gwlwm
Bolldeidiau,, paladr, corsen
Braisg, tew, brâs, anferth
Breichled*au*, gwisg braich
Bresych, *cabbage*
Briwfwyd, briwsion
Briwydd, mân-goed
Brudwyr, proffwydwyr
Bul, henaint
Büal, ych gwyllt
Bulwg, chwyn
Bucled, tarian
Bwhwman, anwadalwch
Cabol, llyfn
Cadnaw, llwynog
Callestr, careg dân
Cameg, darn o gant olwyn
Camphir, pren perarogl
Carbuncl, maen
Celwrn, cunog, crwg
Cenfaint, yr epil oll
Cigwain, fforch fechan
Clindarddach, clecian
Cloren, cynffon
Cochl, mantell
Corban, rhodd i Dduw
Corbys, rhyg, yd
Cornet, corn chwythu
Corus, 45 galwyn
Cronglwyd, pen ty
Cufydd, o'r elin i'r birfys
Curio, teneuo
Cwcyllau, penwisgoedd
Cwmin, llysieuyn
Cwrel, llysiau y llongwr
Cwrlid, ar wely, gorchudd
Cwtws, coelbren, *lotyn*
Cyfathrach, perthynas
Cyflafaredd, cytundeb
Cyhwfan, nithiaw, ysgwyd
Cythlwng, ymprydiad
Cytal, cyd-drigo
Cywain, arwain, cario
Chwegr, mam yn nghyfraith
Chwegrwn, tad yn nghyfraith
Dadleudy, llys barn
Dadwnio, gwaethygu
Darbod, rhagofalu
Dawon, meib yn nghyfraith
Diamdlawd, llawnder
Diandlawd, tlawd
Didwn, cyfa
Diesgeulus, gofalus
Difefl, di warth
Diferlif, gwaedlif
Diffuant, didwyll
Dihenydd, di ddechre
Diofryd, adduned
Dincod, ias daint
Dirus, diofn
Disperod, cyfeiliorn
Dropsi, dyfrglwyf
Dulio, baeddu
Dwthwn, diwrnod
Dwyfroneg, gwisg y fron
Dyddfu, llesgäau
Dygyfor, ymchwyddo
Dyheuad, anadl gaeth
Dyniawed, llo blwydd, ych
Dysbaidd, ystafellydd
Dysyml, tra da
Dyweddio, amod priodas
Ebargofi, annghofio
Ebran, dognbryd anifail
Edfryd, gorphen
Efryddion, rhai anafus
Eiriach, arbed
Encyd, cryn ffordd
Eres, rhyfedd
Erfid, ymladd
Ernes, gwystl
Erthyl, un cyn ei amser

Esgeiriau, coesau
Ethnig, cenedlddyn
Eunuch, dysbaidd
Euroclydon, dwyreinwynt
Ewigod, ceirw
Ffacbys, man bys
Ffaig, dyryswch
Fals, twyllodrus
Fermilion, enw lliw, sinopr
Ffest, cyflym
Ffetan, cwd
Ffoaduriaid, crwydriaid
Ffolenau, morddwydydd
Ffumer, simne
Ffun, anadl
Gagendor, llynclyn
Garan, y gwddf cryg
Garlantau, coronbleth o flodau
Gefyn, llyffether
Genfa, ffrwyn
Germain, gruddfan
Geudab, celwydd
Gloddest, cyfeddach
Goddaith, tanllwyth
Gorddiwes, dal
Gofwy, ymweliad
Goglud, ymddiried
Goleufynag, eglurhad
Golosgi, deifio
Gorsin, post drws
Gortho, gorchudd
Gwaddol, cynysgaeth
Gwalch, hebog, cenlli goch
Gwasarn, llaesodr
Gwehenydd, tywalltwr
Gwelwlas, glas gwan
Gwilliad, crwydryn
Gwinwryf, gwasg-win
Gwrdd, cadarn
Gwreng, dyn cyffredin
Gwrhyd, hyd gwr
Gwynfydau, cynddaredd

Gwys, galwad
Gwystloriaeth, rhodd, gwystl
Haig, lluaws
Haïach, yn fynych
Helm, cap haiarn
Herlod, bachgen
Herlodes, geneth
Herwr, ffoadur
Hespenau, bachau gafael
Hoced, twyll
Hocys, danadl
Hoenyn, croglath
Hydd, carw, ewig
Ifori, daint cawrfil
Insel, *sel*, nod
Isgell, cawl, potes
Lladmerydd, dëonglwr
Llawruddiog, llofruddiwr
Lleng, nifer mawr
Lleithig, lle troed
Llesmeirio, llewygu
Llesteirio, atal
Llindagu, gwasgu cêg
Llindys, pryf cadachog
Locust, ednogydd
Llodrau, *trowsers*
Llogail, trwst
Lluest, ty achlysurol
Lluman, baniar
Lluryg, pais ddur
Llugur, perl
Llyma, dyma
Llyna, dyna
Llysu, gwrthod
Llywethan, dyrneidiad
Madrondod, y bendro
Mail, cawg, powl
Mandragorau, pompiwn
Manna, bara o'r nef
Marmor, mynor, maen
Masweddol, mwythus
Meflau, gwrthuni

Meitr, pen-guwch
Memrwn, croen
Menybr, carn
Merwino, ewinrew, iaso
Merywen, eithinfedd
Milet, llysieuyn
Milyn, anifail bychan
Mintai, tyrfa
Misyrnau, arfau minio
Misyriad, mis oed
Moledau, penwisg
Molestu, trallodi
Morter, llestr pridd
Morwyndod, diweirdeb
Murmur, tuchan
Mwlwg, us, sothach
Mwnwgl, gwddf
Myrtwydd, pren hardd
Myswrn, gorchudd gwyneb
Namyn, ond
Napcyn, cadach
Nard, llysieuyn.
Nitr, *saltpetre*.
Nycha, wele
Obry, islaw.
Ocrwr, llogwr
Parwyden, y fron
Pendifaddeu, pendant.
Pendrulliad, heilyn, gweinydd
Perl, gem
Pestl, gordd
Phiol, costrel
Phylacterau, rholiau croen
Poetau, beirdd
Pomgranad, pren
Pompiwnau, ffrwythau
Poplysen, aethnen
Praff, ffurf, braisg
Prysglwyni, glâsgoed
Pwrcasu, prynu
Pybyr, dewrwych.
Rhagddarbod, paratoedig
Rhesin, grawn sychion
Rhidens, ymylau, eddi
Rhigolau, rhychau
Rhol, plyglyfr
Rhychwant, lled mwyaf llaw
Rhygyngu, ymdaith wastad
Sabacthani, gadewaist fi
Sabbaoth, lluoedd.
Sabbath, dydd y Mab.
Sabboth, dydd gorphwysdra
Saig, pryd o fwyd
Sandalau, esgidiau
Sardin, maen coch
Seraphim, dysglaerdeb tanllyd
Serthedd, aflendid.
Stacte, dyferu
Stelio, badfall
Summerau, tylathau
Swmbwl, brathwaew
Sycamorwydd, ffigysbren
Synamon, pren
Taeogaidd, anfoesgar
Talm, enyd, ychydig
Telm, magl
Tirfion, bywiog
Title, urdd
Torfynyglu, tori gwddf
Traha, trawsder.
Tremygu, diystyru
Trestl, bwrdd trithroed
Treian, 3edd ran
Trothwy, rhiniog.
Trulliad, *buttler*
Trwne, golch, lleisw.
Trydardd, baldordd
Trychu, ffosi, tori, rhwygo.
Thumim, perffeithrwydd
Thuser, dysgl
Twn, anaf, toriad
Thynon, peraidd
Tyno, gwastad-tir.

Tymp, amser
Urim, goleuni
Waered, i lawr
Wylfa, lle wylo
Ymnhedd, deisyf, atolygu
Ysbyddaden, draenen wen
Ysglyfio, anrheithio
Ysgorpion, edngwenwynllyd
Ysgrepan, cydyn bychan
Ysgyfala, esgeulus
Yspwng, *spunge*
Ysbyddad, drain gwynion
Ystig, dyfal

---

# PENNOD VIII.

## AR ATALNODI.

Dysgybl.—Ai oes rhyw bwys neillduol pa fodd yr atalnodir?

Athraw.—Oes; y mae cymaint o bwys, mewn rhai amgylchiadau, a bod y synwyr yn ymddibynu yn hollol ar yr atalnodau: dyma i ti enghraifft:—Aeth Robert William Dafydd Ellis Gruffydd Tomas i'r ddinas ddoe. Wrth adael y frawddeg uchod heb yr un atalnod fel yna, un dyn a aeth i'r ddinas. Os nodir fel hyn, arwydda fod dau wedi myned :—Aeth Robert William Dafydd, Ellis Gruffydd Tomas i'r ddinas. Os nodir fel hyn tri aeth i'r ddinas:—Aeth Robert William, Dafydd Ellis, Gruffydd Tomas, i'r ddinas. Os fel hyn, aeth chwech i'r ddinas: Aeth Robert, William, Dafydd, Ellis, Gruffydd, Tomas, i'r ddinas ddoe. Dylid gofalu na rodder yr un nod, amgen na'r gwahannod, pan fyddis yn casglu nifer o wrthddrychau wrth gyfeirio at y prif beth fydd mewn golwg. Dyma enghraifft o ddechreu 'Coll Gwynfa' Milton:—

Am drosedd dyn, ac aeron teg y pren,
Yn waharddedig, idd y byd ei flas,
A ddygai angeu, a phob echrys wae,
Gan golli Eden, nes adferer ni,
Trwy un mwy dyn, a meddu y fro gain,
O cana awen nefol——

Am drosedd dyn, o cana awen nefol, yw prif gyfeirnod yr awdwr; a phe buasai rhyw nod, heblaw y gwahannod, ar ol y rhanau damweiniol ereill, buasai yn rhwystr i'r darllenydd redeg ar ol y cyfansoddydd a deall ei feddwl. Y mae y nod hwn yn cael ei esgeuluso hefyd pan fyddo dau ansoddair heb gysylltiad yn dylyn eu gilydd, fel hyn:—Gwr grymus, nerthol, yw efe. Os bydd lluaws o eiriau fel hyn, y mae y

rëol yn cael ei chadw yn well:—Gwr dewr, calonog, grymus, nerthol, yw efe. Ond cofier bod mor anghenrheidiol rhoddi y nod pan na fydd ond dau, a phe byddai deg: yr un modd pan fydd rhifres o eiriau fel uchod, pa ranau bynag o ymadrodd fyddont. Gwall arall, lled gyffredin wrth atalnodi ydyw rhoddi holnod ar ol gofyniad o gyffroad, heb yr un atebiad yn ddysgwyliadwy; megys, "Pa Dduw sydd fel ein Duw ni!" Rhyfeddnod, nid holnod, ddylai fod ar ol pob gofyniad o'r natur yna. Gan fod rëolau atalnodi yn yr holl Ramadegau braidd, ni a gyfeiriwn at y rhan arall.

## DOSBARTH. III.—AR RESYMEG.

Dysgybl.—Pa beth yw Rhesymeg?

Athraw.—Gwirionedd yn egluro ei hun; neu, fel y dywedodd un awdwr, rheswm yn egluro gwirionedd.

Dysgybl.—Onid yw dyn yn greadur rheswmol? o ganlyniad gall resymu yn ol ei natur.

Athraw.—Gwir fod dyn yn greadur rhesymol? ond y mae y drwg a ddaeth i'r byd wedi gwneud y creadur rhesymol, mewn rhan, yn afresymol; o ganlyniad, gellir dyweyd mai creadur rhesymol afresymol yw dyn. Nid yw dyn yn gwisgo coron perffeithrwydd ar ei ben; er hyny perffeithrwydd yw y nod sydd gan bob dyn, yn mhob ystyr, i gyfeirio ato: a 'dos rhagot at berffeithrwydd' yw iaith unfrydol yr holl gelfyddydau, cystal ag iaith crefydd: ac i'r dyben o gael y creadur rhesymol yn well rhesymwr y dygwyd y gelfyddyd o resymeg ar ddosbarth. Ond gan dy fod wedi crybwyll am natur, y mae yn werth i ti sylwi fod un ran o resymeg yn *naturiol;* megys, pan welo dyn weithred y mae yn penderfynu yn union fod gweithredydd—creadigaeth yn profi fod Creawdwr, &c. Gelwir hynyna yn resymeg naturiol, er nâ ddysgodd natur mohoni i ddyn chwaith; ond cyn galw dy sylw at y gelfyddyd resymegol, dylit sylwi ar bethau unigol, a gosod pob peth yn ei le priodol. Y mae gwahaniaeth rhwng *pethau*, a *phersonau*, a *bodau*. Bodau nefol—personau dynol—a phethau daiarol ddylid ddyweyd. Y mae prinder geiriau, weithiau, yn ein gorfodogi i drawsenwi y naill yn lle y llall; megys, pan ddywedwn '*personau y Drindod*.' Dosrenir pethau yn ddau ryw, sef, pethau *naturiol*, a phethau *ysbrydol*. Pethau natur-

iol yw y rhai hyny y gellir eu gweled, eu clywed, eu teimlo, eu harchwaethu, neu eu harogli; pethau ysbrydol a gyffredir yn y dychymyg. Rhenir pethau naturiol, neu ddefnydd, yn ddau ddosbarth; sef y *caled* a'r *meddal*. Y caled yw pob peth a dreiglir; megys, coed, meini, neu fwnau, &c. Y mae gwahaniaeth hefyd rhwng *defnydd*, *eangder*, a *symudiad*. Wrth i ti fyned yn mlaen fel yna, i wahaniaethu pethau, sylwa yn fanwl ar y gwahanol enwau sydd ar yr *un* peth, yn fynych: hefyd, y mae o bwys i ti ddeall y gwahaniaeth rhwng *achlysur*, *achos*, ac *effaith*; achlysur sydd yn rhoddi cyfle i gyflawni y peth; achos yn rhoddi bod i beth; ac effaith yw y canlyniad anocheladwy. Gall achlysur beidio ag achosi, ond nis gall achos beidio ag effeithio. Y mae genyt bethau ereill i'w hystyried, cyn anturio i'r maes llenyddol, ac ymrestru yn myddin y rhesymwyr:—1. Ymsudda i egwyddor y peth, ac nid chwareu mewn swn geiriau. 2. Deall y gwahaniaeth rhwng *natur* y peth, a *ffugyr* y peth. 3. Ymdrecha i ddeall meddwl dy wrthwynebwr yn dda, fel gelli wybod yn mha bethau y byddi yn cytuno, ac yn mha bethau y byddi yn annghytuno ag ef. 4. Ystyria pa un ai myned i brofi, ynte i wrthbrofi, yr wyt; ynte, pob un o'r ddau. 5. Pa un a'i *ffaith* ynte y *modd* yw testyn y ddadl. 6. Ar ba egwyddorion, neu rëolau, yr wyt yn sylfaenu dy dyb: heb egwyddorion heb gyfundraith. 7. A oes eithriaid ai nid oes? Ar ol i ti drafod dy bwnc, a deall ei egwyddorion, bydd yn ofalus i sefyll ato; gwylia, meddaf, rhag i dwyll a malais dy wrthwynebydd dy hudo oddiwrth y prif beth sydd mewn dadl; canys y mae canlyniadau drwg, yn fynych, yn dilyn y cyfryw amryfusedd. Gwel '*Resymeg Tegai.*'

## DOSBARTH IV.—AR REITHEG.

Dysgybl.—Pa wahaniaeth sydd rhwng rheitheg a rhesymeg?

Athraw.—Yr un faint o wahaniaeth ag sydd rhwng y *brethyn* a'r *lliw* sydd arno; neu y *dodrefnyn* a'r *paent*; y dodrefnyn yw rhesymeg, a'r paent yw rheitheg: y *nerth* mewn rhesymeg, *harddwch* mewn rheitheg. Profi peth yw gwaith rhesymeg; ond cofia di na all rheitheg brofi dim oll mwy nag y gelli wneud dilledyn o liw yn unig, neu ddodrefn-

yn o baent. Peth a ellir yw gwneud dilledyn heb liw celfyddawl arno, felly rhesymeg heb rheitheg, oddieithr fod diffyg geiriau; ac fe ddywed dysgedigion mai diffyg geiriau a fu yn achlysur o'r gangen hon o gelfyddyd; pa fodd bynag, y mae ffug-wersi *(fables)* y Groegiaid, a damhegion yr Hebreaid, yn dystion boreu o'u hen arferion.

Dosberthir Rheitheg yn ddwy ran, sef, *addurneg* a *llafareg*. Addurneg sydd yn prydferthu yr ymadrodd megys a blodau amryliw nes goglais y ffwydau, mal y cynhyrfa yr enfys saithliwiog y llygaid â'i gwiwdeb. Y mae addurneg yn ymranu yn ddau ben; 1. Troell-ymadrodd. 2. Dull-ymadrodd; neu, mewn geiriau ereill, *trofeg*, a *ffugyr*. Trofeg yw y ddulliaith hono sydd yn gymhleth gyda ein holl ymadroddion braidd, sef pan y dywedom neu yr ysgrifenom un peth, ac y meddyliom beth arall; megys, pan y soniwn am droedfedd neu fodfedd o edef. Gwyddom nad oes modd tori bedd i'r *troed* na'r *fawd* mewn edef. Ond y meddwl yw, edef cyfhyd a bedd y troed, a chyfled a bedd y fawd. Pan ddywedir fod yr Efnych yn darllen y Proffwyd Esau, y meddylir proffwydoliaeth Esau. Pan y gelwir y nef a'r ddaiar yn dystion, y meddylir trigolion y nef a'r ddaiar. Pan y dywedir, y gwr a'i holl dy, y meddylir y gwr a'i holl deulu. Pan y dywedir, Nid ymedy y deyrnwialen o Juda; meddylir, Nid ymedy teyrn o Juda. Y rhan arall sy mewn addurneg yw *ffugyr*. Y mae dau fath ar ffugyr;—1. Ffugyr gair. 2. Ffugyr ymadrodd. Ffugyr gair fydd pan ddefnyddir rhyw air hynod, gan ei dramynychu, megys yn yr enghraifft gyffröus ganlynol:—'O! fy mab Absalom, fy mab, fy mab Absalom! O! na buaswn farw drosot ti, Absalom, fy mab, fy mab!' Dyna wir alar y brenin am ei fab yn cael ei ddatgan yn dra enwog, yr un pryd mor syml a phe buasai plentyn amddifad yn gwaeddi, O fy mam, mam, mam: mae fy mam wedi marw! Y mae mynychu yr un geiriau, mewn rhai amgylchiadau, yn ddynwarediad o gwcw y gôg; ond yn yr enghraifft uchod y maent yn *addurneg*. Hefyd,

O! Dduw, tydi wyt Dduw y duwiau.

———————y nef
Llawn traserch yw; llawn trysor;
Llawn cerdd felysig !lawn côr;
Llawn, llawn, llawn, llawn, llawenydd;
Llawn oes deg, heb nos—ond dydd;

Llawn aml yw'r llan yma;
Llawn, llawn, o bob dawn da! J. Cent.

Mae y dull yma yn fynych yn y Bibl, megys Ioan i. 1. Rhuf. x. 3, 4, 5. 1 Cor. xiii. 4, 5, 6, 7, 8, 9, 10, 11. 1 Pedr i. 5, 6, 7.

Sylwa yn nesaf ar *ddullwedd Ymadrodd*. Y ffugyr yma fydd yn ymadrodd cyfan; megys, 'O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheiniadwy ydynt!' Neu, 'O na bai fy mhen yn ddyfroedd, a'm llygaid yn ffynon o ddagrau, fel yr wylwn ddydd a nos am laddedigion merch fy mhobl!' Y mae lluaws o ymadroddion o'r natur yma yn y Bibl, a llyfrau ereill; rhai o serch, ereill o duchan, ereill o ofid, &c., &c. Gwel '*Eglurwyn Ffraethineb*,' gan W. Salsbri, ar holl gangau rheitheg. Y mae yr egwyddor yn amlwg yma, hyderaf, o barthed *addurneg* yn ei dwy linell. Gan mai yn gyfaill yr ysgrifenydd y bwriedir y traithawd hwn, ni sylwwn ddim yn bresenol ar y rhan arall o reitheg; sef, *llafariaith*. Fe fyddai yn dra buddiol i rywun ysgrifenu traithawd ar y pen hwn; canys er fod ein hareithyddiaeth yn enwog am ei thân, yn gyffredin y mae yn dân rhy fyglyd i fod yn oleu nac yn wresog. Y mae un traithawd medrus ar y pwnc hwn, yn 'Seren Gomer,' o waith D. R. Stephens, mewn adolygiad ar bregethau y Parch. Cristmas Evans; a dyna y cyfan hyd y gwelais i, sydd yn ein hiaith o werth sylw.

Dysgybl.—Nid dyna y pwnc i mi; ond ewyllysiwn yn fawr gael engraifft o'r gwallau mwyaf cyffredin mewn addurneg.

Athraw.—Gwelir trueni cyfansoddwyr, yn fynych, gyda chymhariaethau; llawer o honynt mor anmhriodol ag eiddo y dyn oedd yn cymharu lliw glas i swn udgorn; ereill wedi cael eu eludo o wlad rhy ddyeithr; ereill yn cael eu dilyn yn rhy bell; a chlywir ambell i athraw yn dyweyd ei fod am brofi gyda chymhariaeth, ond deall di nad all cymhariaeth brofi dim—ei gwaith yw egluro; y profiedydd i brofi, a'r eglurydd i egluro; ac os na alla egluro, nid all fod o un gwasanaeth. Y mae cymhariaethau yn debyg i syllwydr, ac y mae llygad noeth yn well na gwydr tywyll. Tebyg i hyn oedd y nodiadau eglurhaol a ysgrifenodd un awdwr ar 'Daith y Pererin,' yr hwn a ofynodd i ryw foneddiges, Pa fodd yr oedd hi yn deall 'Taith y Pererin' ar ol cael esboniad arno? O, ebai

hithau, Yr wyf yn deall 'Taith y Pererin' yn dda; ond yn methu yn deg a deall yr esboniad: dichon y deuaf i'w ddeall yntau ryw dro. Gwall arall cyffredin mewn rheitheg yw galw yr Hollalluog yn dyst, yr Hollwybodol yn cynal, y Duw trugarog yn farnwr, Duw cyfiawn yn llywodraethu, Duw doeth yn cyfiawnhau. Gallu sydd yn cynal, gwybodaeth yn tystio, cyfiawnder yn barnu, a doethineb yn llywodraethu, &c.

Dysgybl.—Yr oeddwn i yn meddwl, ond dysgu Gramadeg, y buaswn yn awdwr yn ebrwydd, ond yn awr yr wyf yn gweled fy mod heb addysgu dim, mewn cymhariaeth.

Athraw.—Y mae rhyw obaith am danat, mi welaf; canys yr wyt wedi dysgu y wers gyntaf, sef dysgu dy fod heb ddysgu; a pha ham na ddysgi yr ail. 'Glyn wrth ddarllen,' canys 'darllen a wna ddyn llawn, ysgrifenu a wna ddyn manwl, ac areithio a wna ddyn parod.' Paid a chredu unrhyw beth cyn ei brofi, a phaid ac annghredu unrhyw beth ar ol ei brofi. Ni ddylai yr un awdwr fod yn rhy anwyl genyt, rhag iddo dy swyno, ac i tithau ymgysylltu wrtho 'yn glaf ac yn iach.' Paid hefyd a llwyr ymwrthod âg awdwr am fod ynddo rai pethau gwrthodedig; canys y mae y naill yn rhagori yn y peth yma, ac ereill yn y peth yna. Rhai yn llythyrenu yn dda, ond yn cystrawenu yn ddrwg; ereill yn rhesymu yn wych, ac yn cyfansoddi yn sylweddol, ond yn sychlyd a diaddurn iawn; ereill yn dylifo o athrylith, a'u cyfansoddiadau can hardded a'r paen, ond wedi eu dibluo mor ddisylwedd ag yntau.

Dysgybl.—Yr ydych wedi rhoddi i mi lawer o wersi buddiol, a llawer o rëolau i rodio wrthynt, ond a ellwch, cyn terfynu, roddi ychwaneg o gyfarwyddyd i mi brofi fy ngwaith fy hunan.

Athraw.—Fe fyddai yn burion i ti ar ol ysgrifenu dy lythyr, neu dy draithawd, ei adolygu yn fanwl, drwy roddi pob brawddeg wrthi ei hun, yna rhifo dy holl bynciau; os oes genyt ddeg, ymofyn a elli eu cynwys mewn naw; ie, fe allai y gelli eu crynoi i bump, neu lai na hyny, heb eu hysbeilio o'u sylwedd na'u prydferthwch. Nid oes dim yn fwy bongleraidd na dyn yn dyweyd llawer, eto heb ddyweyd braidd ddim. Mewn gair, edrych yn gyntaf a ydwyt wedi trosglwyddo dy feddwl yn eglur. Yn ail, a oes gormod o lythyrenau yn y gair. Yn drydydd, a oes gormod o eiriau yn y frawddeg. Yn bedwerydd, a oes gormod o frawddegau

yn y cyfansoddiad; sef adgrybwyll yr un peth. Paid a rhoddi yr un frawddeg afreidiol yn y cyfansoddiad; yr un pryd, paid a'u gwasgu nes tynu y nodd o honynt.

## DOSBARTH V.—AR ARDDULL.

Fe ddylid trin gwahanol bynciau mewn gwahanol arddull.

Goreu po symlaf fyddo yr arddull mewn traithodau ar y gwyddorau a'r celfau—tebyg i arddull Mr. Charles o'r Bala, yn ei Eirlyfr. Mewn areithiau, a thraithodau darluniadol, fe ddylai yr arddull fod yn flodeuog.

Y mae pob awdwr teilwng yn ffurfio arddull iddo ei hun, megys yn anfwriadol, a hyny i'r fath raddau ag y gall y craffus ei adnabod heb weled ei enw: ond y mae dynion diathrylith yn ceisio dynwared ereill, ac am hyny nis gellir eu hadnabod, ond fel epaod.

Y mae *Blair* yn dosbarthu arddull yn ddwy gangen, sef *cryno* a *gwasgarog*. Gesyd yr ysgrifenydd cryno ei feddwl allan yn y dull byraf. Ni ddefnyddia yr un gair diangenrhaid—awgryma fwy nag a lefara.

Y mae yr ysgrifenydd gwasgarog yn dadblygu ei feddylddrych yn fanwl, gan ei ddal allan mewn gwahanol ddulliau. Rhed ei frawddegau yn hirion gyffredin, ac o herwydd hyny y mae yn gofyn arddull gwasgarog. Engraff nodedig o'r dull hwn yn 'Hanes Siencyn Pen Hydd,' a 'Hanes Haycoke,' yn y Traethodydd, gan Mr. Mathews, Ewenni. Goleuo mae yr ysgrifenydd cryno: difyru mae y gwasgarog

Y mae araith i'w gwrandaw yn gofyn arddull mwy gwasgarog na thraithawd i'w ddarllen.

Dosbartha yr un awdwr arddull fel y canlyn:—

1. *Y Sych.*—Nid yw hwn yn amcanu dim at foddhau y glust na'r dychymyg. Y deall yn unig fydd ei wrthddrych. Nid yw hwn yn oddefol ond mewn materion sylweddol.

2. *Y Diaddurn.*—Y mae hwn radd yn uwch na'r sych. Nacaol yw ei ragoriaeth—nid oes ynddo ddim i boeni ei ddarllenydd.

3. *Y Tlws.*—Y mae hwn yn dechreu chwareu ei edyn yn awyrgylch addurn; ond nid yw yn ehedeg yn uchel, nac yn hoyw. Os bydd gan yr ysgrifenydd ffugurau byddant yn

fyrion ac yn gywir; ei frawddegau yn ddestlus, a'i waith yn berseiniol.

4. *Y Coeth.*—Dyma radd uwch eto. Y mae holl elfenau addurn gan yr ysgrifenydd hwn. Efe a all foddhau y dychymyg a'r glust; a'r un pryd goleuo y deall. Dyma y goreu.

5. *Blodeuog.*— Tuedda hwn at chwyddiaith—gormod o baent. Fe ellir ei oddef mewn ysgrifenydd ieuanc, a darfelydd tra bywiog a rhamantus.

DYMA DDOSBARTH ARALL.

1. *Symledd.*—Dyma wir iaith natur. Nid ymddengys dim ol llafur ar ysgrifenydd syml. Fe ellir goddef gradd o ddiofalwch mewn symledd. Dyma oedd nodwedd Williams y Wern, fel pregethwr, a J. R. fel ysgrifenydd.

2. *Arddull coegaidd.*—Adwaenir hwn wrth ei orfanylder, a'i rodres, a'i chwydd. Y mae ôl yr arfau ar bob peth a ddaw oddiwrtho. Math o gelfyddwr, heb wybod dim am natur ydyw. Y mae yn boenus edrych ar y coegddyn gwyntog; y mae yn boenus gwrandaw arno yn llefaru; ac yn fwy poenus byth darllen ei druthiau.

*Y Tanbaid.*—Unir nerth, symledd, ac angerddoldeb yn yr arddull hwn. Ceir engraffau mynych o hono yn yr areithfa Gymreig, ac yn ysgrifau y beirdd; ond y mae yn gweddu yn well i'r areithfa nag i'r wasg.

CYFARWYDDIADAU I FFURFIO ARDDULL.

1. Gofalu am feddwl clir ar bob pwnc.

2. Ymarfer llawer a chyfansoddi; a hyny gyda gofal ac ystyriaeth.

3. Ymgydnabyddu a'r prif awdwyr, ond peidio a'u dylyn yn rhy wasaidd. Y mae tuedd ddynwaredol yn cloffi athrylith, ac heb law hyny pethau gwaelaf dynion enwog a efelychir yn gyffredin, gan y dynwaredwr. Fe ddylid bod yn dra gofalus rhag defnyddio ymadroddion neillduol unrhyw awdwr.

4. Gofalu am i'r arddull gyfateb i natur y pwnc. Ni ddylid defnyddio arddull blodeuog wrth resymu, nac arddull sych wrth brydyddu.

5. Na rodder mwy o bwys ar arddull nag ar feddyliau. Gofaler am feddyliau o werth i ddechreu. Y mae pob dyn o athrylith yn sicr o ffurfio arddull iddo ei hun heb amcanu at hyny, ond y mae meddylddrychau yn ffrwyth llafur gwastadol.

# ATTODIAD.

Dyfynir o weithiau y galluog Arfonwyson yn yr Attodiad hwn, a hyny heb newid dim ond y dyddiadau, er nad ydym wedi defnyddio ei orgraff ef yn fanwl yn yr Ysgrifell. Nid oes anghen am unrhyw esgusawd dros roddi lle i ychydig o engraffau yn y ddwy iaith, er cyfarwyddyd i ysgrifenwyr ieuainc, sy heb dderbyn manteision addysg.

## CYMYNEG.

Yn enw Duw, bydded felly. Y chwechfed yn Hydref, mil, wythgant, chwe'deg, ac un.

Myfi Edward Roberts, yn nhref Llynlleifiad, Masnachwr, yn bur sâl ac yn wanaidd yn fy nghorff, ond yn berffaith mewn meddwl a chof; er hyny, yn galw i'r meddwl farwoldeb fy nghorff, gan wybod y gosodwyd i ddynion farw unwaith, wyf yn gwneuthur, ac yn cyhoeddi hon fy nghymyneg ddiweddaf, yn y modd a'r drefn a ganlyn:

Yn gyntaf, Wyf yn rhoddi ac yn cymynu i Ann, fy anwyl wraig, y swm o gant punt yn flynyddol, o arian cyfreithlon Lloegr, drwy ystod ei hoes.

Hefyd, wyf yn rhoddi ac yn cymyno mil a hanner, o arian cyfreithlawn Lloegr, i eu rhanu yn gyfartal rhwng William Jones, John Elis, William Thomas, Griffith Williams, Elinor Jones, a Mary Roberts, sef fy mherthynasau sydd yn Nghymru, i eu talu gan fy Olianydd o fewn corff y chwech mis cyntaf wedi fy marwolaeth, yn unol â dyben ac ystyr y Gymyneg hon.

Hefyd, wyf yn rhoddi ac yn cymynu i Richard Thomas, fy anwyl garedigol nai, yr hwn hefyd wyf yn ei osod, ei wneuthur, a'i benodi fy unig Oliannydd o fy Nghymyneg ddiweddaf hon, i feddiannu fy holl eiddo yn rhad, a'u mwynâu, oddieithr y taliad blynyddol i fy ngwraig, a'r rhoddion. Yn dystiad i'r unrhyw, yr wyf wedi gosod fy llaw a'm goloen y dydd hwn, a'r flwyddyn a ddodwyd uchod.

Edward Roberts.

Arwyddwyd, goloenwyd, cyhoeddwyd, cynanwyd, amlygwyd gan y dywededig Edward Roberts, fel ei gymyneg ddiweddaf, yn ein gwydd ni,

Henry Jones.
Wiliam Parry.

## WILL.

In the name of God, Amen. The sixth day of October, one thousand, eight hundred, and sixty one.

I Edward Roberts, in the town of Liverpool, Merchant, being very sick and weak of body, but of perfect mind and memory; but also, calling unto mind the mortality of the body, knowing that it is appointed once unto all men to die, do make and publish this my last Will and Testament, in the following manner and form:—

First, I give and bequeath to Ann, my dearly beloved wife, the sum of one hundred pounds per annum, of lawful money of Great Britain during her life.

Also, I give and bequeath one thousand and five hundred pounds, of lawful money of Great Britain, to be shared equally between William Jones, John Ellis, William Thomas, Griffith Williams, Ellinor Jones, and Mary Roberts, who are my dear relations in Wales, to be paid by my Executor within the first six months after my decease, according to the intent and meaning of this Will.

Also, I give and bequeath to Richard Thomas, my dear and loving nephew, whom I likewise constitute, make, and ordain, my sole Executor of this my last Will and Testamament, all my property to be by him freely to be possessed and enjoyed, except the annual payment to my wife and the legacies. In witness hereof, I have hereunto set my hand and seal, this day and year above-written.

EDWARD ROBERTS.

Signed, sealed, published, pronounced and declared, by the said Edward Roberts, as his last Will and Testament, in the presence of us,
HENRY JONES
WILLIAM PARRY.

---

## LLYTHYRAU, *(LETTERS.)*

---

### LLYTHYR-CYFYMSERCH, *(Love-Letter.)*

FY ANWYL——

Y mae *rhifedi* y teimladau anesmwyth a oddefais er pan ymadawsoch uwchlaw cyrhaedd Rhifyddiaeth. Yr wyf wedi fy llethu gan eu *pwysau* hwynt. Nid wyf yn meddwl am *leiâu* dim ar ddaioni eich rhieni; ond pa fodd yr *ysgarant* hwy ein personau ni pan wyddant fod ein calonau wedi eu

*cydgysylltu.* Pa fodd y mae fy anesmwythder yn *cynyddu!* Pe byddech chwi fy ...... yn y byd hwn, ni byddai arnaf ddim eisiau *chwanegiad* at fy nedwyddwch yma. *Darluniwch* ynoch eich hun fy sefyllfa, a chwi a dosturiwch wrthyf. Mi wn o'r goreu y dylwn gael amynedd; ond nis gallaf *ddwyn* fy meddwl yn ol i *ymarferiad.* Mae eich absenoldeb yn gwueud y fath *doriadau* yn fy meddyliau darluniadol, fel y mae yn galed arnaf wybod beth wyf yn ysgrifenu. Os nid wyf yn ysgrifenu yn unol a *rheolau* rheswm, yr ydwyf yn gobeithio y gwnewch chwi *ronynau* o ganiatâd; canys yn y cyflwr yr wyf fi, nis gallaf gymeryd arnaf *bwyso* pob sill *y'nghlorian* c[illegible]deb; gan hyny, yr wyf yn gobeithio y gadewch i fantol hynawsedd orbwyso ar fy rhan. Oni ellwch faddeu holl *rediadau* fy mhin, o'r hyn lleiaf tosturiwch wrthynt; y mae yn bur galed *dynu llinell* priodolder ar lawer o achosion, ond os wyf yn troseddu yn hyn yr wyf yn addaw troi drosodd *ddalen newydd.*

Os ydwyf allan o'ch *llyfrau,* gyrir fi i anobaith; canys gwelwch wrth *gasglu i fyny* gynnwysiad y llythyr hwn, mai *swm y cyfan* yw gormodol gariad.

PETER PLUME.

*Rhyw-le, Meh.* 7, 1861.

---

Bangor, Ion. 7, 1861.

Anwyl Syr,

Cymerais yr achos hwn i ysgrifenu atoch, i roi ar ddeall i chwi .......................................... .............. Heb feddu unrhyw achos pellach i ysgrifenu yn ei gylch, yr wyf yn parâu i fod

Eich gostyngedig was

R. H. MORRIS.

Bangor, Jan. 7, 1861.

Dear Sir,

I take this occasion to write to you, to let you understand .............................................. .......... Not having any futher business to write about, I continue to be, your

Humble servant,

R. H. MORRIS.

Chameleon



Porcupine

*Yr Attebiad.*

Anwyl Gyfaill,

Derbyniais eich llythyr o'r 7fed cyfisol, ac yr wyf yn llawen eich bod yn perthynu i wybod .................. ..........................................Ac felly yn cymeryd fy nghenad, yr wyf yn rhoddi fy hun o'r amser hwn allan.

Syr, eich Cyfaill dioftydedig,
WM. ELLIS.

*Heol-y porthllwyd, Rh.* 4, *Llundain,*
*Ion. 9fed,* 1861.

Dear Friend,

I have received your letter of the 7th instant, and am glad you are concerned to know .......... ............ ............................... And so taking my leave, I subscribe myself from this time forward,

Sir, your Devoted Friend,
WM. ELLIS.

*Ludgate street, No.* 4, *London,*
*Jan. 9th,* 1861.

## DERBYNEB GYFFREDINOL.

Derbyniwyd Ionawr y 9fed, 1861, gan Mr. E. Edwards, y swm o Ddeugain Punt yn llawn Ardreth un Chwarter, yn ddyledus ............ ac yn cynnwys pob gofynion.

Genyf fi M. W. ROBERTS.

*P*40 0 0

## A GENERAL RECEIPT.

Received January the 9th, 1861, of Mr. E. Edwards, the sum of Forty Pounds, in full for One Quarter's Rent, due .................and of all demands,

By me M. W. ROBERTS.

£40 0 0

*J. T. Jones, Argraffydd, Swyddfa'r 'Aberdare Times,' Aberdar.*

A PRACTICAL WELSH GRAMMAR.

# GRAMADEG CYMREIG

## YMARFEROL,

YN CYNWYS

SYLWEDD YR HOLL RAMADEGAU CYMREIG, YN NGHYDA LLUAWS O SYLWADAU GWREIDDIOL

AR

## EGWYDDORION A THEITHI YR IAITH,

A CHYFRES O REOLAU NEWYDDION AR

## LYTHYRENIAD A CHYSTRAWIAETH:

Y CWBL WEDI EU REFNU AR GYNLLUN NEWYDD A CHELFYDDGAR.

HEFYD,

## RHEOLAU BARDDONIAETH GYMREIG.

GAN JOHN MENDUS JONES.

Ail Argraffiad.

CAERNARFON:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN H. HUMPHREYS,
*Lithograph, Copperplate and Letter-press Printer by Steam, Binder and Machine Ruler, &c.*

**Mae'r awdwr yn parotoi ATDDODIAD i'r Gramadeg, yn mha un y traethir yn fanwl ar *Natur*, *Cyfansoddiad*, a *Dadansoddiad Broddegau*.**

# RHAGDRAETH I'R ARGRAFFIAD CYNTAF.

Bod arnom ni, y Cymry, angen am Ramadeg Cymreig mwy cynwysfawr ac ymarferol na'r rhai a fodolant, a ganiateir yn gyffredinol; a thrwy hyny, afreidiol yw cymeryd dim lle i geisio profi y ffaith.

Cyhoeddwyd amryw Ramadegau Cymreig yn ystod y blynyddoedd diweddaf; ond, yr hyn sydd dra hynod, ni chynwysant un gwelläd ar Ramadegau a gyhoeddwyd rhwng dau a thri chant o flynyddoedd yn ol. Nid yw yr holl Ramadegau a gyhoeddwyd yn ystod y canrif diweddaf, ond megys cynifer o adysgrifau o Ramadeg y dysgedig Dr. Davies, o Fallwyd, a ysgrifenwyd yn yr iaith Ladin, ac a gyhoeddwyd yn 1621; a'r eiddo y Parch. W. Gambold, a gyhoeddwyd yn 1727. Ac hyd yn nod hwn a gymerwyd, gydag ond ychydig o wahaniaeth, o Ramadeg Dr. Davies. Ymddengys mai prif amcan yr awdwyr hyn oedd dangos priodoleddau yr iaith; ac yn y gorchwyl hwn dangosodd y Dr. radd anarferol o ddysgeidiaeth a medrusrwydd. Ni chynwysa y Gramadegau hyn nemawr o reolau cystrawiaethol; a'r diffyg hwn ni chyflenwyd gan un Gramadeg a gyhoeddwyd ar eu hol. Y canlyniad o hyn yw, bod cystrawiaeth yr iaith Gymreig, fel ei horgraff, yn ansefydlog; a phob awdwr yn dylyn ei fympwy ei hun, ac yn ffurfio ei reolau ei hun.

Cyn y gellir dysgwyl cael unffurfiaeth yn ein horgraff, y mae yn rhaid cael Geiriadur Cymreig wedi ei ffurfio ar egwyddorion gwahanol i un sydd genym. Ystyrir Geiriadur y Dr. O. Puw yn waith o gryn deilyngdod a medrusrwydd; beth yw yr achos gan hyny na addefir mohono fel safon cyffredinol ein hiaith? Y mae y rheswm yn amlwg. Y mae wedi ei adeiladu ar egwyddor nas gall y genedl ei hamgyffred. Pe buasai y Dr. wedi sefydlu, trwy brofion diwrtheb, egwyddor sylfaenol ei Eiriadur, sef bod yr holl eiriau Cymreig wedi eu ffurfio o fân elfenau, a dangos y dull o olrhain pob gair i'w ranau cyfansoddawl, buasai ei Eiriadur, o angenrheidrwydd, wedi ei gymeryd fel y maen prawf o gywir silliadaeth. Ond y mae lle i feddwl nad yw yr egwyddor ond sylfan dywodlyd, ac y bydd i'r holl oruwch-adeilad, o ganlyniad, syrthio i ddadfeiliad.

Y mae y diffyg o ddull unffurf o silliadu, wedi bod yn dra niweidiol i'r Gymraeg; ond tybir bod y diffyg o unffurfiaeth gystrawiaethol, wedi bod felly i radd llawer mwy. Pe buasai egwyddorion a theithi yr iaith wedi eu holrhain yn fanwl, a'u heglur ddadleuu; a rheolau amlwg a manwl wedi eu sefydlu er ei

hiawn gyfansoddi; buasai gwybodaeth Ramadegol o'r Gymraeg yn dyfod yn gyffredinol; ac yn ganlynol i hyn, buasai yr efrydiad ohoni yn y prif ysgolion, yn cyfansoddi rhan anhebgorol o orchwyl y cyfryw a fyddent yn ymbarotoi i fyned i bregethu yr efengyl yn Gymraeg. Trwy hyn yr iaith a wrteithid ac a gyfodid i uwch bri.

Yn y gwaith ag sydd yn awr gerbron y darllenydd, gwnaed ymgais at ddiwygiad trwyadl yn y gelfyddyd o Ramadeg Cymreig. Mabwysiadwyd trefn hollol wahanol i'r eiddo yr holl Ramadegau ereill, yr hon tybir a geir i fod yn rhagori arnynt mewn dysymledd ac eglurder. Y mae y rheolau, y darnodiadau (*definitions*), a'r sylwadau mwyaf pwysig, wedi eu hargraffu mewn llythyrenau bras; tra y mae rheolau a nodiadau llai pwysig, ag sydd yn eangu neu yn amrywio y meddylddrych cyffredinol, neu sydd yn gwasanaethu fel eglurhad, wedi eu gosod mewn llythyrenau manach. Credir y bydd i'r drefn hon rwyddhau yn fawr lafur yr efrydydd ieuanc. Er cymhorth pellach i'r dysgedydd, ffurfiwyd "Adchwiliad" i bob pennod, pa un a gynwys ofynion ar y prif faterion cynwysedig yn y bennod, ac atebiad i bob gofyniad. Gwasanaetha pob pennod a'i hadchwiliad fel eglurhad y naill i'r llall. Dylai yr efrydydd, ar ol darllen y bennod yn ofalus ac ystyriol, ymdrechu ateb y gofynion yn yr adchwiliad ei hun, cyn edrych ar yr atebion; ac yna gymharu ei atebion ei hun â'r rhai argraffedig, i edrych a fyddant yn gywir. Dylai hefyd wneyd ei hun yn feistr ar bob pennod cyn symud yn mlaen i'r nesaf. Trwy fabwysiadu y drefn hon, gellir sicrhau ei lwyddiant yn y gangen ddefnyddiol hon o ddysgeidiaeth.

Y mae amryw ragoriaethau yn perthyn i'r gwaith hwn, na pherthyn i un Gramadeg arall, y rhai, o ddifyg lle, nas gellir eu henwi yn bresenol. Ar ol y cwbl, nid yw yr awdwr mor goegdybus a meddwl ei fod yn berffaith, nac y bydd iddo roddi boddlonrwydd yn mhob peth i bawb.

Fe wêl y craff nad yw y rheolau oll, cynwysedig yn y gwaith hwn, wedi eu cadw yn nghyfansoddiad yr awdwr ei hun, yn neillduol yn y rhan ddechreuol ohono. Y rheswm am hyn yw, nad oedd yr awdwr, pan ddechreuodd ar y gwaith hwn, oddeutu pedair blynedd yn ol, wedi ffurfio y rheolau cystrawiaethol; a darfu i'r ymchwiliad a'r sylw manwl a ofynodd ffurfiad y rhai hyn, yn ystod y cyfnod hirfaith hwn, ddangos iddo y priodoldeb o wahaniaethu, mewn ychydig o engreifftiau, oddiwrth ffurfiad penodol o gystrawiaeth a arferai o'r blaen. Os bydd galw am ailargraffiad o'r gwaith hwn, gofelir am gadw unffurfiaeth drwyadl, o ran silliadaeth a chystrawiaeth, ac ymlyniad hollol wrth y rheolau.

LLANIDLOES,
*Ebrill* 16eg, 1847.

# GRAMADEG CYMREIG
## YMARFEROL.

GRAMADEG CYMREIG yw y gelfyddyd o lefaru ac ysgrifenu yr Iaith Gymreig mewn modd priodol a chywir.

Testyn Gramadeg yw Brawddegau: mae Brawddegau yn gynwysedig o Eiriau; Geiriau, o Sillau; a Sillau, o Lythyrenau.

Dosberthir Gramadeg i Bedair Rhan; sef, Llythyraeth, Geiryddiaeth, Cystrawiaeth, a Thonyddiaeth.

## RHAN I.

### LLYTHYRAETH.—ORTHOGRAPHY.

LLYTHYRAETH *a ddengys natur a sain llythyrenau, eu gwahanol dreigliadau, a'r drefn briodol o silliadu geiriau.*

### PENNOD I.

AM NATUR Y LLYTHYRENAU.—*Of the Nature of the Letters.*

LLYTHYRENAU ydynt arwyddion llafar-seiniau syml,* neu elfenau yr iaith.

* Wrth lafar-seiniau y meddylir, seiniau a wneir â'r peirianau ymadrodd: ac wrth lafar-seiniau syml y meddylir, seiniau a wneir âg un agweddiad neu symudiad o'r peirianau hyn. Ni wnai yr eglurhâd hwn y tro i'r llythyrenau Seisnig, am fod rhai ohonynt, sef yr *i*, *u*, *x*, *y*, yn gofyn dau agweddiad neu symudiad o'r peirianau. Gellir rhanu yr *i* a'r *y*, i *e i*, yr *u* i *i w*, a'r *x* i *c s*.

B

Mae saith ar ugain o lythyrenau yn yr egwyddor Gymreig; sef, *a, b, c, ch, d, dd, e, f, ff, g, ng, h, i, l, ll, m, n, o, p, ph, r, s, t, th, u, w, y.*

Mae'r llythyrenau hyn yn dynodi yr holl lafar-seiniau syml perthynol i'r iaith, oddigerth hono a gynddrychiolir gan *rh*, ac yr oedd yn gamgymeriad mawr iawn adael y llythyren hon allan o'r egwyddor. Mae *rh*, fel y gwelir eto, yn un o'r cydseiniaid gwreiddiol, a deil yr un berthynas âg *r* o ran sain ag a wna *th* âg *dd*, *ff* âg *f*, ac *ll* âg *l*. O herwydd ei gadawiad allan o'r egwyddor, a'r gam-dybiaeth a ffyna yn nghylch ei natur,* pan y silliedir gair â r llythyren ddwbl hon ynddo, enwir y ddwy lythyren *r* ac *h*, pan nad oes un o'r seiniau hyn yn perthyn i'r symylsain *rh*. Mae mor anmhriodol silliadu y gair *rhew*, er engraifft, fel hyn—*r h e w*, ag a fyddai silliadu y geiriau *peth*, *llaw*, a *ffon*, fel hyn—*p e t h; l l a w; f f o n*. Symleiddid y dull o silliadu geiriau yn cynwys y llythyren hon yn fawr pe rhoddid iddi ei hunsain briodol ei hun, yn lle y ddwy sain *r* ac *h*, y rhai na pherthynant iddi; fel hyn—*erh e w, rhew.*

Mae holl lythyrenau yr egwyddor Gymreig, y rhai dwbl yn gystal a'r rhai unigol, yn arwyddo seiniau syml.† Ond am y llythyrenau dwbl ereill nad ydynt yn yr egwyddor (oddigerth *rh*), sef *ngh, mh, nh*, nis gellir eu hystyried hwy fel arwyddion o seiniau syml, ond fel cyfuniad cydseiniaid ac ebychnod. Gwelir hyn oddiwrth y dull o'u silliadu; yn lle rhoddi un sain iddynt, megys ag y gwneir i *ch, ng, th,* &c., fe'u rhenir, *ng h,*‡ *m h, n h.*

* Noda un awdwr diweddar, pan yn cyfeirio at y sillau ha, he, hi, &c., a rha, rhe, rhi, &c., fel hyn,—"Nis gall y tafod seinio y rhai hyn yn ol, sef drwy roddi y llafariad yn mlaenaf;" yr hyn a ddengys nad oedd yn deall natur sain y llythyren *rh*.

† Hyny yw, seiniau nas gellir eu rhanu i lythyrenau ereill; a da pe buasai eu lluniau yn ateb i'w seiniau.

‡ Tra anmhriodol yw yr enw a roddir yn gyffredin i'r llythyren *h*. Cynwysa yr enw sain ag sydd yn gwbl estronol i'r Gymraeg. O ganlyniad y mae y Cymro uniaith yn methu ei seinio fel y rhai sydd wedi arferyd â'r Seisneg; rhaid iddo ef ei seinio yn *aits*, ac nid *aitch*. Y dull mwyaf priodol a fyddai ei seinio yn *hi*, yn ol trefn y mudseiniaid Dywed un awdwr mai "gwell fyddai ei henwi yn *ha* na *hi*, gan mai *a* yw y llafariad gyntaf, a bod *hi* yn rhagenw." Pe buasai unrhyw bwys yn y ddau reswm yna, dylid hefyd enwi *t* yn *ta*.

## ADCHWILIAD I'R BENNOD GYNTAF.

1. Celfyddyd o beth yw Gramadeg?—O lefaru ac ysgrifenu yn briodol.

2. Beth yw testyn Gramadeg?—Brawddegau.

3. Beth sydd yn ffurfio brawddegau, geiriau, a sillau?—Brawddegau a ffurfir o eiriau; geiriau, o sillau; a sillau, o lythyrenau.

4. I ba sawl rhan y dosberthir Gramadeg?—I bedair.

5. Pa rai ydynt hwy?—Llythyraeth, Geiryddiaeth, Cystrawiaeth, a Thonyddiaeth.

6. Beth y mae llythyraeth yn ei ddangos?—Natur a sain llythyrenau, eu gwahanol dreigliadau, a'r drefn briodol o silliadu.

7. Beth yw llythyrenau?—Arwyddion llafar-seiniau syml.

Yma dangosed yr athraw nad yw y llythyrenau Seisnig oll yn arwydde llafar-seiniau syml neu unigol; y gellir rhanu y llythyren *x*, er siampl, i *c s*. Trwy hyn gwel y dysgadur ragoriaeth yr egwyddor Gymreig ar yr un Seisnig.

8. Pa nifer o lythyrenau sydd yn y Gymraeg?—Saith ar ugain.

9. A oes llafar-sain syml yn y Gymraeg heb fod yn yr egwyddor?—Oes, un; sef y sain a gynddrychiolir gan *rh*.

Yma eto dangosed yr athraw ragoriaeth arall yn perthyn i'r egwyddor Gymreig ar yr un Seisnig, trwy fod y Seisneg yn cynwys amrai seiniau nad ydynt yn yr egwyddor; megys, ng (*sing*), sh (*shall*), th (*thin*), dd (*the*), &c.

## PENNOD II.

### Am yr Unseiniaid a'r Cydseiniaid.—*Of the Vowels and Consonants.*

Mae'r llythyrenau yn gynwysedig o *Unseiniaid* a *Chydseiniaid*.

*Unseiniad* a wna sain gyflawn, agored, ohono ei hun.

*Cydsain* a ofyn gynorthwy unseiniad i'w seinio yn berffaith.

Yr unseiniaid ydynt, *a, e, i, o, u, w, y*.

Enwau yr unseiniaid ydynt eu seiniau, y rhai y maent, bron yn mhob achos, yn ddiwyrog yn eu cadw. Yr unig eithriadau ydynt y rhai hyny a ffurfir gan *e* ac *y* mewn deuseiniaid neu driseiniaid. Mae *e*, o flaen *i*, *u*, neu *y* yn cael ei seinio fel *y*. Er siampl, seinir *neu* fel pe'i silliedid n*y*u; *peidio*, fel p*y*idio; *teyrnas*, fel t*y*urnas. Pan y mae yn dylyn *a* neu *o*, fe'i seinir fel *u*. Er siampl, seinir

*mae* fel mâu; *troed*, fel trôud. Eilwaith, seinir *y* fel *u*. Er siampl, seinir d*y*n fel d*u*n.

Y cydseiniaid ydynt, *bi*, *ec*, *ech*, *di*, *edd*, *ef*, *eff*, *eg*, *eng*, *hi*, *el*, *ell*, *em*, *en*, *pi*, *yph*, *erh*, *er*, *es*, *ti*, *eth*.

Gwelir yma fod enwau y cydseiniaid yn cynwys dwy lythyren, tra na chynwysa eiddo yr unseiniaid ond un.

Mae *w* yn gydsain yn nechreu gair, pan y mae unseiniad yn yr un sill; megys, y weddi, y wraig. Yr unig eithriad i hyn a ffurfir pan y mae yn hirsain o flaen *y*; megys, yr ŵyl, yr ŵythnos.

Mae'r cydseiniaid, fel yr unseiniaid, yn cadw eu seiniau yn ddiwyrog, yn eu holl gysylltiadau, ac nid ydynt byth yn fud. Seiniau y llythyrenau, gan hyny, megys ag y dynodir hwynt yn yr egwyddor, yw safon iawn gynaniad yr iaith Gymreig, rhagorolrwydd na cheir, yn debygol, mewn un iaith arall.

Mae'r cydseiniaid Cymreig naill ai yn wreiddiol neu darddedig.

Y cydseiniaid gwreiddiol ydynt, *b*, *c*, *chw*,* *d*, *ff*, *g*, *h*, *ll*, *m*, *n*, *p*, *rh*, *s*, *t*. Un o'r cydseiniaid hyn sydd bob amser yn nechreu gair yn dechreu â chydsain, os na fydd yn cael ei lywodraethu gan air blaenorol.

Y rhai hyn, gyda'r unseiniaid, ydynt y llythyrenau dan ba rai y ceir hyd i eiriau mewn Geiriaduron Cymreig.

Y cydseiniaid tarddedig ydynt, *ch*, *dd*, *f*, *ng*, *l*, *ph*, *r*, *th*,—*ngh*, *mh*, *nh*. Nid oes un o'r rhai hyn byth yn dechreu gair ond trwy ddylanwad rhyw air a fyddo yn uniongyrchol flaenori, yn grybwylledig neu yn ddealledig. Os tynir ymaith y gair llywodraethol hwnw, y llythyren a dreigla yn ol i'w gwreiddyn.

Mae *b*, *d*, *g*, *m*, *n*, hefyd, weithiau, yn gydseiniaid tarddedig, o *p*, *t*, *c*, *b*, *d*.

Rhenir y cydseiniaid i Fudion a Golefiaid.

Mudion ydynt y cydseiniaid hyny nas gellir parhau eu seiniau. Hwynt-hwy ydynt, *b*, *c*, *d*, *g*, *p*, *t*.

* Nid yw *ch* byth yn flaenlythyren wreiddiol, heb fod yn ddylynedig âg *w*, fel y gwelir wrth gyfeirio at y Geiriaduron.

Y golefiaid ydynt y rhai hyny ag y gellir parhau eu seiniau gyhyd ag y myner. Hwynt-hwy ydynt, *ch, dd, f, ff, ng, l, ll, m, n, ph, rh, r, s, th.*

Dywedwyd bod cydseiniaid yn gofyn cymhorth unseiniaid i'w seinio yn gyflawn; a dangoswyd bod hyd yn nod *enwau* y cydseiniaid, fel y seinir hwynt wrth adrodd yr egwyddor, yn gofyn cynorthwy unseiniaid i'w seinio. Wrth gynanu enwau y golefiaid, mae'r unseiniad cynorthwyol yn *blaenori* y cydseiniaid; megys, *ech, edd, ef, eff, eng, el, ell, em, en, yph, er, es, eth.* Wrth gynanu enwau y mudion, mae'r unseiniad yn *dylyn* y cydseiniaid; megys, *bi, di, pi, ti.* Yr unig eithriadau ydynt, *ec, eg.* Rhoddi *i* ar ol y rhai hyn a newidiai ychydig o'u seiniau, a thrwy hyny gwell oedd eu henwi yn ol trefn y golefiaid.

---

## ADCHWILIAD I'R AIL BENNOD.

1. Pa fodd y dosberthir y llythyrenau?—I unseiniaid a chydseiniaid.
2. Beth yw unseiniad?—Llythyren a wna sain gyflawn ohoni ei hun.
3. Beth yw cydsain?—Llythyren a ofyn gynorthwy unseiniad i'w seinio yn berffaith.
4. Pa rai ydynt yr unseiniaid?—*a, e, i, o, u, w, y.*

Dangosed yr athraw yma ragorolrwyddd arall yn perthyn i'r egwyddor Gymreig. Mae *enwau* yr unseiniaid yn dangos eu *seiniau.* Yn y Seisneg, mae gan bob un o'r unseiniaid, weithiau, sain wahanol i'w enw; megys *a* yn y geiriau *all, man; e* yn *met; o* yn *son,* &c.

5. Pa rai ydynt y cydseiniaid?—b, c, ch, d, dd, f, ff, g, ng, h, l, ll, m, n, p, ph, rh, r, s, t, th.

Noder yma, fel rhagorolrwydd arall yn perthyn i'r egwyddor Gymreig, fod *enwau* y cydseiniaid yn dangos eu *natur,* neu fel y dywedir yn gyffredin, eu *gallu.* Nis gellir dywedyd bod enwau y *cydseiniaid* yn dangos eu *seiniau,* am fod y cydseiniaid, mewn geiriau, yn cael eu cysylltu â gwahanol unseiniaid i osod allan eu seiniau. Er engraifft, seinir *bi,* weithiau, mewn geiriau, yn ba, be, bi, bo, bu, bw, by, neu ab, eb, ib, ob, ub, wb, yb. Modd bynag, gwelir yn amlwg fod *natur* neu *allu* y gydsain yn parhau yr un, ac mai yr unig wahaniaeth yw defnyddiad gwahanol unseiniaid. Yn y Seisneg, mae rhai o'r cydseiniaid yn meddu galluoedd gwahanol i'w

henwau. Er engraifft, enwir *c* yn *si*, ond seinir hi, y rhan fynychaf, yn *ec*, megys yn y gair *cap*. Enwir *g* yn *ji*, ond seinir hi y rhan amlaf yn *eg*, megys yn y gair *go*.

6. Pa neillduolrwydd sydd yn perthyn i'r cydseiniaid Cymreig?—Mae rhai ohonynt yn gydseiniaid gwreiddiol, a'r lleill yn rhai tarddedig.

7. Pa rai ydynt y cydseiniaid gwreiddiol?—b, c, chw, d, ff, g, h, ll, m, n, p, rh, s, t.

8. Paham y gelwir y rhai hyn yn gydseiniaid gwreiddiol?—Am fod pob gair Cymreig nad yw yn dechreu âg unseiniad, yn dechreu, yn wreiddiol, âg un ohonynt hwy.

9. Pa rai ydynt y cydseiniaid tarddedig?—ch, dd, f, ng, l, ph, r, th—ngh, mh, nh.

10. Paham y gelwir y rhai hyn yn gydseiniaid tarddedig?—Am nad ydynt byth yn dechreu geiriau ond mewn cyfansoddiant, yn mha sefyllfa y maent bob amser yn darddedig o'r cydseiniaid gwreiddiol.

11. Rhoddwch i mi engraifft.—Yn y frawddeg, "Heb Dduw, heb ddim," mae dau air yn dechreu â'r gydsain darddedig *dd*.

12. Pa fodd y gwnewch allan fod *dd* yn *darddedig* yn yr engraifft yna?—Am fod y geiriau *Duw* a *dim*, yn wreiddiol, yn dechreu â *d*, ac nid âg *dd*.

13. Onid oes mwy o gydseiniaid tarddedig nag a nodasoch?—Oes; y mae b, d, g, m, n, er eu bod yn gydseiniaid gwreiddiol, weithiau yn rhai tarddedig hefyd.

14. Rhoddwch i mi engraifft o ddefnyddiad un o'r rhai hyn fel cydsain wreiddiol a tharddedig.—"Y mae Duw yn dragwyddol." Yn y gair "Duw" y mae y *d* yn wreiddiol; ond yn y geiriad "yn dragwyddol," y mae yn darddedig o *t*; canys yn wreiddiol, "tragwyddol" yw y gair.

15. Pa ddosbarthiad arall a wnaed o'r cydseiniaid?—I fudion a golefiaid.

16. Beth yw mudion?—Cydseiniaid nas gellir parhau eu seiniau.

17. Pa rai ydynt hwy?—b, c, d, g, p, t.

18. Beth yw golefiaid?—Cydseiniaid ag y gellir parhau eu seiniau.

19. Pa rai ydynt hwy?—ch, dd, f, ff, ng, l, ll, m, n, ph, r, s, th.

20. Dangoswch i mi beth a feddylir wrth ddywedyd y gellir parhau sain y naill, ac nas gellir parhau sain y llall?—Nis gallaf barhau dim o sain *ed*, ond gallaf barhau sain *edd* cyhyd ag y mynaf. Gallwn barhau sain *di*; ond parhau sain yr unseiniad a fyddai hyny, ac nid sain y gydsain.

## PENNOD III.

### AM FFURFIAD Y LLYTHYRENAU.—*Of the Formation of the Letters.*

NI fydd i hanes fer am ffurfiad y llythyrenau, fe allai, fod yn annerbyniol gan yr efrydydd. Gwasanaetha i egluro yn fwy cyflawn natur llafar-seiniau, a'r gwahaniaeth gwreiddiol rhwng unseiniaid a chydseiniaid.

Sain yw yr effaith a gynyrchir ar y glust gan fath o gryniadau a drosglwyddir iddi yn gyffredin trwy gyfrwng yr awyr. Y llais dynol a gynyrchir gan gryniad dwy bilionen (*membrane*) ag sydd yn osodedig ar dop y gwyntgorn, gyda hollt neu agoriad rhyngddynt, er cael trwydded i'r awyr. Pan y mae yr awyr yn rhuthro o'r ysgyfaint trwy yr agoriad yma, gwna i wefusau hydwyth yr agoriad ymysgwyd, y rhai a gynhyrfant yn yr awyr y cryniadau ag sydd yn cynyrchu-llais. Ar ol dangos fel hyn pa fodd y ffurfir y llais, nodwn y gall y sain, wrth fyned yn mlaen o dop y gwyntgorn, gael ei hagweddu, yn ol ewyllys y person, mewn amrywiol ffyrdd,—amrywiaeth, modd bynag, ag sydd eto yn dra syml.

Agweddiadau y llais hawdd eu gwneyd, ac hawdd eu gwahaniaethu gan y glust, a thrwy hyny yn gymhwys i fod yn elfenau iaith, ydynt oddeutu haner cant mewn rhifedi; eithr ni chynwysa un iaith sengl fwy nag o gylch eu haner. Y maent yn rhanadwy i ddwy restr dra gwahanol, ond o'r bron gyfartal, y rhai a elwir *unseiniaid* a *chydseiniaid.*

Yr *unseiniaid* yw llais yn dyfod allan o'r safn agored, heb gael ei effeithio gan ddim ond gan y graddau i'r rhai y mae y safn yn cael ei hagoryd neu ei hestyn allan. Yr unseiniaid A E I O W Y a wahaniaethir hawddaf. Sain yn myned trwy y safn tra yn ei sefyllfa ymlaesol fwyaf naturiol, a glywir fel yr agweddiad a arwyddir gan Y. Os estynir y tafod ychydig clywwn E. Os agorir y genau ffurfir A. Os cyfyngir y genau clywwn I. Os estynir allan y genau, gan ar yr un pryd eu hagoryd, clywwn O; ac ós estynir allan y genau, gan eu cyfyngu, clywwn W. Y mae y nifer y gellir ei ffurfio o'r unseiniaid, modd

bynag, gymaint a'r graddau i'r rhai y gellir gwahaniaethu maint y safn. Mae oddeutu ugain yn ddigon gwahaniaethadwy, ond ychydig ieithoedd a gynwysant fwy na deuddeg.

I egluro yr ail restr o agweddiadau y llais, a elwir *cydseiniaid*, gallwn nodi, tra y byddo y sain yn dyfod trwy y safn agored, yr hyn yw yr unseiniaid, os attelir hi, pa un bynag ai trwy gau y safn yn gyflawn, ai trwy ddwyn rhai rhanau at eu gilydd, fod yr effaith ar y glust mor wahanol, yn ol *sefyllfa* y rhanau o'r safn lle y mae yr ymattaliad yn cymeryd lle, a'r *modd* yn yr hwn y mae yn dygwydd, fel y mae amrai agweddiadau hollol wahanol yn tarddu o hyny. Fel hyn, os attelir unrhyw sain barhaol, megys A, trwy gau y safn wrth y cyffiniau allanol, neu wefusau, clywir hi yn terfynu â'r agweddiad a ddynodir gan y llythyren P, hyny yw, bydd y sill AP wedi cael ei chynanu: ond os dan amgylchiadau cyffelyb y gwneir yr ymattaliad yn y rhan ol o'r safn, trwy godiad y tafod yn erbyn y gorchfant, clywwn yr agweddiad a ddynodir gan C, a bydd y sill AC wedi cael ei chynanu. Os gwneir yr ymattaliad yn nghanol y safn, trwy godiad blaen y tafod yn erbyn y gorchfant, bydd i'r sain a ddynodir gan T gael ei ffurfio, a chlywir y sill AT, ac felly am y lleill. Mae'r glust yr un mor wybyddus o'r cyfluniadau, pa un bynag ai yn blaenori ai yn dylyn y byddo yr ymattaliad; hyny yw, pa un bynag a fyddo y sillau yn cael eu cynanu, megys uchod, AP, AT, AC, neu fel PA, TA, CA. Nid yw yr agweddiadau am y rhai yr ydym yn llefaru, yn ymddangos, gan hyny, gymaint yn seiniau, ag ydynt yn wahanol ddulliau o ddechreu a diweddu seiniau; ac am eu bod fel hyn yn fwy canfyddadwy mewn cysylltiad â llafar-seiniau, y gelwir hwynt yn *gydseiniaid*.

Yn awr, yn y safn, a'i hystyried fel llafar-bib, y mae tri lle yn y rhai y gellir gwneyd attaliad i'r llais neu yr anadl yn dra chyfleus, ac y mae pum modd o'i wneyd mewn dau, a phedwar modd yn y trydydd, y rhai y bydd i ni yn awr eu dysgrifio.

Tri phrif ystum y safn, fel y gellir eu galw, ydynt,

1. Y rhan allanol o'r safn, neu y gwefusau, ag sydd yn rhoddi y sain wefusol, o'r hon y mae P yn siampl.

2. Y rhan ganol o'r safn, lle y mae blaen y tafod yn dynesu at daflod y genau, tu ol i'r danedd, ac yn cynyrchu y sain orchfantol, o'r hon y mae T yn siampl.

3. Y rhan fwyaf mewnol o'r safn, lle y mae corff y tafod yn dynesu at daflod y genau, gan roddi y sain o'r hon y mae C yn siampl. A'r pum modd yn y rhai y gellir effeithio ar y llais neu yr anadl wrth fyned trwy bob un o dri ystum y safn, ydynt,

1. Attaliad disymwth a chyflawn o'r llais, yn ddylynedig gan fyr chwythad, gan gynyrchu yr hyn y gellir eu galw yn chwythfudion; sef, P yn yr ystum gwefusol; T yn y gorchfantol; ac C yn y sefnigol.

2. Attaliad disymwth, fel yn yr achos diweddaf, ond fod y llais yn cael ei oddef i barhau nes i'r rhan tu ol i'r rhanau attaliadol gael ei heangu gan awyr. Gellir galw y rhai hyn, o ganlyniad, yn sain-fudion; sef B, D, ac G.

3. Gosodiad y genau yr un modd ag wrth ffurfio y mudion, ond bod y sain yn cael ei gyru trwy y ffroenau; megys, M, N, ac Ng. Galwn y rhai hyn yn sain-olefiaid ffroenawl.

4. Anadl yn unig yn cael ei gyru trwy y tri ystum geneuol, bron yn gauedig; megys Ff yn yr ystum gwefusol; Ll neu Rh yn y gorchfantol, neu y'blaen-dafodol; ac Ch yn y sefnigol, neu yr ol-dafodol. Galwn y rhai hyn chwyth-olefiaid.

5. Arferyd llais yn yr un modd ag yr arferir anadl gyda'r chwyth-olefiaid; megys, F, ac L, neu R. Galwn y rhai hyn yn sain-olefiaid.

Y daflen ganlynol, ond odid, a gynorthwya y dysgadur i ddeall yn well yr hyn a nodwyd am ffurfiad a dosbarthiad y cydseiniaid:—

| Chwyth-fudion. | Sainfudion. | Sainolefiaid ffroenawl. | Chwyth-olefiaid. | Sain-olefiaid. | |
|---|---|---|---|---|---|
| P | B | M | Ff, neu Ph | F | GWEFUSOL. |
| T | D | N | S, T Ll, Rh | Dd L, R. | BLAEN-DAFODO |
| C | G | Ng | Ch | | OL-DAFODOL. |

Gellir ffurfio mwy o agweddiadau nag sydd wedi eu hamlygu yn y daflen, ond rhaid iddynt gael eu ffurfio ar yr un egwyddor; eithr gan nad ydynt yn y Gymraeg, gadawwyd hwynt allan.

Y sain a roddir i *si* a ffurfir rywbeth yn debyg i sain *s*. Yr holl wahaniaeth a wneir yw byrhau ychydig o flaen y tafod.

Gall y seiniau gwefusol gael eu gwneyd naill ai gan ddwy wefus, neu gan un wefus a'r danedd cyferbyniol. Gall Ff, er siampl, gael ei seinio gan y gwefusau yn unig, neu gan y gwefusau a'r danedd; ac y mae rhai, yn dra chlogyrnaidd, yn ei ffurfio â'r danedd isaf a'r wefus uwchaf.

Mewn trefn i'r dysgadur gael amgyffrediad trwyadl o natur y cydseiniaid, nyni a chwanegwn rai sylwadau ar y daflen uchod:

1. Sylwer bod y daflen yn cynwys yr oll o'r cydseiniaid ag sydd yn yr iaith, oddigerth *h*,* wedi eu dosbarthu yn ol y lle a'r modd yn mha rai eu ffurfir hwynt.

2. Mae'r daflen yn cynddrychioli'r safn, sef y gwefusau; y gorchfant, pa un a gyffyrddir gan flaen y tafod wrth lefaru; a'r rhan ol, a gyffyrddir gan ganol y tafod.

3. Seinier y chwyth-fudion sydd yn y golofn gyntaf, sef AP, AT, AC, amryw weithiau yn olynol, gan sylwi ar y gwahanol leoedd yn y safn yn mha rai eu cynyrchir hwynt. Ffurfir AP gan y gwefusau; AT, trwy godiad blaen y tafod yn erbyn y gorchfant; ac AC, trwy godiad canol y tafod yn y rhan ol o'r safn. Yn awr, seinier y sain-fudion sydd yn yr ail golofn, sef AB, AD, AG, amryw weithiau yn olynol. Canfyddir bod y rhai hyn yn cael eu ffurfio yn gymhwys yr un modd a'r chwyth-fudion. Yr unig wahaniaeth rhyngddynt yw, bod y chwyth-fudion, fel y mae eu henw yn dynodi, yn diweddu â byr chwythad, a'r sain-fudion â byr seiniad, yn y rhan ol o'r safn. Yn nesaf seinier y ffroenolion, sef AM, AN, ANG, amryw weithiau, fel y gwnaed gyda'r lleill. Canfyddir bod y rhai hyn eto yn cael eu ffurfio yr un fath a'r mudion yn y ddwy golofn flaenaf. Yr unig wahan-

* Er ein bod ni wedi rhestru yr *h* gyda'r cydseiniaid, dylem sylwi yma nad yw yn ateb yn gwbl iddynt o ran ei natur. Mae'r holl gydseiniaid, oddigerth y llythyren hon, yn cael eu ffurfio trwy gyffyrddiad rhyw ranau o'r peirianau ymadrodd â'u gilydd; ond nid yw *h* ddim ond chwyrn-anadliad. Modd bynag, mae'n gydsain cyn belled a hyn—ei bod yn gofyn cael ei chysylltu âg unseiniad.

laeth rhyngddynt yw, yn lle attal y llais yn ddisymwth, fel y gwneir gyda'r mudion, y gadewir iddo ddyfod allan trwy y ffroenau. Y nesaf fydd y chwyth-olefiaid, yn y bedwaredd golofn. Seinier hwynt yn olynol, fel hyn, AFf, AS, ATh, ALl, ARh, ACh. Canfyddir bod y rhai hyn, er yn rhanedig i'r tri dosbarth a nodwyd, yn gwahaniaethu ryw ychydig oddiwrth y mudion a'r ffroenolion o ran dull eu ffurfiad. AFf a ffurfir gan y wefus isaf a'r danedd uwchaf. ATh ac S a ffurfir gan flaen y tafod a'r danedd. Y gwahaniaeth rhwng S ac Th yw, bod yr anadl, wrth ffurfio y flaenaf, yn cael ei gyru gyda mwy o rym trwy ffos gul yn nghanol y tafod, yn lle ar draws y tafod. Ll ac Rh a ffurfir yn yr un man a'r gorchfantolion ereill, sef T, D ac N. Y gwahaniaeth rhwng y ddwy lythyren uchod yw, bod yr anadl yn cael ei gyru tros ochrau y tafod wrth ffurfio y flaenaf, tra y mae yn cael ei gyru rhwng blaen y tafod a'r gorchfant wrth ffurfio yr olaf. Ch eto a ffurfir yn mhellach yn ol yn y safn na'r sefnigolion C, G, ac Ng.

4. Sylwer eto fod yr holl gydseiniaid yn gynwysedig naill ai o sain neu o chwythad, a bod i'r rhan fwyaf o'r cydseiniaid seiniol eu rhai chwythawl cyfatebol; fel hyn,—

P, B—T, D—C, G—Ff, F—Th, Dd—Ll, L—Rh, R.

Y seinolion nad oes iddynt eu chwytholion cyfatebol ydynt y ffroenolion M, N, ac Ng. Ymdrechir gwneyd y diffyg hwn i fyny trwy chwanegu *h* at y rhai hyn mewn cyfansoddiant; megys, fy *mh*en, fy *nh*raed, fy *ngh*efn; ond nid yw chwanegiad y llythyren hon yn eu gwneyd yn chwytholion. Y chwytholion nad oes iddynt eu seinolion cyfatebol ydynt S ac Ch. Mae'r llythyren Z yn Seisneg yn un seiniol cyfatebol i S, ond nid yw y sain hono yn perthyn i'r Gymraeg. Trwy nad oes llythyren seiniol cyfatebol i Ch i'w chael, mae G weithiau mewn cyfansoddiant yn gorfod bod heb un cynddrychiolydd; fel hyn, Geneth; yr eneth.

Gellir rhanu yr *unseiniaid* hefyd i dri dosbarth, yn ol y tri ystum a nodwyd; sef, gyddfol, tafodol, a gwefusol. Hefyd, mae'n perthyn i bob dosbarth ddau fath o unseiniaid, sef unseiniaid agored ac unseiniaid cauedig.

Y daflen ganlynol a ddengys ddosbarthiad yr unseiniaid ar un olwg:—

| *Agored.* | *Cauedig.* | |
|---|---|---|
| A | Y | Gyddfol. |
| E | I, U, Y | Tafodol. |
| O | W | Gwefusol. |

1. Seinier A, E, O yn olynol, a chanfyddir bod y gyntaf yn tarddu o'r gwddf, bod yr ail yn cael ei ffurfio gan y tafod, a bod y trydydd yn cael ei ffurfio yn y gwefusau. Seinier Y, I, W eto yn olynol, a cheir bod y rhai hyn yn cael eu ffurfio gan yr un rhanau o'r peirianau ymadrodd a'r lleill, ac mai'r unig wahaniaeth rhyngddynt yw bod tramwyfa'r naill yn fwy cyfyngedig nag eiddo y lleill.

2. Seinir A, Y yn olynol, a chanfyddir mai'r unig wahaniaeth rhyngddynt yw bod y safn wrth seinio y blaenaf yn fwy agored nag wrth seinio yr olaf. Y gwahaniaeth rhwng E ac I yw bod mwy o gyfwng rhwng y tafod a'r gorchfant wrth seinio E nag wrth seinio I, U, neu Y dafodol. Y gwahaniaeth rhwng O ac W ydyw, bod y twll crwn a ffurfir gan y gwefusau yn fwy o faint wrth seinio y blaenaf nag wrth seinio yr olaf.

3. Mae'r unseiniaid agored mor wahanol i'w gilydd fel nad oes modd i seinio dau ohonynt mewn un sill. Pan gysylltir A ac E, neu O ac E, ni roddir i E ei sain briodol ei hun, ond fe'i seinir fel U; megys *cae, hoel.* Hefyd, rhoddir i A ac O, pan yn gysylltedig âg E, y sain hir mewn geiriau unsill. Yr unig wahaniaeth rhwng sain *cae* a *cau* yw, fod i'r *a* sain hir yn y gair blaenaf, a ber yn yr olaf. Chwaneger sill at y gair *cae*, megys, *caeau*, ac fe gymer yr *a* sain fer; yna bydd y ddau air a nodwyd yn gymhwys yr un sain. Dywed un awdwr diweddar fod y "fath ddeuseiniaid ag *ae, oe* (megys *daeth, oen*), yn aml yn cael eu cynanu fel pe wedi eu hysgrifenu yn *au* ac *ou*, ond rhydd darllenwr cywir iddynt eu priodol sain." Hoffem glywed y darllenwr cywir hwn yn darllen *lleoedd, croeshoelio, caeau*, &c.

## PENNOD IV.

### AM DREIGLIADAU YR UNSEINIAID.—*Of the Inflections of the Vowels.*

MAE yr oll o'r unseiniaid, oddieithr *i* ac *u*, mewn rhai amgylchiadau, yn treiglo i seiniau ereill; megys, s*a*nt, s*ai*nt, &c.

Y daflen ganlynol a ddengys ar un olwg yr holl gyfnewidiadau perthynol i'r unseiniaid.

#### TREIGLIADAU YR UNSEINIAID.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| A a gyfnewidia | i | *ai;* | megys, | s*a*nt, s*ai*nt. |
| ———— | i | *e;* | ——— | c*â*r, c*e*raint. |
| ———— | i | *ei;* | ——— | s*a*rff, s*ei*rff. |
| ———— | i | *y;* | ——— | cad*a*rn, ced*y*rn. |
| E ———— | i | *y;* | ——— | pab*e*ll, peb*y*ll. |
| O ———— | i | *y;* | ——— | ff*o*rdd, ff*y*rdd. |
| W ———— | i | *o;* | ——— | tr*w*m, tr*o*m. |
| ———— | i | *y;* | ——— | c*w*ch, c*y*chod. |
| Y ———— | i | *e;* | ——— | h*y*ll, h*e*ll. |

Y rhai hyn ydynt dreigliadau naturiol a chyson yr unseiniaid; ond weithiau treiglant yn afreolaidd; megys, *ty, tai;* tr*oe*d, tr*ae*d, &c.

#### AM Y DEUSEINIAID.

Deuseiniaid yw cyfuniad dau unseiniad yn yr un sill. Eu rhif yw dau ar ugain.

#### CYNLLUN.

Rhestr 1.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| aw | awr | ia | iar | wa | gwan |
| ew | llew | ie | iechyd | we | gwell |
| ow | ow* | io | Ion | wi | gwin |
| uw | Duw | iw | lliw | wo | gwobr |
| yw | dryw | iy | iyrchod | wy | gwỳn |

* Nis gall yr awdwr feddwl am un engraifft yn y Gymraeg â'r deuseiniad *ow* ynddi ond hon. Y mae y siamplau a geir yn y Gramadegau

Rhestr 2.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| ae | caeth | ai | gair | au | haul |
| oe | lloer | ei | ein | eu | lleuad |

ey a arferir yn *teyrn* a'i darddedigion yn unig.

Y mae rhai o'r deuseiniaid yn newidiol.

TREIGLIADAU Y DEUSEINIAID.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| *Aw* a gyfnewidia | i | *o;* | megys, | br*aw*d, br*o*dyr. |
| *Ae* ———— | i | *ei;* | ——— | m*ae*n, m*ei*ni.† |
| *Oe* ———— | i | *wy;* | ——— | cr*oe*n, cr*wy*n. |
| *Ei* ———— | i | *a;* | ——— | ll*ei*dr, ll*a*dron. |

*Ai* hefyd a newidia i *a* yn y gair gwr*a*gedd.

Sylw.—Pan na fyddo ond un unseiniad yn newid mewn deuseiniad, treigla yn unol â'r cynllun a roddwyd o dreigliad yr unseiniaid.

AM Y TRISEINIAID.

Triseiniad yw cyfuniad tri unseiniad yn yr un sill. Y modd y ffurfir triseiniaid yw gosod *i* neu *w* o flaen neu ar ol y deuseiniaid, trwy yr hyn y gellir ffurfio cryn nifer ohonynt; eithr ni arferir ond triarbymtheg yn y Gymraeg.

Nid oes un o'r triseiniaid yn cyfnewid yn gwbl; a phan y mae un neu ddau o'r unseiniaid yn newid, treiglant yn unol â'r cynlluniau a roddwyd.

Y mae treigliadau yr unseiniaid yn cyflawni tair swydd, sef, 1. *Gwahaniaethu rhif;* megys, ff*o*n, ff*y*n. 2. *Gwahaniaethu rhyw;* megys, ll*w*m, llom; h*y*ll, h*e*ll. 3. *Hyrwyddo y sain;* megys, gl*â*n, gl*e*ndid; sant, s*ei*ntiau; d*w*fr, d*y*froedd.

Cymreig yn annghywir, sef fföwn, fföwch. Y mae yr unseiniaid yn perthyn i wahanol sillau, ac o ganlyniad nis gallant fod yn ddeuseiniaid.

Gadawwyd allan *oi* a restrir gyda'r deuseiniaid, am nad allwyd meddwl am engraifft. Y mae y siamplau a roddir yn annghywir, ar yr un tir ag y mae y siamplau blaenorol. Y mae tröi a fföi yn ddwysill.

† Mae rhai yn troi y deuseiniad *ae* weithiau i *eu;* megys, euthym, gwneuthym, meusydd; ond y ffordd oreu, er mwyn symledd, fyddai ei droi yn *ei* yn mhob achos.

## ADCHWILIAD I'R BEDWAREDD BENNOD.

1. A ydyw yr oll o'r unseiniaid yn treiglo yn achlysurol?—Nac ydynt.

2. Pa rai sydd yn treiglo?—*a*, *e*, *o*, *w*, ac *y*.

3. Pa rai sydd nad ydynt yn treiglo?—*I* ac *u*.

4. I ba seiniau y mae *a* yn treiglo?—I *ai*, *e*, *ei*, *y*.

Rhoed yr athraw yr un gofyniad mewn perthynas i'r unseiniaid treigliadol ereill, a phared i'r dysgadur roddi dwy neu dair o engreifftiau o dreigliad pob un o'r unseiniaid; fel hyn, *a* a dreigla i *ai*: megys, br*a*n, br*ai*n; daf*a*d, def*ai*d; llafari*a*d, llafari*ai*d.

5. A oes rhai unseiniaid yn treiglo yn wahanol i'r hyn a nodwyd yn y daflen?—Oes.

6. Nodwch rai.—Y mae *y* yn troi i *ai*; megys, t*ŷ*, t*ai*, yr hyn na nodir yn y daflen; hefyd *u* i *y*, megys, p*u*mp, p*y*mtheg; *i* i *w*n, megys, c*i*, c*w*n; ac *w* i *wy*, megys, g*w*r, g*wy*r.

7. A ellwch chwi ddywedyd paham na roddwyd y rhai hyn yn y daflen?—Am nad oes mwy nag un siampl o dreigliadaeth pob un ohonynt.

8. Beth yw deuseiniad?—Cyfuniad dau unseiniad yn yr un sill.

9. Pa nifer ohonynt sydd yn y Gymraeg?—Dau ar ugain.

10. A ydyw yr oll ohonynt yn gyfnewidiol?—Nac ydynt.

11. Pa rai sydd ynte?—*aw*, *ae*, *oe*, ac *ei*.

Gofyned yr athraw am siampl o dreigliad pob un, gwahanol i'r rhai a roddwyd yn y daflen; megys, *aw*r, oriau; *sae*r, *sei*ri; *oe*n, *wy*n; n*ei*dr nadroedd.

12. Onid ydyw *ai* yn troi i *ei*, megys b*ai*, b*ei*au?—Ydyw; eithr nid oes ond un unseiniad yn newid yn yr engraifft yna.

13. Pa fodd y treiglir un unseiniad mewn deuseiniad?—Yn unol â'r cynllun a roddwyd o dreigliad unseiniaid.

14. Beth yw triseiniad?—Cyfuniad tri unseiniad yn yr un sill.

15. A oes dull neillduol o dreiglo yn perthyn i'r triseiniaid? Nac oes; treiglant yn unol â'r cynlluniau a roddwyd o dreigliad yr unseiniaid a'r deuseiniaid.

16. Rhoddwch i mi siampl o dreigliad un unseiniad mewn triseiniad.—I*u*ith, i*e*ithoedd.

17. Rhoddwch i mi siampl o dreigliad deuseiniad mewn triseiniad.—Uni*aw*n, uni*o*ndeb.

18. Pa ddybenion y mae treigliadau yr holl unseiniaid yn eu hateb?—Gwahaniaethu rhif, gwahaniaethu rhyw, ac hyrwyddo y sain.

Gofyned yr athraw am siamplau.

## PENNOD V.

### Am Gamgynaniad yr Unseiniaid.—*Of the wrong Pronunciation of the Vowels.*

Y mae gan wahanol barthau Cymru wahanol ddulliau i seinio geiriau. Wrth sylwi ar yr amrywiol briod-ddulliau yma, ceir fod y gwahaniaeth rhyngddynt yn gynwysedig yn nefnyddiad gwahanol unseiniaid mewn geiriau. Er cynorthwy i'r sawl sydd yn awyddus i ymgadw rhag llygredd tafodieithol eu priodol barthau, a chyraedd cywirdeb ynganiad, nodir y beiau mwyaf amlwg a chyffredinol a gyflawnir.

A

Camseinir y llythyren A gan briodorion Swydd Feirion, Trefaldwyn, ac amrai barthau o'r Deheudir, trwy ei seinio yn *ea* mewn amrai eiriau; a chamseinir hi mewn rhai parthau o'r lleoedd uchod pan y bydd y cydseiniaid *c*, *ch*, *g*, *ngh*, yn ei blaenori, trwy ei seinio fel y deuseiniad *iea*, fel y canlyn;—yn lle *câr*, dywedant *ciear*, &c.: ac yn y parthau nesaf o Arfon ac Eifionydd i Feirion, camseinia y priodorion yr *a* yn fynych, trwy ei seinio fel y deuseiniad *iâ*; yn lle *câr*, dywedant *ciâr*, &c. Camseinir yr *a* yn *o* hefyd yn Môn ac Arfon, yn y sill olaf o'r gair dafad.

E

Camseinir y llythyren E mewn terfyniadau geiriau gan briodorion Swydd Gaernarfon, Swydd Fôn, a pharthau gogleddol Swydd Ddinbych a Swydd Fflint, fel y canlyn;—yn lle bachg*e*n, dywedant bachg*a*n; cas*eg*, cas*ag*; pell*e*n, pell*a*n; ang*e*l, ang*a*l: ac yn Swydd Ddinbych a Swydd Fflint, camseinir *e* yn *i* yn y gair bysedd, fel pe bae wedi ei ysgrifenu bysidd. Hefyd camseinir y llythyren *e* yn *i* yn Swydd Fôn, yn y geiriau *e*ffro, d*e*ffro, a nag*e*.

I

Camseinir y llythyren I yn fynych yn y Dywysogaeth gan ddynion enwog a ddylent wybod yn well, trwy ei seinio yn *y*, yn y geiriau canlynol;—yn lle bend*i*thio, dywedant bend*y*thio; ac yn lle bend*i*thion, dywedant bend*y*thion. Y peth nesaf a glywwn, y mae yn debyg, a fydd bend*y*gedig!!

Camseinir y llythyren I hefyd trwy ei seinio yn *y*, gan briodorion Swydd Gaernarfon, Môn, Dinbych, a Fflint, yn y gair milldiroedd.

Camseinir y llythyren hon hefyd yn *u* yn y rhan fwyaf o Swyddi y Deheudir, mewn amrai eiriau; megys, am Grist, dywedant Crust; trist, trust; Pont-y-tŷ-pridd, Pont-y-tŷ-prudd, &c.

O

Camseinir y llythyren O yn fynych gan drigolion gwahanol barthau yn y Dywysogaeth, trwy ei seinio yn *a* mewn rhai geiriau; megys, cor*a*uau yn lle cor*o*nau; ohon*a*t yn lle ohon*o*t, &c.

U

Camseinir y llythyren hon yn fynych gan briodorion y Deheudir, mewn amrai eiriau, fel arfer gwlad; ac y mae llawer yn y Gogledd wedi llyncu y llwgr hwn yn ddiweddar. Tybia llawer Gogleddwr hunanol ei fod yn ymadroddi yn ardderchog pan y dywed dy*m*yno am dymuno, *y*nig am *u*nig, ach*y*bwr am ach*u*bwr, egl*y*ro am egl*u*ro, &c.; eithr y gwirionedd yw, nid yw ond yn iselu ei hun fel Cymreigydd yn ngolwg y craff a'r deallus.

Camseinir y llythyren U hefyd yn *i* gan holl briodorion Cymru o'r bron, yn y geiriau trugaredd a thrugarhau; fel pe bae y geiriau wedi eu hysgrifenu yn tr*i*garedd a thr*i*garhau.

Camseinir y llythyren U hefyd yn *i* mewn amrai eiriau, gan briodorion y Deheudir, ac ar gyffiniau y Gogledd, yn Meirion a Threfaldwyn, fel y canlyn;—yn lle D*u*w, dywedant D*i*w; yn lle p*u*r, pir; h*u*no, h*i*no, &c.

W

Camseinir y llythyren W gan briodorion y Deheudir yn *u* yn y gair llud*w*. Yn fynych nid yw y llythyren hon yn cael un sain ar ol *g*. Yn lle gwlaw, gwlychu, gwlyb, gwneyd, gwlan, &c., dywedir glaw, glychu, glyb, gneyd, glân. Mewn rhai parthau o sir Drefaldwyn, clywir y bai yma yn fynych gyda'r geiriau gwlad, gwraig, gwialen; megys, Yr wyf yn myn'd i'r lâd; graig pwy yw hi? lle mae'r ialen?

Y

Megys ag yr hysbyswyd o'r blaen, y mae gan y ddwy sain; un yn ateb i'w henw, yr hon a alwn ei sain yddfol; a'r llall fel

*u*, yr hon alwn ei sain dafodol. Y manau lle y cymer ei sain dafodol, yn lle ei sain yddfol, ydynt,—

1. *Yn y sill olaf o eiriau lluawssill*; megys, myn*y*dd, aw*y*dd, fell*y*. Os chwanegir sill, cymer yr *y* ei sain yddfol; megys, mynyddoedd, awyddus.

2. *Mewn geiriau unsill*, oddieithr y, ydd, ym (fy), yn, yr, ys, yth, dy, dyt, fy, myn (*by*), syr.

3. *Yn y blaenddodion cyd, cyn* (pan yn arwyddo cyntaf), *dy* o flaen unseiniad, ac mewn atenwau neu atferfau unsill blaenddodol; megys, cydweled, cynoesoedd, dyoddef, cryfarfog, synfyfyrio.

4. *Ar ol yr unseiniad w hirseiniol;* megys, llwyddiant, mwyniant, rhwydd-deb.

Camseinir yr Y yn fynych mewn rhai o'r geiriau canlynol, gan briodorion y Deheudir, swydd Drefaldwyn, a Meirion, trwy roddi y sain dafodol yn lle yr yddfol, fel y canlyn;—seiniant "d*y* Ysbryd Glân," yn "d*u* Ysbryd Glân," "m*y*n eich gorfoledd," "m*u*n eich gorfoledd." Cyflawnir y bai hwn yn gyffredin mewn rhai geiriau; megys rh*u*ddhâd, yn lle rh*y*ddhâd; t*u*mpan, yn lle t*y*mpan; pr*u*dferth, yn lle pr*y*dferth, &c. Hefyd, yn y lleoedd a enwyd, camseinir y sain dafodol trwy ei seinio yn *i* yn lle *u*, fel y canlyn; yn lle d*y*n, dywedant d*i*n; m*y*n, m*i*n; fr*y*, fr*i*; obr*y*, obr*i*; engl*y*n, engl*i*n, &c.

## Y DEUSEINIAID.

### AW

Camseinir y deuseiniad AW gan briodorion rhai parthau o'r Deheudir mewn geiriau unsill, fel y canlyn;—am m*aw*r, dywedant m*ow*r; ll*aw*, ll*ow*, &c.; a chlywir y cyfeiliornad hwn gan briodorion y Gogledd mewn geiriau amrysill, fel y canlyn;—yn lle m*aw*rion, m*ow*rion; c*aw*ri, c*ow*ri, &c.

### EW

Camseinir y deuseiniad EW gan briodorion Swydd Gaernarfon a Swydd Fôn, yn y gair m*ew*n, fel pe bae wedi ei lythyrenu yn mi*aw*n.

### UW

Camseinir y deuseiniad hwn yn fynych yn y Dywysogaeth yn y gair Duw, trwy roddi sain yddfol yr *y* i'r *u*, a phryd arall yr *i*;

ac mewn cyrau o'r Deheudir, a Swydd Drefaldwyn, seinir ef *Diw.*

YW

Camseinir y deuseiniad hwn gan bawb o'r bron yn y Dywysogaeth, trwy roddi sain *i* i'r *y* yn y geiriau canlynol :—*yw*, yd*yw* c*yw*, rh*yw*; ac yn y Deheudir, a'r cyrau nesaf o Feirion a Threfaldwyn at y Deheudir, camseiniant yr *y* yn yr un modd yn y geiriau ll*y*w, b*y*w. Dylai yr *y* yn y deuseiniad yma bob amser gael ei sain briodol mewn geiriau amrysill, oddieithr yn y sill olaf; megys b*y*wiog, b*y*wyd, cl*y*wed, ll*y*wiawdwr, &c.

IA

Camseinir y deuseiniad hwn mewn parthau o'r Deheudir, Swydd Drefaldwyn, a Swydd Feirion, megys yn y gair i*á*ch, yn *ie* ac *iea*, megys *ie*ch, *iea*ch.

IO

Camseinir y deuseiniad IO gan briodorion y Deheudir yn *o*, trwy hebgor sain yr *i* mewn terfyniadau geiriau, fel y canlyn :— yn lle meib*ion*, dywedant meib*on*, &c.

IW

Camseinir y deuseiniad hwn gan amrai o briodorion y Dywysogaeth, trwy seinio yr *w* yn *f*, fel y canlyn :—yn lle ll*iw*o, dywedir ll*if*o; br*iw*o, br*if*o, &c.

WY

Y mae i'r deuseiniad hwn dair o wahanol seiniau mewn geiriau unsill. Y gwahanol seiniau a ganfyddir yn y tri gair canlynol; sef, gŵydd, gwŷdd, a gwỳn. Yn y lle cyntaf, y mae yr *w* yn hir a'r *y* yn fer; yn yr ail, y mae yr *w* yn fer a'r *y* yn hir; yn y trydydd, y mae yr *w* a'r *y* yn fyrion. Ar ol *ch* ac *g* y mae yr *w* yn gyffredin yn meddu sain fer; megys, chwys, chwyrn, gwynt, &c.: ar ol y cydseiniaid ereill y mae bob amser yn meddu y sain hir; megys, pwys, rhwydd, blwydd, cwymp, &c. Pan y mae yr w yn hir, dylid ei seinio felly yn mhob sill y dygwydda fod ynddi mewn geiriau amrysill; megys, g*w*yliau, g*w*yddau, c*w*ympo, p*w*yso, &c.; ond pan y mae yr *w* yn fer, yr hyn sydd yn dygwydd yn aml ar ol *ch* ac *g*, dylai yr *y*, pa un bynag ai hir ai ber, mewn geiriau amrysill, gael ei sain briodol yn mhob sill y dygwydda y deuseiniad hwn fod ynddi, ond y sill ddiweddaf; megys, chw*ŷs*, chw*y*su; chw*y*rn, chw*y*rnu; gw*y*n, gw*y*nion;

gw*ŷ*llt, gw*y*lltion; gw*ŷ*ch, gw*y*chder; gw*y*nt, gw*y*ntoedd; gw*y*rth, gw*y*rthiau, &c.

AE

Camseinir y deuseiniad AE gan briodorion y Deheudir mewn amrai eiriau, trwy adael yr *e* heb ei seinio, a seinio yr *a* yn unig, fel y canlyn;—seiniant gw*ae*d, gw*a*d; tr*aed*, yn tr*a*d; ffr*ae*th yn ffr*a*th, &c. Hefyd camseinir y deuseiniaid AE gan briodorion Swydd Drefaldwyn, Meirion, a pharthau deheuol Dinbych a Fflint, mewn terfyniadau geiriau amrysill, trwy ei seinio fel yr unseiniad *e;* yn lle marwol*ae*th, dywedant marwol*e*th; gwasan*ae*th, gwàsan*e*th; llygredig*ae*th, llygredig*e*th, &c. Ac yn Swydd Fôn, Swydd Gaernarfon, a pharthau gogleddol Swydd Ddinbych a Swydd Fflint, camseiniant AE yn *a* yn nherfyniadau geiriau amrysill, fel y canlyn;—yn lle marwol*ae*th, dywedant marwol*a*th; gwasan*ae*th, gwasan*a*th; arf*ae*th, arf*a*th, &c.; ac yn Swydd Drefaldwyn camseinir y deuseiniad AE, mewn geiriau unsill, yn *eu*, fel y canlyn;—am p*ae*nt, dywedant p*eu*nt; tr*ae*th tr*eu*th; gw*ae*d, gw*eu*d, &c.

Y mae llygriad arall o barth sain y deuseiniad wedi llusgo i'n gwlad yn ddiweddar, trwy ei seinio yn *äe*, fel pe bae y ddau unseiniad yn ddidoledig oddiwrth eu gilydd, ac felly yn ffurfio dwy sill yn lle un, fel y canlyn;—am gw*ae*d, dywedant gwa-*e*d; *cae*, *ca-e*, &c. Y mae yn debyg i hyn darddu oddiar y dybiaeth hono, sef bod "i bob llythyren gae[1] ei sain ei hun yn y Gymraeg;" ond y mae eithriad i hyn, fel y sylwyd o'r blaen, yn y deuseiniaid *ae* ac *oe*. Gwelai y craff hyn yn eglur, pe byddai iddo yn unig estyn terfyniadau rhai o'r geiriau a ragnodwyd; megys gwaed, gwaedu; cae, caeau; a'u seinio yn gwaëdu, caëau, &c.

OE

Camseinir y deuseiniad OE gan briodorion y Deheubarth, trwy adael sain yr *e* allan; fel y canlyn:—yn lle *oe*n, dywedant *ô*n; p*oe*n, p*ô*n; cr*oe*n, cr*ô*n, &c.; ac y mae yr un llwgr wedi llithro i mewn i gynaniad y deuseiniad hwn yn ddiweddar, ag sydd i'r deuseiniad *ae*: yn lle p*oe*n, clywir p*öe*n; *oe*n, *öe*n; *oe*d, *öe*d; tr*oe*d, tr*öe*d, &c.

EY

Camseinir y deuseiniad EY gan briodorion y Dywysogaeth yn

gyffredinol, yn y gair t*ey*rnas, fel pe bae wedi ei lythyrenu yn t*y*rnas, neu t*e*rnas.

AI

Camseinir y deuseiniad AI gan briodorion y Deheudir, Swydd Drefaldwyn, a Swydd Feirion, a pharthau deheuol Swydd Fflint, yn nherfyniadau geiriau amrysill, yn *e*, fel y canlyn;—am perff*ai*th, dywedant perff*e*th; en*ai*d, en*e*d; cywr*ai*n, cywr*e*n; cwpan*ai*d, cwpan*e*d, &c.: a chan briodorion Swydd Gaernarfon, Swydd Fôn, a pharthau gogleddol Swydd Ddinbych a Fflint, camseinir AI yn nherfyniadau geiriau amrysill yn *a*, fel y canlyn: —am perff*ai*th, dywedant perff*a*th; en*ai*d, en*a*d; cywr*ai*n, cywr*a*n; cwpan*ai*d, cwpan*a*d, &c. Camseinir y deuseiniad AI hefyd yn *i* mewn berfau a derfynant âg *ais*, fel y canlyn;—am pryn*ais*, dywedir pryn*is*; cef*ais*, cef*is*; gwel*ais*, gwel*is*, &c; a chan briodorion Swydd Ddinbych, Fflint, a Meirion, camseinir AI yn *i*, yn y gair llyg*ai*d.

AU

Camseinir y deuseiniad AU gan briodorion y Deheudir, yn *ou*, mewn amrai eiriau, fel y canlyn:—am h*au*l, dywedant h*ou*l; *au*r, *ou*r; d*au*, d*ou*, &c.; a chamseinir y deuseiniad AU yn *a* mewn terfyniadau geiriau amrysill, gan briodorion Swydd Gaernarfon, Swydd Fôn, Swydd Feirionydd, a pharthau gogleddol Swydd Ddinbych a Fflint, fel y canlyn;—yn lle buarth*au*, dywedant buarth*a*; tywysogaeth*au*, tywysogaeth*a*; ceffyl*au*, ceffyl*a*, &c.; a chan briodorion y Deheudir, Swydd Drefaldwyn, a chyrau deheuol Swydd Ddinbych a Swydd Fflint, am gongl*au* dywedant congl*e*; ceffyl*au*, ceffyl*e*, &c.

EU

Y mae EU yn cyfarfod â'r un dynged yn niwedd geiriau âg AU, yn y Swyddau a grybwyllwyd ddiweddaf; sef, ei droi i *e*, megys, gol*e*, ang*e*, gor*e*, &c.; ac i *a*, megys, gol*a*, ang*a*, gor*a*, &c. Camseinir yr EU yn *ei* mewn rhai parthau o'r Deheudir, ac yn Swydd Feirion a Threfaldwyn, mewn geiriau amrysill; megys, yn lle gor*eu*on, gor*ei*on; ten*eu*on, ten*ei*on; gol*eu*adau, gol*ei*adau, &c.

IAE ac IAU

Cyflawnir yr un bai wrth gynanu y triseiniaid hyn yn niwedd geiriau ag a wneir â'r deuseiniaid AE ac AU.

## IA

Gwneir camwri â'r triseiniad hwn yn niwedd geiriau trwy beidio seinio yr *i* olaf. Er siampl, seinir Israel*iaid* yn Israel*iad*; Aifft*iaid* yn Aifft*iad*. Cofier mai yr *i* yw yr unig arwydd ag sydd yn dynodi y gwahaniaeth rhwng yr unigol a'r lluosog, ac o ganlyniad, pan fyddo y gair yn lluosog, dylai yr *i* gael ei seinio yn eglur.

---

## ADCHWILIAD I'R SYLWADAU AM *Y* AC *WY*.

1. Pa sawl sain a berthyn i *y*?—Dwy; ei sain yddfol, a'i sain dafodol.

2. Pa un o'r ddwy sain a gymer *y* fynychaf mewn geiriau unsill?—Y sain dafodol.

3. Rhoddwch i mi engreifftiau o ddefnyddiad y sain dafodol mewn geiriau unsill.—Brys, byd, byr, bys, cryf, cylch, dydd, dysg, ffydd, hynt, llym, llyn, nyth, pryd, pysg, sydd, tyb.

4. Pa bryd y cymer *y* ei sain yddfol mewn geiriau unsill?—Ddim ond yn y geiriau *y*, *ydd*, *ym*, *yn*, *yr*, *ys*, *yth*, *dy*, *dyt*, *fy*, *myn*, *syr*.

5. A arferir y sain dafodol heblaw mewn geiriau unsill?—Gwneir; yn y sill olaf o eiriau amrysill

6. Rhoddwch i mi engreifftiau.—Awydd, arferyd, genyf, hyny, mynydd, plentyn, sefyll, testyn.

7. A ellwch chwi roddi siampl o ddefnyddiad y sain yddfol yn y sill olaf o eiriau amrysill?—Nac allaf.

8. A arferir y sain dafodol mewn geiriau amrysill, heblaw yn eu diwedd?—Gwneir, weithiau, yn eu dechreu.

9. Pa bryd yr arferir hi yn y dechreu?—Pan ddechreua y gair â'r blaenddodion cyd, cyn, dy o flaen unseiniad, ac atenwau neu atferfau unsill blaenddodol.

10. Rhoddwch i mi siamplau.—Cydgerdded, cynfab, dyeithr, byrhoedlog, gwyngalchu.

11. A arferir y sain dafodol mewn unrhyw le arall?—Gwneir; bob amser ar ol yr *ŵ* hirseiniol; megys, aflwyddiant.

12. Pa bryd y mae *w*, yn y deuseiniad *wy*, yn hirseiniol?—Ar ol pob cydsain oddieithr *ch* ac *g*.

13. Rhoddwch i mi engreifftiau.—Blwydd, brwyn, bwyd, clwyd, clwyf, cwymp, cwyn, cwyr, cwys, dwy, dwys, dwyn.

14. Pa fodd y mae yr *w*, yn y deuseiniad *wy*, yn gyffredin ar ol *ch* ac *g*?—Byrseiniol.

15. Rhoddwch i mi engreifftiau.—Chwŷd, chwydd, chwyn, chwyrn, chwys, chwyth, gwŷdd, gwyllt, gwŷn, gwynt, gwyrdd, gwyrth, gwŷs, gwysg, gwyw.

16. Pa sain a roddir i *y* ar ol *w* byrseiniol, pan fyddo sill yn dylyn?—Y sain yddfol.

17. Rhoddwch siamplau.—Chwydu, chwyrnu, chwysu, gwyddelod, gwylltion, gwyntoedd.

Yn aml ar ol *chw*, mewn geiriau amrysill, y llythyren *y*, yn dra anmhriodol, a adewir allan. Er siampl, seinir y geiriau uchod fel y canlyn —chwdu, chwrnu, chwsu, chwthu. Ac ar ol *gw*, mewn geiriau amrysill, rhoddir y sain dafodol i *y*, yr hyn sydd yr un mor anmhriodol; megys, gwulltion, gwunion, gwurddlas, gwurthiau, gwuwedig, gwuntoedd.

18. Pan y mae *w*, yn y deuseiniad *wy*, yn hirseiniol mewn gair unsill, a ydyw hi felly pan dröir y gair i amrysill?—Ydyw.

19. Rhoddwch i mi engreifftiau.—Bwyd, bwydydd; clwyf, clwyfo; cwymp, cwympo; cwyn, cwyno; gwyl, gwyliau; gŵydd, gwyddau.

## PENNOD VI.

### Am Gyfnewidiadau y Cydseiniaid.—*Of the Mutations of the Consonants.*

Mae naw o'r cydseiniaid gwreiddiol yn gyfnewidiol; sef,

| Chwyth-fudiaid. | | | | Sain-fudiaid. | | | | Golefiaid. | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| C | P | T | \| | G | B | D | \| | Ll | M | RH |

ac y mae'r pedair sy'n weddill yn annghyfnewidiol; sef,

Golefiaid.

Ch Ff N S

Mae'r egwyddor o dreigliad y cydseiniaid yn driphlyg; sef, lleisiol, ffroenawl, a chwythol.

Mae'r chwyth-fudiaid yn ddarostyngedig i'r tri math o agweddiadau; sef, y Lleisiol, y Ffroenawl, a'r Chwythol. Y Sain-fudiaid sydd ddarostyngedig i ddau fath o gyfnewidiadau; sef, y Lleisiol a'r Ffroenawl. Ni pherthyn i'r Golefiaid ond un cyfnewidiad, sef y Lleisiol.

CYNWYSDREM AR DREIGLIADAU Y CYDSEINIAID.

| Y CYNTEFIGION. | | YR ADLAWIAID. | | |
|---|---|---|---|---|
| | | Lleisiol. | Ffroenawl. | Chwythol. |
| Gwefusol. | P a dreigla i | B | Mh | Ph |
| Blaen-dafodol. | T ——— | D | Nh | Th. |
| Ol-dafodol. | C ——— | G | Ngh | Ch |
| Gwefusol. | B ——— | F | M | |
| Blaendafodol. | D ——— | Dd | N | |
| Ol-dafodol. | G ——— | — | Ng | |
| Gwefusol. | M ——— | F | | |
| Blaen-dafodol. | Ll ——— | L | | |
| Eto. | Rh ——— | R | | |

Sylw 1. Fel y mae tebygolrwydd rhwng y chwyth-fudiaid a'r sain-fudiaid, felly y mae tebygolrwydd rhwng adlawiaid y naill a'r llall. I ganfod hyn edrychwn ar adlawiaid lleisiol y chwyth-fudiaid, sef B, D, G, yn y daflen uchod, fel cyntefigion. Tynwn yr *h* oddiwrth yr adlawiaid ffroenawl dylynol, a chawn adlawiaid ffroenawl y cyntefigion hyn. Newidier yr adlawiaid chwythawl dylynol Ph, Th, Ch i'w seiniau cyferbyniol, F, Dd, —, a chawn adlawiaid lleisiol yr un cyntefigion. Felly nid yw y sain-fudiaid ond adlawiaid lleisiol y chwyth-fudiaid; ac nid yw adlawiaid y sain-fudiaid ond adlawiaid y chwyth-fudiaid wedi newid o'r chwythol i'r lleisiol. Gan nad oes llythyren seiniol gyferbyniol i Ch, mae'r G, pan yn troi i'r lleisiol, yn diflanu.

2. Mae'r llythyrenau wrth dreiglo bob amser yn newid i rai rhwyddach i'w seinio, yn gymaint a bod sain-lythyrenau yn fwy rhwydd na chwyth-lythyrenau, a golefiaid na mudiaid. Mae'r chwyth-fudiaid yn newid i'r sain-fudiaid, ac hefyd i olefiaid chwythawl. Mae'r sain-fudiaid yn newid i olefiaid seiniol, a'r olefiaid chwythawl yn treiglo i olefiaid seiniol. Nid oes un llythyren seiniol yn newid i un chwythawl; ond y mae'r oll o'r llythyrenau chwythawl yn newid i'r rhai seiniol. Yr unig olefiaid seiniol sydd yn newid yw M, yr hon sydd yn newid i F, yr un fath a'r mudsain B. F yw yr unig lythyren sydd yn dygwydd ddwywaith yn mhlith yr adlawiaid.

Mae treigliadau y cydseiniaid, fel yr amlygir hwynt yn y daflen, yn cymeryd lle *yn nechreu geiriau;* ac *yn*

*nechreu sillau yn nghanol geiriau.* Yn y sefyllfa flaenaf, y cyfnewidiad a effeithir gan ryw air a fyddo yn uniongyrchol yn blaenori; megys, y *dd*ynes: yn yr olaf, gan y sill flaenorol; megys, an*ngh*yfiawn.

Sylwir ar y deddfau sydd yn llywodraethu treigliadau y cydseiniaid yn nghyfansoddiad geiriau, yn y bennod nesaf; a bydd i'r deddfau sydd yn llywodraethu treigliadau y cydseiniaid yn nghyfansoddiad broddegau, ddyfod dan sylw dan y pen Cystrawiaeth.

Y mae treigliad y cydseiniaid yn nghyfansoddiad geiriau, yn gwasanaethu yn unig i hyrwyddo y sain; megys, annymunol, yn lle andymunol.

---

## ADCHWILIAD I'R CHWECHED BENNOD.

1. Pa nifer o'r cydseiniaid gwreiddiol sydd yn gyfnewidiol?—Naw.

2. Pa rai ydynt hwy?—c, p, t,—g, b, d,—ll, m, rh.

3. Pa nifer sydd yn annghyfnewidiol?—Pedair.

4. Pa rai ydynt hwy?—Chw, ff, n, s.

5. I ba sawl math y rhenir y cydseiniaid tarddedig, neu yr adlawiaid?—I dri; sef i'r sain leisiol, y ffroenawl, a'r chwythol.

6. A ydyw y cydseiniaid cyfnewidiol oll yn newid i'r tri dosbarth yma?—Nac ydynt; ond y maent oll yn cyfnewid i'r sain leisiol.

7. Pa rai sydd yn cyfnewid i'r ffroenawl?—C, p, t,—g, b, d,

8. Pa rai sydd yn cyfnewid i'r chwythol?—C, p, t.

9. Pa beth a feddylir wrth y cydseiniaid gwefusol?—Cydseiniaid a ffurfir â'r gwefusau.

10. Beth a feddylir wrth y cydseiniaid blaen-dafodol?—Cydseiniaid a ffurfir trwy godiad blaen y tafod yn erbyn taflod y genau, neu'r danedd.

11. Beth a feddylir wrth y cydseiniaid ol-dafodol?—Cydseiniaid a ffurfir yn y rhan fwyaf ôl o'r genau, trwy godiad canol y tafod yn erbyn taflod y genau.

12. A ydyw y cydseiniaid, wrth dreiglo, yn newid o'r naill ystum geneuol i'r llall?—Nac ydynt.

13. Rhoddwch i mi siampl o'r tri ystum geneuol, i ddangos hyn.—1. Y mae *p*, a ffurfir â'r gwefusau, yn treiglo i *b*, *m*, ac

*ph.* Gellir ffurfio *ph* â'r gwefusau yn unig; ond yn gyffredin fe'i ffurfir â'r wefus isaf a'r danedd uwchaf. 2. Y mae *t*, a ffurfir trwy godiad blaen y tafod yn erbyn taflod y genau, tu ol i'r danedd, yn treiglo i *dd*, *nh*, *th*. Gellir ffurfio *dd* ac *th* trwy gadw y tafod tu ol i'r danedd; ond yn gyffredin fe'u ffurfir trwy osod blaen y tafod ar y danedd uwchaf. 3. Y mae *c*, a ffurfir trwy godiad canol y tafod yn erbyn taflod y genau, yn treiglo i *g*, *ngh*, *ch*, y rhai a ffurfir yr un modd.

14. Yn mha le y mae y treigliadau hyn yn cymeryd lle yn y cydseiniaid?—Yn nechreu geiriau; ac yn nechreu sillau yn nghanol geiriau.

15. Rhoddwch siampl.—"Y mae gan *dd*yn enaid an*f*arwol." Y mae yr *dd* a'r *f* Italaidd yn darddedig.

16. Beth yw defnydd treigliadau y cydseiniaid yn nghyfansoddiad geiriau?—Hyrwyddo y sain.

## PENNOD VII.

### Am Lythyreniad.—*Of Spelling.*

Sill yw sain a wneir âg un gwthiad o'r llais, a chynwysa un neu fwy o lythyrenau; megys, a, am, aml, mawr, mawrth, braint, gwraint. Felly gall gynwys o un hyd saith o lythyrenau.

Geiriau ydynt lafar-seiniau a ddefnyddir trwy gydsyniad cyffredinol, fel arwyddion o'n delfrydau. Cynwysant yn gyffredin o un hyd chwech o sillau.

Gair amrysill yw gair yn cynwys mwy nag un sill.

Llythyrenu yw y drefn o iawn ddosbarthu geiriau i sillau, a sillau i lythyrenau.

Rhenir geiriau i dri math; sef, *gwreiddiol*, *cyfansawdd*, a *tharddedig*.

1. Gair *gwreiddiol* yw hwnw nas gellir ei ddwyn i air mwy syml yn yr iaith; megys, dyn, da, boreu.

Ni ddylid dyblu un gydsain mewn geiriau gwreiddiol; megys, llenn, etto, hanner.

Y mae yn y Gymraeg luosogrwydd o eiriau o un i dair sill, y rhai nad ellir tynu dim oddiwrthynt heb eu gwneyd yn ddiystyr;

megys, pren, brenin, anifail. Wrth eiriau o'r dysgrifiad yma y meddylia yr awdwr *eiriau gwreiddiol*. Y mae yn wir ei bod yn dybiaeth gyffredinol gan y Cymry, fod yr holl eiriau Cymreig wedi eu cyfansoddi o nifer o wreiddiau penodol, pa rai sydd gynwysedig o'r unseiniaid, deuseiniaid, a sillau ffurfiedig o gydsain ac unseiniad; megys, *a*, *aw*, *ab*.* Noda Dr. O. Puw 223 o'r gwreiddiau hyn, a W. Jones, 210. Sylwyd arnynt gan awdwyr ereill, yr oll o ba rai sydd yn amrywio oddiwrth eu gilydd yn rhif y gwreiddiau. Haerir bod hyd yn nod pob gair unsill, yn cynwys mwy nag un gydsain, wedi ei ffurfio o ddau neu chwaneg o'r gwreiddiau hyn; megys, tân, o *ta* ac *an*; traeth, o *ty*, *rha*, ac *eth*. Pa mor gywrain bynag y gall y drefn yma ymddangos, a pha mor selog bynag y gall rhai fod o'i phlaid, nid yw awdwr y gwaith hwn yn ei hystyried yn un bychaniad i deilyngdod yr iaith, haeru, nad oes seiliau cryfion i dybio bod y fath drefniant yn y Gymraeg, a bod yr iaith wedi ei chyfansoddi oll o fânwreiddiau, megys y rhai a nodwyd. Y mae yr awdwr yn ei hystyried yn ddyledswydd arno i nodi hyn, i'r dyben i rybuddio ei ddarllenwyr i beidio colli eu hamser gwerthfawr mewn adchwiliad ofer i wreiddiau tybiedig yr iaith—adchwiliad pe treulient flynyddoedd o lafur diflino ynddo, na dderbynient yn y diwedd unrhyw addysg o fuddioldeb.

Oddiar y dybiaeth fod y gwreiddiau yn gofyn hyny, y dyblir cydseiniaid mewn amrai eiriau gwreiddiol, yn enwedig yr *m* a'r *n*; megys, annedd, hanner, dammeg, ammeu, gommedd, ammod, ennill, annog, &c.; ond pan chwilir i wreiddiau y rhai hyn, ceir bod eu hystyron mor amrywiog a chyffredinol, fel mai prin y canfyddir unrhyw berthynas rhyngddynt ac eiddo y geiriau ffurfiedig ohonynt.

Y mae yn ddiddadl fod y Gymraeg yn cynwys nifer lluosog o eiriau o ieithoedd ereill; ac i'r sawl sydd yn hysbys o hanesiaeth ein gwlad, ymddengys yn amlwg nas gallai fod yn amgen. Byddai, gan hyny, yn drysor gwerthfawr i'r Cymry gael Geirlyfr, yr hwn, yn lle olrhain pob gair i wreiddiau, nad ydynt yn aml yn ymddangos i ddal unrhyw berthynas âg ef, a ddangosai y tebyg-

* Mae yn dda gan yr awdwr allu sylwi bod y dybiaeth hon wedi gwywo yn fawr er cyhoeddiad yr argraffiad cyntaf o'r gwaith hwn.

olrwydd rhwng y geiriau Cymreig a geiriau o ieithoedd ereill. Trwy y moddion hyn byddid yn debycach o gael unffurfiaeth yn ein horgraff na thrwy y drefn bresenol. Er siampl, cymerer y gair distrywio. Nis gall dim fod yn fwy anfoddhaol na'r gwreiddyn a briodolir gan Dr. O. Puw i'r gair hwn. Pe buasai wedi dangos fod y gair yn cyfateb i'r gair Lladin *destruo*, (o ba un y deilliodd *destroy* Seisnig,) ac o ganlyniad, eu bod, yn eglur, yn darddedig o'r un gwreiddyn; a bod y gair Lladin yn gyfansoddedig o *de*, oddiwrth, a *struo*, adeiladu, gosod mewn trefn, buasai yn llawer mwy boddhaol i'r darllenwyr, na'r olrheiniad difudd presenol. Casglem oddiwrth hyn yn naturiol, trwy fod *struo*, yr hwn a raid fod o'r un gwreiddyn a'r gair Cymreig, yn arwyddo adeiladu, mai blaenddawd negyddol a ddylai gael ei osod yn Gymraeg; megys di-stryw, ac nid dy-stryw. Y mae Dr. O. Puw wedi nodi gwreiddiau i'w holl eiriau, ond nis gallwn ganfod priodoldeb y rhan fwyaf ohonynt. Pa ddyben yw dywedyd bod esgyn, *ascend*, a disgyn, *descend*, yn gyfansoddedig o *es* a *cyn*, *dis* a *cyn*, gan nad yw ystyr y gwreiddiau hyn yn dwyn un berthynas âg ystyr y geiriau ffurfiedig ohonynt? Onid mwy buddiol i'r efrydydd fyddai ei hysbysu, trwy fod y geiriau hyn mor gyffelyb i'r geiriau Seisnig (y rhai a darddant o'r Lladin), fod yn amlwg eu bod o'r un gwreiddyn; a bod y geiriau Lladin yn ffurfiedig o *ad*, blaenddawd a droir yn aml i *a*, a *scando*, dringo; a *de* a *scando*?

2. Gair *cyfansawdd* yw gair yn cael ei ffurfio o ddau neu chwaneg o eiriau, neu o flaenddawd a gair; megys, arwydd-air, af-lwydd.

Er cymaint yr ymffrostir yn ngwreiddiau y Gymraeg, ac yn ei gallu i ffurfio gair at bob delfryd, pan y mae angen am air newydd, y ffordd fwyaf cyffredin yw ffurfio gair cyfansawdd, trwy gysylltu dau air yn nghyd; megys, ysgrif-ddull, coel-grefydd, a pwyll-gor; a thrwy hyn, y mae y Gymraeg yn llawn o gyfansoddeiriau.

Pan yr unir dau air i ffurfio cyfansoddair, y mae yr olaf o'r ddau bob amser yn cynwys meddwl y gair mewn ystyr cyffredinol, a'r blaenaf yn cael ei ddefnyddio yn unig i gyfyngu yr ystyr. Er

engraifft, cymerer y gair tafarndy. Y mae y rhan olaf yn cynwys y meddwl mewn ystyr cyffredinol; canys y mae pob tafarndy yn dŷ; eithr y mae y rhan flaenaf yn cyfyngu y meddwl i'r math hwnw o dai lle y gwerthir diod. Yn ol hyn y mae y geiriau canlynol, a diau fod llawer ereill cyffelyb, yn annghywir, sef drychfeddwl, pontbren, mammaeth. Dylai y cyntaf fod yn feddylddrych, yr ail yn ddau air, a'r trydydd yn faethfam. Trwy esgeulus ffurfiad cyfansoddeiriau, y mae i amryw leoedd a llanau enwau anmhriodol; megys, Llanbedr, Llanfair, Llanidloes, Llanddewi; yr hyn sydd yn cyflwyno y saint i'r llanau, ac nid y llanau i'r saint. Dylent fod yn ddau air; megys, Llan Bedr, &c. Gwneir yr un camgymeriad mewn enwau lleoedd yn dechreu â Chaer; megys, Caerlleon, Caerdydd, &c. Dylai y rhai hyn hefyd fod yn wahanedig.

Mewn geiriau cyfansawdd y mae treigliadau rheolaidd y cydseiniaid yn dygwydd.

---

### Rheol Treigliadau y Cydseiniaid mewn Cyfansoddeiriau.

*Y mae blaenddodion a blaeneiriau, mewn geiriau cyfansawdd, pan yn ddylynedig â chydsain gyfnewidiol, yn ei throi i'r* sain leisiol; *megys, cyf*-lawn, *an*-fuddiol, *sych*-dir.

*Eithriad* 1. Y mae yr holl gydseiniaid cyfnewidiol yn cadw eu sain wreiddiol ar ol *tra*, oddigerth *c, p, t;* ac weithiau ar ol *a;* megys, a-bwyd, a-dyn, a-gwedd, a-maethwr.

2. Y mae y blaenddawd *tra* o flaen *c, p, t,* yn eu troi i'r *sain chwythol;* megys tra-chas. Felly hefyd weithiau y mae y blaenddodiaid *a, dy, gor;* megys, a-thrist, dy-chryn, gor-phwys.

3. Y mae y blaenddodiaid *an* a *cy,* o flaen *b, c, d, g, p, t,* yn eu troi i'r *sain ffroenawl;* megys, Cy-mro, an-nghof, an-noeth, an-mharch, cy-nhwrf; ac weithiau i'r *sain leisiol;* megys, an-fuddiol, cy-fwriad.

*Sylw.* Y mae amryw eiriau yn parhau yn ddigyfnewid ar ol gwahanol flaenddodion a blaeneiriau; megys, anllythyrenog, cymaint, edmygedd, dystaw.

### Cofrestr o'r Blaenddodiaid, gyda'u Gwahanol Alluoedd.

A, ach, add, ar, cyf, dar, dos, dy, dys, e, ed, er, sydd yn grymuso y sain heb newid y synwyr; megys, a-thrist, ach-ludd, add-fwyn, ar-ddangos, cyf-newid, dar-geisio, dos-ranu, dy-nesu, dys-tewi, e-gwan, ed-mygedd, er-glyw.

Ad, a arwydda ail; megys, ad-gysylltu.

Af, an, di, dis, a arwyddant hollol ddiffyg; megys, af-iechyd, an-noeth, di-falch, dis-lëu.

Am, dam, a arwyddant o gwmpas; megys, am-gau, dam-döi.

Cy, cyd, cyf, cym, cys, a arwyddant gydundeb; megys, cy-maint, cyd-bwys, cyf-ystyr, cym-deithas, cys-bod.

Cyn, a arwydda cyntaf, o flaen; megys cyn-fab, cyn-ddrychiolwr.

Dad, dat, a arwyddant gwrthwneuthuriad; megys, datguddio.

Dir, sydd yn eangu ystyr y gair; megys, dir-fawr.

Dym, ym, a arwyddant hunan-weithrediad, neu weithrediad olynol; megys, dym-ostwng, ym-ostwng, ym-daeru.

Es. Y mae rhai geiriau ag sydd yn dechreu yn Seisneg âg *ex*, yn dechreu yn Gymraeg âg es; megys, esiampl, *example;* esgus, *excuse;* esgymuno, *excommunicate;* estyn, *extend.*

Go, lled, ydynt yn cyfyngu yr ystyr; megys, go-losgi, lled-orwedd.

Gor, a arwydda eithafedd; megys, gor-lawenydd.

Gwrth, a arwydda croes; megys, gwrth-ddadl.

Hy, o flaen gair, sydd yn ei newid i ran ymadrodd arall, ac yn cael yr un effaith a phe dodid adwy, neu ryw derfyniad atenwawl *(adjectivial termination)* arall ar ei ol; megys, hy-brawf, prof-adwy; hy-barch, parch-us.

Rhag, a arwydda, yn mlaen-llaw, blaenorol; megys, rhag-wybod, rhag-sylw.

Tra, a arwydda, eithafedd, tuhwnt; megys, tra-mawr, tra-gwyddol.

Try, a arwydda, trwy; megys, trylawn.

Ys. Y mae llawer o eiriau ag sydd yn dechreu yn Seisneg âg *s*, yn dechreu yn Gymraeg âg *ys;* megys, ysbryd, *spirit;* ysbysu, *specify;* ystori, *story;* ysgol, *school;* ysgrifenydd, *scribe;* ysmotyn, *spot;* yspail, *spoil;* yspardun, *spur;* yspwng, *spunge;* ystad, *state;* ystalwyn, *stallion;* ystôr, *store;* ysturm, *storm;* ystryt, *street*, &c.

Gall rhai o'r blaenddodion blaenorol fod mewn geiriau, ac eto fod y geiriau hyny yn rhai gwreiddiol; megys, cymhell, diffyg, ysgol. Dichon fod yn y Gymraeg luaws o eiriau o'r fath, heb fod yn amgen na geiriau estronol wedi eu Cymreigio.

Weithiau rhoddir dau flaenddawd yn nechreu gair; megys, an-nghyd-undeb.

3. Gair *tarddedig* sydd gynwysedig o air gwreiddiol, gyda'r chwanegiad o un neu fwy o derfyniadau, neu gyfnewidiad unseiniad; megys, dyn-ol, cre-edig-aeth, ff*y*rdd.

Y mae rhai o'r cydseiniaid cyfnewidiol, mewn geiriau tarddedig, yn treiglo yn wahanol i'r hyn a amlygwyd yn y daflen.

---

TREIGLIADAU CYDSEINIAID MEWN GEIRIAU TARDDEDIG.

Y mae *g*, *b*, *d*, yn niwedd sill, pan fyddo yr acen yn disgyn arnynt, weithiau yn newid i *c*, *p*, *t;* megys, teby*c*ach, gwly*p*af, dio*t*a. Weithiau tröir *f* i *ff*, mewn geiriau cyfansawdd a tharddedig; megys, cy-*ff*elyb. co*ff*-au, cy*ff*-wrdd,—yn lle cy-felyb, cof-hau, cyf-hwrdd,

Gellir dosbarthu terfyniadau geiriau tarddedig i dri math; sef, *enwol*, *atenwol*, a *berfol*.

---

TERFYNIADAU ENWAU *(Nouns)*.

| | |
|---|---|
| ACH...cyfeillach | An...mudan |
| Ad...troad | Ant...maddeuant |
| Adur...pechadur | As...priodas |
| Aeth..gwybodaeth | Au...penau |
| Ai...mynegai | Awd, od...priawd |
| Aid...llwyaid | Awg, og,...tywysog |
| Aint...ceraint | Awr, or...cantawr |

Dawd, dod...nych-dod
Deb...cywirdeb
Der...cyflawnder
Did, tid*...gwendid
Dra...byrdra
Eb...galareb
Ed...colled
Edd...dialedd
Eg...rhesymeg
Ell...ffynonell
En...seren
Es...cares
I ..caledi
Iad...toriad
Iadur .cofiadur
Iaeth...athrawiaeth
Iaid...crwydriaid
Iant...llwyddiant
Iau.. preniau
Ig...oenig
Ineb—doethineb
Ion...dynion
Iwr . bedyddiwr
Ni...goleuni
Oedd...moroedd
On...llwon
Os...plantos
Rwydd...hurtrwydd
Wch...tegwch
Wr...morwr
Yd...bywyd
Ydd ..clochydd
Yn...llinyn
Yr...brodyr

---

TERFYNIADAU ATENWAU (*Adjectives*).

Ach.. doethach
Af...doethaf
Aid...euraid
Aidd euraidd
Awg, og...galluawg
Awl, ol...oesawl
Ed...doethed
Edig...caredig
Fawr...clodfawr
Gar ..diolchgar
Iaidd...afluniaidd
Iawg, iog...bywiawg
Iawl, iol...duwiawl
Ig..boneddig
Ion...gwynion
Lawn, lon. .prydlawn
Lyd...gwaedlyd
Llyd...dychrynllyd
On...duon
Us...poenus

---

TERFYNIADAU BERFAU.—Y *Modd annherfynol.*

A...bwyta
Ael...ymadael
Ain...llefain
Aw, o...cwynaw
Ed ..clywed
Eg...rhedeg
I...colli
Iaw, io...ceisiaw
Ied...gwylied
U...caru
Ur...gwneuthur
W...cadw
Yll...sefyll

*Moddau ereill.*

A†...cara
Af...caraf
Ai...carai
Ais...carais
Aist...caraist
Ant...carant

* Tid ar ol *c*, megys, ieuenctid, angenoctid.

† Y mae rhai berfau yn gofyn *i* o flaen y terfyniadau hyn oll, oddieithr y rhai yn dechreu âg *i*; megys, yn lle ceis-a, ysgrifenir ceis-ia, &c.

| | |
|---|---|
| Asai...carasai | Ir...carir |
| Asant...carasant | It...carit |
| Asech...carasech | O...caro |
| Asem...carasem | Och...caroch |
| Asent...carasent | Odd...carodd |
| Asid...carasid | Om...carom |
| Asit...carasit | Ont...caront |
| Asoch...carasoch | Ost...gwyddost |
| Asom...carasom | Wch...carwch |
| Aswn...caraswn | Wn...carwn |
| Ech...carech | Wyd...carwyd |
| Ed...cared | Wyf...carwyf |
| Em ..carem | Wyt...carwyt |
| Ent...carent | Y...cery |
| Er...carer | Ych...carych |
| Es...cares | Ym...carym |
| Id...carid | Ys...gwyddys |

---

## ADCHWILIAD I'R SEITHFED BENNOD.

1. Beth yw sill?—Sain a wneir âg un gwthiad o'r llais.

2. Pa nifer o lythyrenau a gynwysa?—Gall gynwys o un hyd saith.

3. Beth yw gair?—Arwydd rhyw ddelfryd.

4. Pa nifer o sillau sydd yn gyffredin mewn gair?—O un hyd chwech.

5. Pa beth y gelwir gair yn cynwys mwy nag un sill?—Gair amrysill.

6. Pa beth yw silliadu?—Iawn ddosbarthu geiriau i sillau, a sillau i lythyrenau.

7. Pa fodd y dosberthir geiriau?—I dri math; sef, gwreiddiol, yf ansawdd, a tharddedig.

8. Beth yw gair gwreiddiol?—Gair na oddef gymeryd dim oddiwrtho heb ei wneyd yn ddiystyr.

9. Rhoddwch siampl.—Brenin; os tynaf ran o'r gair hwn ymaith, bydd y gair yn ddisynwyr.

10. Beth sydd i ni ofalu ei wneyd wrth silliadu gwreiddiol-eiriau?—Peidio dyblu y cydseiniaid.

11. Beth yw cyfansoddair?—Gair a ffurfir o ddau neu chwaneg o eiriau, neu o flaenddawd a gair.

12. Rhoddwch i mi engraifft.—Dynol-ryw ac an-nheg.

13. Beth sydd yn perthyn yn neillduol i'r cyfansoddeiriau?—Treigliadau rheolaidd y cydseiniaid.

14. Beth yw rheol y treigliadau hyn?—Fod y gair cyntaf, neu y blaenddawd, yn meddalu y gydsain flaenorol o'r rhan ddylynol o'r gair.

15. Rhoddwch siampl.—Deheu-*l*aw, dar-*g*anfod.

16. A ydyw y rheol yma yn cael ei chadw yn mhob achos?—Nac ydyw.

17. Pa bryd y gŵyrir oddiwrthi?—Ar ol y blaenddodiaid *tra, a, dy, gor, an,* a *cy*, ac ar ol y llythyren *t.*

18. Pa effaith y mae *tra* ac *a* yn ei gael ar y gydsain ddylynol? —Ar ol *tra* y mae y cydseiniaid cyfnewidiol, oddieithr *c, p, t,* bob amser yn parhau yn anngbyfnewidiol, ac weithiau ar ol *a.*

19. Rhoddwch siamplau.—Tramawr, agwedd.

20. Pa effaith y mae *tra* yn ei gael ar *c, p, t*?—Y mae yn eu troi yn olefiaid chwythol; megys, tra-phlith.

21. A ydyw *c, p, t,* yn troi yn olefiaid chwythol ar ol rhai o'r blaenddodion ereill?—Ydynt, weithiau, ar ol *a, dy, gor.*

22. Rhoddwch siamplau.—Athrist, dychryn, gorphen.

23. A oes rhyw eithriad arall i'r rheol gyffredinol?—Oes; y mae *b, c, d, p, t, g,* yn troi i'r sain ffroenawl ar ol *an* a *cy.*

24. Rhoddwch siamplau.—Anmraint, annghariad, cynal, anmhenodol, cynhes.

25. Pa effaith y mae y llythyren *t* yn niwedd gobensill yn ei gael? —Yn peri i'r flaenlythyren ddylynol fod yn *t;* megys, Ynfytty.

26. Beth yw gair tarddedig?—Gair cynwysedig o air gwreiddiol, gyda'r chwanegiad o un neu fwy o derfyniadau, neu gyda chyfnewidiad unseiniad; megys, duwiol, penaeth, *saint.*

27. A oes dim treigliadau cydseiniol yn cymeryd lle mewn geiriau tarddedig?—Oes; y mae *g, b, d,* yn niwedd yr obensill yn newid, ond yn wahanol i'r drefn reolaidd.

28. I beth y mae *g, b, d,* yn newid?—I *c, p, t.*

29. Rhoddwch siamplau.—Benthy*c*a, o benthyg; cyffely*p*af, o cyffelyb; tlo*t*ach, o tlawd.

30. Pa fodd y dosberthir terfyniadau geiriau tarddedig?—I enwol, atenwol, a berfol.

Byddai yn waith buddiol i'r dysgybl, pe rhoddai yr athraw iddo unrhyw dudalen o'r Gramadeg, i ddangos tadogaeth pob gair cyfansawdd a tharddedig ynddo, sef eu gwahanu i'w gwreiddiau, a'u blaen ac ol-ddodion, y rhai a gofrestrwyd yn y bennod hon, ac hefyd i nodi rheolau treigliadau y cydseiniaid. Nodwn ddau neu dri o eiriau fel engraifft. "Annghariadus." Gair cyfansawdd a tharddedig. Y gwreiddyn yw *car*, gyda'r blaenddawd *an*, a'r terfyniadau *iad* ac *us*. Y mae *c* yn newid i'r sain ffroenawl ar

ol *an*.—"Gorchymynion." Gair cyfansawdd a tharddedig. Y gwreiddyn yw *myn*, gyda'r blaenddodion *gor* a *cy*, a'r terfyniad *ion*. Y mae *c* yn troi i'r sain chwythol ar ol *gor*.—"Cyfnewid." Gair cyfansawdd. Y gwreiddyn yw *newid*, gyda'r blaenddawd *cyf*. Y mae *n* yn llythyren annghyfnewidiol.—"Aflendid." Gair cyfansawdd a tharddedig. Y gwreiddyn yw *glan*, gyda'r blaenddawd *af*, a'r terfyniad *did*. Y mae *af*, yn unol â'r rheol gyffredinol, yn newid y gydsain ddylynol i'r sain leisiol. Y mae *g*, yn y sain leisiol, yn diflanu. Y mae *a* yn *glan*, wedi newid i *e*, er hyrwyddo y sain.

## PENNOD VIII.

### Yr Orgraff.—*The Orthography*.

Nid oes genym, fel y mae yn eithaf hysbys, un drefn sefydledig o lythyrenu yn y Gymraeg, eithr y mae pob ysgrifenydd ac argraffydd yn dylyn ei fympwy a'i drefn ei hun.

Gellir dosbarthu y gwahanol ddulliau o lythyrenu i ddwy gyfundrefn—yr Hên a'r Ddiwygiedig.

Cawn gynllun o'r hên drefniant yn orgraff yr Ysgrythyrau, pa un a nodweddir gan y defnyddiad mynych o gydseiniaid dyblon, mewn efelychiad i'r iaith Seisnig, yn gystal a rhai ieithoedd ereill. Y drefn ddiwygiedig a ymwrthoda yn llwyr â'r defnyddiad o gydseiniaid dyblon, oddieithr pan eu gofynir gan ddeddfau treigliadaeth llythyrenol.

1. Yn yr hên drefniant dyblir y cydseiniaid i ddynodi sain fer yr unseiniaid blaenorol; megys, pennau, torri, fel y gwneir yn y Seisneg gyda'r geiriau *better*, *torrent*, &c. Pe na ddefnyddid ond cydsain unigol yn y geiriau Seisnig a nodwyd, cymerai yr unseiniaid *e* ac *o* y sain hîr. Ond yn y Gymraeg mae'r unseiniaid yn wastad yn cymeryd y sain fer mewn geiriau amrysill, oddieithr pan y mae yn angenrheidiol gwahaniaethu gair oddiwrth un arall o'r un sain; megys, tanau, tânau; tonau, tônau. Gan hyny nid oes achos yn y Gymraeg i ddyblu y cydseiniaid mewn trefn i nodi byrseiniau, fel y mae yn y Seisneg; ac am hyny mae'r rhan luosocaf hyd yn nod o bleidwyr yr hên

drefniant yn ymwrthod â'r defnyddiad o gydseiniaid dyblon i'r perwyl a nodwyd.

2. Yn yr hên gyfundrefn, yn lle *cy*, defnyddir *cym* o flaen *m*, *cyn* o flaen *n*, a *cys* o flaen *s*; megys, cymmaint, cynnal, cysson, mewn efelychiad i'r iaith Seisnig, yn gystal ag ieithoedd ereill. Yn y Seisneg a'r Lladinaeg troir y blaenddawd *con* (cyd) i *col* o flaen *l*, i *com* o flaen gwefusolion, a *co* o flaen unseiniaid ac *h*; megys, *col-lect*, *com-mand*, *com-pare*, *co-exist*, *co-habit*. Ond dymunem i'r dysgadur sylwi nad yw defnyddiad cydseiniaid dyblon fel hyn yn yr ieithoedd a nodwyd, yn un rheswm tros eu defnyddio yn y Gymraeg ar ol *cy*, am fod egwyddorion y Gymraeg ac eiddo yr ieithoedd hyn yn gwbl wahanol. Yn y Lladinaeg a'r Seisneg mae'r blaenddodion yn cael eu newid gan y llythyren a'u dylyna; ond yn y Gymraeg, yn lle bod llythyren ddechreuol gair yn newid y blaenddodion, y rhai hyn sydd yn newid y llythyren ddechreuol.

Yn y geiriau cy-nghan, cy-mhwys, cy-nhwrf, cy-nglyn, cy-mydog, cy-nal, y blaenddod *cy* sydd yn newid y llythyrenau *c*, *p*, *t*, ac *g*, *b*, *d* i'r sain ffroenawl, fel y gwna y gair *fy* pan y mae yn blaenori y llythyrenau hyn. Gan hyny y mae mor annhriodol newid *cy* i *cym*, *cyn*, a *cys*, o flaen *m*, *n*, ac *s*, a phe newidid *fy* i *fym*, *fyn*, a *fys*, o flaen yr un llythyrenau, fel hyn, fym mhen, fyn nwylaw, fys synwyr.

Mae *cy* weithiau yn cael ei ddylyn gan sain leisiol *b*, *m*, ac *g*; megys, cy-frad, cy-fwriad; cy-fagu, cy-fawl; cy-wystl, cy-weddu. Cymerir mantais oddiwrth hyn gan yr hen ysgol i haeru nad priodol yw defnyddio y sain ffroenawl ar ol *cy*, am ei fod weithiau yn cael ei ddylyn gan y sain leisiol. Ond onid oes cyffelyb af-reoleiddiwch yn perthyn i amryw o'r blaenddodion? Tröer i Eiriadur Cymreig, a cheir a-bwydyn, a-mwydyn; a-faeth, a-maeth; an-flasus, an-mlasus; an-fri, an-mri; an-nhrugarog, an-tur; an-war, an-ngwar; ar-bed; ar-par; ar-taith, ar-dreth; ar-faeth, ar-mael; ar-chadw, ar-gadw; ar-len, ar-llen; cy-wystl, cy-ngwystl; cyn-ddrych, cyn-nrych; cyn-llun; cyn-dwf, cyn-nhwrf; dar-bwyll, dar-par; dir-boen, dir-prwy; dy-grynu, dy-chrynu; er-fyniad, er-mig; es-gob, es-tron; gor-bwyso, gor-

phwyso; gor-chuddio; gor-guddio; gor-drwm, gor-thrwm; gor-lawn, gor-llawn.

Dyma rai engreifftiau o lawer a ellid ddwyn i ddangos nad yw blaenddodion yn cael yr un effaith yn gyson ar y cyn-lythyrenau a'u dylynant. Os ynte y gellir ysgrifenu cyn-ddrych a cyn-nrych, paham nas gellir ysgrifenu cy-fod a cy-mod?

Mae *m* weithiau yn troi i'r sain leisiol ar ol *cy*, ac weithiau yn parhau yn ddigyfnewid; megys, cy-fawl, cy-maint. Ond dywed yr hen ysgol, am fod *cy* yn troi *m* i *f*, fod yn anmhriodol defnyddio *cy* o flaen *m*, eithr y dylid defnyddio *cym* yn hytrach. Mae yr engreifftiau a ddygwyd yn mlaen yn ddigon i ddangos nad yw cyfaledd (*analogy*) yn cyfiawnhau yr haeriad hwn.

Os er mwyn cysondeb mae yr hen ysgol yn defnyddio *cym* o flaen *m*, *cyn* o flaen *n*, a *cyng*, o flaen *ng*, gallem ddangos iddynt ffordd lawer mwy syml a chydweddol âg ansawdd yr iaith, na defnyddio *cyn* yn wahanol i'w wir ystyr fel gwreiddyn *cynt*, a defnyddio *cyng*, blaenddawd nad yw yn perthyn i'r iaith. Defnyddier *cyf* yn lle *cy* o flaen sain leisiol *b* ac *m*, yna bydd i'r holl wrthwynebiad yn erbyn defnyddio *cy* o flaen y sain ffroenawl ddiflanu ar unwaith. Yna cawn *cy* yn ateb dyben *cym*, *cyn*, a *cyng*, yn gyflawn; a *cyf*, pa un sydd bob amser yn gofyn y sain leisiol ar ei ol, yn newid *b* ac *m* i *f*; fel hyn, cyf-frad, cyf-fwriad; cyf-fantoli, cyf-felyb. Mae'r drefn hon o ddyblu *f* yn sicrhau cysondeb, ac yn llawer mwy syml, a chydweddol â theithi yr iaith, na hono o ddyblu yr *m*, yr *n*, yr *ng*, a'r *s*, o eiddo yr hen ysgol.

Ond mae yn amlwg mai gwir reswm yr hen ysgol dros ddefnyddio *cym*, *cyn*, *cyng*, a *cys*, yn hytrach na *cy*, yw eu hawydd i efelychu ieithoedd estronol yn yr arferiad o gydseiniaid dyblon, onidê pa beth a'u cymhella i ddefnyddio *cyn* o flaen *n* wreiddiol; megys, cyn-nifer; *cys* o flaen *s*; megys, cys-son; a *cym*, *cyn*, o flaen *mh*, *nh*; megys, cym-mhwys, cyn-nhwrf? *

* Yn argraff y Beibl *cy* a ddefnyddir o flaen *mh*, *nh*, ac *ngh*, ac y mae dosbarth helaeth o'r hen ysgol yn dylyn yr un dull. Yn awr y mae defnyddio sain ffroenawl *c*, *p*, *t* ar ol *cy*, a pheidio defnyddio sain ffroenawl *g*, *b*, *d*, yn annghyson; canys dengys cyfaledd (*analogy*), os troir y naill ddosbarth i'r sain ffroenawl ar ol *cy*, y dylid troi y dosbarth arall hefyd. Mae rhai o'r hen ysgol

Dywed un awdwr diweddar, "Mae cangen o'r ysgol newydd yn mabwysiadu *cy* yn hytrach na *cym*, *cyn*, a *cys*. Y mae, modd bynag, yn amheuus pa un a ellir ei ddefnyddio yn briodol yn lle *cym* a *cyn*, trwy fod tuedd yn *cy* i lywodraethu y gwefusol a'r deintiol yn y sain ganol [h.y. y leisiol]. (Cy-frad, cy-brad; cy-foli, cy-moli.)"

Gwir fod tuedd yn *cy* i lywodraethu y gwefusolion *b* ac *m* yn y sain leisiol yn ol y dull arferol o lythyrenu; ond yr ydym ni yn barnu mai gwell fyddai defnyddio *cyf* o flaen y gwefusolion uchod pan yn newid i'r sain leisiol, a *cy* pan yn newid i'r sain ffroenawl; fel hyn, cyf-frad, cy-mrad. Eithr dywédyd bod tuedd yn *cy* i lywodraethu y deintiol (*d* a *t*) yn y sain leisiol sydd yn annghywir. Nid yw *d* a *t* byth yn newid i *dd* a *d* ar ol *cy*, a chan hyny mae rheswm yr awdwr dros ddefnyddio *cyn* yn hytrach na *cy* yn syrthio i'r llawr.

Dywed yr un awdwr, "Pan fyddo geiriau yn dechreu âg *ng* ac *ngh*, seiniau ffroenawl *c* ac *g*, gadawer i *cy* eu blaenori hwynt. Cy-ngwystl (cy-gwystl); cynghor (cy-cor); cyngwerth (cy-gwerth); cynghrair (cy-crair)." Hawdd canfod bod trefniant yr awdwr hwn yn annghyson. Os gellir defnyddio *cy* o flaen *ngh*, paham nas gellir ei ddefnyddio o flaen *mh* ac *nh*? ac os gellir defnyddio *cy* o flaen *ng*, paham nas gellir ei ddefnyddio o flaen *m* ac *n*? Os yw fod *cy* weithiau yn newid *b* i'r sain leisiol, yn rheswm dros beidio defnyddio y blaenddawd hwn o flaen sain ffroenawl *b*, y mae yn rheswm hefyd dros beidio ei ddefnyddio o flaen sain ffroenawl *g*, canys y mae *cy* weithiau yn newid *g* i'r sain leisiol; megys, cy-weddu, cy-wystl, cy-werth.

Oddiwrth a nodwyd canfyddir bod gosodiad yr awdwr y cyfeiriasom ato uchod, sef bod tuedd yn *cy* i lywodraethu y gwefusol a'r deintiol yn y sain leisiol, yn annghywir. Dylasai ddywedyd

wedi canfod yr annghysondeb hwn, ac ymdrechant ei ysgoi yn y dull clogyrnaidd a ganlyn: Dywedant "mai *cyng*, *cym*, a *cyn* sydd fwyaf priodol o flaen *ngh*, *mh*, ac *nh*; fel hyn, *cyngnghor*, *cymmhorth*, *cynnhes*; ond rhag pentyru cydseiniaid yn ormodol, mai gwell ysgrifenu *cynghor*, *cymhorth*, *cynhes*. Trwy hyn cedwir y blaenddod yn gyflawn, a rhan bwysig o nod y tarddiad—cyng-hor, cym-horth, cyn-hes." Dyma anafu y gwreiddyn er cadw y blaenddodion hoff; a dyma ddragio deddfau yr iaith i bwrpas, trwy droi *c*, *p*, *t*, i *h*!

Dosbarth arall a ysgrifenant *cym* o flaen *mh*, a *cyn* o flaen *nh*, a *cy* o flaen *ngh*, yr hyn sydd eto yn annghyson, canys os yw *cy* yn troi *c* i'r sain ffroenawl, paham nas gall droi *p* a *t*?

y gwefusol a'r gyddfol; ac felly, yn ol ei resymiad ef, *cy* a ddylai fod o flaen *n*, a *cyng* o flaen *ng*; fel hyn, cy-nal, cyng-nglyn.

Ar ol sylwi fel hyn ar annghysonderau yr hen ysgol, gallwn nodi mai rheol syml yr ysgol newydd yw, ***Fel y mae*** yn ***a*** fy, ***yn nghyfansoddiad breddegau, yn llywodraethu*** c, p, t, g, b, d, ***yn y sai ffroenawl, felly y mae*** au ***a*** cy, ***gydag ychydig o eithriadau,**** ***yn eu llywodraethu yr un modd yn nghyfansoddiad geiriau.***

3. Mae yr hen ysgol yn troi y blaenddod *an* † i *am* ac *ang*, a'r arddodiad *yn* i *ym* ac *yng*, o flaen *m*, *mh*, ac *ng*, *ngh*; fel hyn, ammri, ammhosibl; angwar, anghyfiawn; ym mro, ym mhlith; y'ngwydd, y'nghyffiniau. Gadewir un *ng* allan ar ol *ang* ac *yng*, fel y gwneir ar ol *cyng*; a phan ei gadewir allan ar ol *yng*, defnyddir talfyrnod i ddynodi y toliant.

Yn awr, prif amcan orgraff yw dangos sain geiriau; ond y mae iddi hefyd ail amcan, sef dangos eu tarddiad, yn ol egwyddorion treigliadaeth llythyrenol. Mae seinyddiaeth a threigliadaeth yn gyffredin yn cydweddu â'u gilydd, ond y mae rhai engreifftiau yn y rhai yr annghytunant.

(1.) Pan ddylynir *ngh*, *mh*, neu *nh*, âg *l* neu *r*, mae yn anmhosibl seinio yr *h* yn ei lle priodol, ac o ganlyniad fe'i seinir ar ol yr *l* neu yr *r*; fel hyn, yn nghlyw, annghlod; fy nghraig, cynghrair; yn nhref, annhrefn. Er fod yr *l* a'r *r* yn yr engreifftiau hyn yn dylyn yr *h*, fe'u seinir hwynt o'i blaen hi; fel hyn, yn nglhyw, annglhod; fy ngrhaig, cyngrhair; yn nrhef, annrhefn. Yr oedd yn rhaid yn yr engreifftiau hyn, naill ai aberthu yr egwyddor o seinyddiaeth er mwyn hono o dreigliadaeth, neu yr egwyddor o dreigliadaeth er mwyn hono o seinyddiaeth, ac o'r ddau beth hyn dewiswyd y blaenaf.

(2.) Pan y mae *ngh*, *mh*, neu *nh*, yn dygwydd bod yn y sill olaf o air, mae yn anhawdd seinio yr *h* am fod yr acen ar y sill flaenorol; fel hyn, cynghor, cynhen. Er na seinir yr *h* yn gyffredin mewn geiriau o'r rhestr hwn, eto defnyddir yr *h* yn eu llythyreniad, er mwyn dangos eu tarddiad.

* Mae *an* a *cy* yn llywodraethu *b* ac *g* yn y sain leisiol yn gystal a'r ffroenawl; megys, an-fri, an-mri; an-war, an-ngwar; cy-frad, cy-mrad; cy-wystl, cy-ngwystl.

† Mae *an* yn ateb i'r blaenddod *in* neu *un* yn y Seisneg. Troir *in* i *il* o flaen *l*, i *im* o flaen *m* neu *p*, ac i *ir* o flaen *r*; megys, il-legal, im-moral, im-patient, ir-regular.

(3.) Pan y mae *an* neu *yn* yn blaenori *ng* neu *ngh*, mae yn anhawdd iawn eu seinio, am na chysyllta seiniau blaen-dafodol ac ol-dafodol â'u gilydd; megys, yn nghae, annghof. Mewn engreifftiau o'r fath yma mae yr hen ysgol am aberthu egwyddor treigliadaeth er mwyn seinyddiaeth, a throi *yn* ac *an*, yn ol y modd y seinir hwynt, i *yng* ac *ang*. Mae yr ysgol newydd, o'r tu arall, am gadw y rhai hyn yn eu cyflwr gwreiddiol, gan mai hwynt-hwy sydd yn llywodraethu yr *ng* a'r *ngh* dylynol, ac aberthu yr egwyddor o seinyddiaeth er mwyn hono o dreigliadaeth yn yr achos hwn, fel yn yr engreifftiau blaenorol. Ac yn wir y mae cyfaledd o blaid y drefn hon. Seinir *n* fel *ng* o flaen *g* ac *c*; megys, *dyngarwch*, *yn creu*, *pwnc*; y rhai a seinir fel hyn, *dyng-garwch*, *yng creu*, *pwngc*. Os gellir seinio *n* fel *ng* o flaen *g* ac *c*, fe ellir, ar dir cysondeb, ei seinio felly o flaen seiniau ffroenawl *g* ac *c*, sef *ng* ac *ngh*. Os dywedir y dylai *n* gael ei sain briodol o flaen *g* ac *c*, dywedwn ninau y dylai ei chael yn egystal o flaen *ng* ac *ngh*, canys y mae mor anhawdd cysylltu *g* ac *c*, am eu bod yn llythyrenau ol-dafodol, âg *n*, ag ydyw cysylltu eu ffroenolion â'r un llythyren. Byddai mor hawdd roddi i'r *n* ei sain briodol o flaen *ng* ag o flaen *g*; megys, yn galw, yn ngalwad; a byddai mor hawdd roddi iddi ei sain briodol o flaen *ngh* ag o flaen *c*; megys, yn cadw, yn nghadw. Felly y mae yr hen ysgol, wrth droi *an* ac *yn* i *ang* ac *yng*, nid yn unig yn troseddu rheolau treigliadaeth llythyrenol, ond y maent hefyd yn dwyn i mewn annghysondeb i'r iaith, trwy newid *an* ac *yn* mewn rhai achosion yn unig, pan y dylent, ar yr un tir, gael eu newid mewn achosion ereill hefyd.

Dylai yr *n* yn *an* ac *yn* gael ei sain briodol o flaen *m* ac *mh*, canys nid oes mwy o reswm dros newid *an* ac *yn* i *am* ac *ym* nag sydd dros newid *un* a *can* i *um* a *cam* o flaen *m*; fel hyn, *um mis*, *cam mil*, &c. Eto, nid yw yn fwy anhawdd seinio *n* o flaen *m* nag ydyw ei seinio ar ol *m*, megys yn y geiriau amnaid, amnod, &c.

Mae yr hen ysgol yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd yn fawr yn eu dull o ddefnyddio yr *ym* a'r *yng*, a'r *am* a'r *ang*. Ysgrifena rhai ohonynt, y'mhlith; ereill, ym mhlith; ereill, ymhlith. Ysgrifena rhai, y'ngwreiddyn; ereill, yng ngwreiddyn; ereill, yngwreiddyn. Gochelir yr holl afreoleiddiwch hwn yn ein horgraff ar unwaith trwy roddi i *n* ei sain briodol o flaen *m* ac

*nh*, a mabwysiadu yr egwyddor syml a ganlyn,—*Fel y mae* n, *er hyrwydd-deb sain, yn cymeryd sain* ng *o flaen* g *ac* c,* *felly y mae, am yr un rheswm, yn cymeryd sain* ng *o flaen* ng *ac* ngh, *seiniau ffroenawl* g *ac* c.

4. Pan fyddo gair yn diweddu âg n(g)c, mp, nt, mae yr *c*, *p*, *t*, weithiau, ar chwanegiad sill yn diflanu; megys, tran(g)c, trengi; cant, canoedd; pump, pumed. Mae yn arferiad gan yr hen ysgol, ac mae'r newydd wedi ei dylyn yn hyn, ddefnyddio *m* i gynddrychioli'r *p*, ac *n* i gynddrychioli'r *t*, pan mae'r rhai hyn yn colli eu sain, megys, cannoedd, punnoedd. Yn awr nid oes na seinyddiaeth na threigliadaeth yn gofyn yr arferiad hwn. Byddai y sain yr un gydag un *n* neu un *m* a chyda dwy ohonynt; ac nid oes gan reolau treigliadaeth ond â *dechreu* sillau, ac yn ol y rheolau hyn, *m* ac *n* ydynt gynddrychiolwyr *b* a *d*, ac nid *p* a *t*. Yr unig reswm a welsom yn cael ei gynyg tros yr arferiad oedd, bod ieithoedd ereill yn defnyddio *nn* yn lle *nd* yn nghanol gair. Felly yr egwyddor o efelychu ieithoedd ereill sydd wedi peri yr arferiad o ddefnyddio cydseiniaid dyblon yn yr achos hwn, yn gystal ag yn yr holl achosion ereill a nodwyd.

Pan y mae *t* a *p* yn colli eu sain wrth chwanegu sill, buasai yn well eu gadael allan na defnyddio *n* ac *m* yn eu lle, am amryw resymau:

(1). Er mwyn cysondeb. Mae *c*, *p*, *t* yn ddarostyngedig i'r un deddfau; ac os defnyddir *m* ac *n* yn lle *p* a *t*, rhaid, er mwyn cysondeb, ddefnyddio *ng* ar ddiflaniad *c*; fel hyn, ieuanc, ieuanngach; tranc, trenngu. Eto, os defnyddir dwy *n* yn cannoedd, a dwy *m* yn pummed, dylid defnyddio dwy *n* yn cannrif, cannplyg, cann niwrnod, a dwy *m* yn pumm mil. Neu os defnyddir talfyrnod yn lle yr *n* neu yr *m* mewn rhai engreifftiau, dylid gwneyd hyny yn gyson; megys, can' niwrnod, can'oedd.

(2). Mae defnyddio *m* yn lle *p*, ac *n* yn lle *t*, yn lle tueddu i gadw gwraidd geiriau, yn tueddu i dywyllu'r gwraidd. Wrth silliadu'r fath eiriau a mediannwr, cannwriad, eneinnio, breinniol,

* Mae *n* yn newid ei sain yr un modd yn yr iaith Seisnig o flaen y seiniau hyn; megys, *singular*, *think*.

† Gwelsom mewn un Gramadeg haeriad fod *c* yn troi i *ng* yn niwedd sill, megys, tranc, trengi! Os yw yr *ng* yn trengi yn dreigliad o *c*, beth sydd wedi dyfod o'r *n* sydd o flaen yr *c* yn tranc?

gan fod cysylltu dwy *n* yn yr un sill yn beth mor glogyrnaidd, dodir yr *n* yn y sill ddylynol; megys, medd-ian-nwr, can-nwr-iad, en-ein-nio, brein-niol. Gellid meddwl fel hyn fod yr *n*, yn y ddau air blaenaf, yn cynddrychioli'r *g* sydd wedi diflanu o'r gair gŵr, yn hytrach na'r *t* yn y sillau blaenorol; ac y mae dodi *n* o flaen yr *io* a'r *iol*, megys yn y ddau olaf, yn gwneyd yr unsillau hyn yn ddwysill, ac felly, yn ol rheol acenyddol y Gymraeg, yn peri i'r acen ddisgyn ar y sill *ni*.

(3). Er nad yw yr awdwr yn coleddu rhyw dyb uchel am gyfundrefn Dr. O. Puw yn nghylch gwraidd geiriau, eto fe allai ei bod yn werth sylwi ei fod ef yn dywedyd mai gwreiddyn cant, punt, pump, yw can, pun, pum. Os felly, onid yw yn ddigon cael gwraidd y geiriau, heb chwanegu llythyrenau anmhriodol i gynddrychioli llythyrenau na pherthynant i'r gwraidd?

Dyma ni bellach wedi cymeryd golwg ar y prif bethau ag sydd yn gwahaniaethu y ddau drefniant orgraffyddol oddiwrth eu gilydd, ac hyderwn y canfyddir bod trefniant yr ysgol newydd yn rhagori ar eiddo yr hen mewn byrdra, symledd, a chysondeb.

Gallwn grybwyll yma fod rhai ysgrifenwyr ac argraffwyr nad ydynt yn mabwysiadu un o'r ddau drefniant yn gwbl, eithr defnyddiant ran o bob un. Mae rhai, er engraifft, yn defnyddio *cym, cyn, cys*, yn lle *cy*, o flaen *b, d, m*, ac *s*, fel yr hen-ysgol, ond dylynant yr ysgol newydd yn mhob peth arall. Ereill drachefn a wnant ddewisiadau gwahanol allan o'r ddau drefniant, fel y mae gan bob ysgrifenydd ac argraffydd ei ddull priodol ei hun o lythyrenu.

Mae yn beth i ni ofidio o'i blegid fod y cyflwr yma o bethau fyth yn bodoli, ac nad oes genym eto ddull unffurf o lythyrenu yn y Gymraeg, fel sydd yn perthyn i ieithoedd ereill. Gosodwyd amryw gynlluniau ar droed, a ffurfiwyd pwyllgorau, er sefydlu rhyw un cynllun cyffredinol, ond bu yr oll yn ofer, trwy fod y personau a benodwyd i'r gwaith yn methu cydweled â'u gilydd. Ac yn wir, y mae lle i ofni y bydd i'r cais diweddaf a wnaed i sicrhau yr amcan dymunedig brofi yn fethiant, am mai y trefniant a gynygir i sylw llenorion Cymru gan y rhai yr ymddiriedwyd y gwaith o sefydlu yr orgraff yn benaf iddynt, yw trefniant cymhlyg yr hên ysgol. Ein barn ddiysgog ni yw, yn gymaint a

bod symledd yn tra-rhagori ar gymhlygedd, y bydd i bob ymgais i ddwyn yr hen drefniant i ffafr gan y wlad brofi yn siom i'r sawl a'i cymhellant.

Yn awr gosodwn rai rheolau gerbron y dysgadur, er ei gyfarwyddo i lythyrenu yn gywir, yn ol trefniant syml yr ysgol newydd.

RHEOLAU LLYTHYRENIAD Y GYMRAEG.

1. *Geiriau gwreiddiol.*—Yr unig egwyddor ag sydd yn llywodraethu llythyreniad y rhai hyn yw *sain;* ac ni ddylent gynwys na mwy na llai o lythyrenau nag sydd yn angenrheidiol i roddi iddynt eu priodol seiniau.

1. Gwell terfynu geiriau tebyg i'r rhai canlynol, heb fod yn y rhif lluosog, âg *eu,* ac nid *au;* sef, angeu, ameu, goreu, teneu, eisieu, goleu.

2. Adlawiad *p* yw *ph,* ac ni ddylai gael ei arferyd ond yn nechreu sillau, fel cynddrychiolydd *p;* megys, gorphwys, triphlyg. Felly silliader corff, sarff, proffwyd, Aifft, argraffu, &c., âg *ff.**

3. Mae geiriau unsill naill ai yn hirsain neu yn fyrsain, yn ol fel y byddo'r unseiniaid a gynwysant yn fyr neu yn hir.

1af. Mae unseiniad yn fyr pan ei dylynir gan un o'r cydseiniaid canlynol:—

C (ol-dafodol) .. T (blaen-dafodol) .. P (gwefusol).
Ng (eto) .. Ll (eto) .. M (eto)

Mae rhai eithriadau i'r rheol hon, y rhai y dylid eu nodi â nod hirsain; megys ôll, hôll, bûm.

* Barna rhai y "dylai geiriau benthyciol ddwyn nod eu tarddiad; megys, grammadeg, orgraph, prophwyd, Aipht, accen, &c." Gwelwn yma eto amlygiad o'r duedd a ffyna i ddinystrio symledd ein horgraff ein hunain, er mwyn efelychu eiddo ieithoedd estronol. Pan fyddys yn Cymreigeiddio geiriau estronol, megys newid Grammar i Gramadeg, a prophet i proffwyd, mae'r geiriau newidiedig yn eiriau syml yn ein hiaith ni, am nad oes iddynt wreiddiau yn y Gymraeg, a dylid o ganlyniad eu llythyrenu yn ol y rheol a roddwyd i lythyrenu geiriau gwreiddiol. Os rhestrwn eiriau estronol i'n rhenciau ein hunain, mynwn iddynt wisgo ein lliwiau ni, ac nid eiddo estroniaid. Pan na fyddys yn eu Cymreigeiddio, ond yn eu defnyddio hwynt yn eu sain a'u hacen briodol eu hunain, rhodder iddynt eu gwisg eu hunain; megys, *philosophy, commission, paragraph,* &c.

**2il.** Mae unseiniad yn hir pan ei dylynir gan un o'r cydseiniaid canlynol:

| | | |
|---|---|---|
| G (ol-dafodol) | D (blaen-dafodol) | B (gwefusol) |
| ———— | Dd (eto) | F (eto) |
| Ch (eto) | Th (eto) | Ff (eto) |
| ———— | S (eto) | ———— |

Mae rhai eithriadau i'r rheol hon, y rhai y dylid yn wastad eu nodi â nod byrsain; fel hyn, rhàg, nàd, nid, nàg, càb, còb, pẁff, nàs, nìs, tròs, òch.

**3ydd.** Pan ddylynir unseiniad gan un o'r llythyrenau blaen-dafodol L, N, R, mae ei hyd yn amheuus. O ganlyniad, pan mae'r unseiniad yn hir-seiniol, defnyddier nod hirsain, ac yna ni fydd yn angenrheidiol ei nodi pan yn fyr-seiniol; fel hyn, (hir-seiniol) tâl, tân, tôn, môr; (byr-seiniol) tal, tan, ton, mor.

**4ydd.** Pan ddylynir unseiniad gan ddwy neu fwy o gydseiniaid, neu gan gydsain ac *w*, mae'r unseiniad yn fyr; megys, corff, bustl, cadw, &c.

*Eithriad.* Mae'r unseiniad yn hir o flaen *sc* neu *sg*, *sp*, *st*, ac *llt*; megys, pasc, dysg, cosp, clust, gwallt.

Pe gwnai argraffwyr nodi y geiriau unsill a ffurfiant yr eithriadau i'r rheolau uchod â nod hirsain neu fyrsain, yn ol y cyfarwyddiadau a roddwyd, galluogid estron yn rhwydd i roddi i eiriau unsill eu hyd priodol wrth ddarllen.

2. *Geiriau cyfansawdd.*—Heblaw sain, y mae egwyddor arall yn llywodraethu llythyreniad y rhai hyn; sef, treigliadau y cydseiniaid. Mae yr holl lythyrenau gwreiddiol, yn achlysurol, yn newid mewn cyfansoddeiriau, ond nid oes un yn diflanu oddieithr *g;* felly, âg eithrio hon, rhaid i bob sill gynwys yr un nifer o lythyrenau ag a gynwysai yn ei ffurf wreiddiol ac annghysylltedig; megys, an-nuwiol, an-duwiol; annhraethol, an-traethol.* Pe sain yn unig a fyddai yn llywodraethu y rhai hyn, fe'u llythyrenid, a-nuwiol, an-rhaethol.

* Yma ystyrir pob un o'r adlawiaid, megys, *nh*, *ngh*, *ch*, &c., fel un llythyren.

1. Cofier mai i'r sain leisiol y mae'r gydsain fo'n dylyn blaenddod neu air mewn cyfansoddeiriau yn newid fynychaf, fel y gwna llythyren flaenaf geiriau mewn broddeg, ac hefyd fod *an* a *cy* yn fynych yn llywodraethu y sain ffroenawl mewn geiriau, fel y gwna *yn* a *fy* mewn cyfansoddiant.

2. Na thröer y blaenddod negyddol *an* i *a*, *am*, nac *ang*. Mae i'r ddau flaenaf ystyr gwahanol i *an*; ac am yr olaf, nid oes y fath flaenddod yn yr iaith.

3. Defnyddier *cy*, ac nid *cyng*, *cym*, *cyn*, a *cys*, o flaen *ng*, neu *ngh*; *m*, neu *mh*; *n*, neu *nh*, ac *s*; megys, cynghor, cymharu,* cynhwrf, cymaint, cynal, cysur. Nid oes y fath flaenddod a *cyng* i'w gael yn un o'n Geiriaduron.

4. Pan fo dwy *d*, *d* ac *dd*, *f* ac *f*, *f* ac *ff*, *t* ac *h*, *n* ac *g*, *e* ac *h* yn dygwydd cydgyfarfod, mae yn angenrheidiol eu gwahanu â chydnod; fel hyn, ad-dynu, ad-ddywedyd, prif-fardd, prif-ffordd, hwynt-hwy, cyfan-gwbl, dryc-hin.

*Eithriadau.*—Geiriau yn terfynu yn *gar*; megys, ariangar. Geiriau yn meddu cydsain yn ddigyfrwng o flaen *n*, neu ar ol *g*; megys, teyr*n*ged, gwahan*gl*wyf.

5. Gwell defnyddio y blaenddodion *ad* (yn arwyddo ail-wneuthuriad) a *dad* (o *di-ad)* yn hytrach nag *at* a *dat*; megys, ad-daro, ad-dwf, ad-dyniad,† ad-dywallt, adgas, adolygu,‡ dad-gloi, dad-doi, dadgan, &c.§

Mae arferiad wedi sefydlu llythyreniad *ateb*, *attal*, a *dattod*.

6. Newidir *p* ac *c* yn gyffredin i *b* ac *g* ar ol blaenddod yn terfynu yn *s*; megys, esboniad, dosbarth, ysbryd, disgyn, ysgrif, ysgol: ond *t* a ddefnyddir yn annewidiol, fel yn yr engreifftiau canlynol:—Ystyr, dystewi, cystal, ystyfnig, cystudd.

* Camlythyrenir y gair hwn yn fynych fel hyn; cydmaru, neu cydmharu. Trwy mai pâr yw gwreiddyn y gair mae yn amlwg fod y dull blaenaf yn annghywir, am nad yw *p* byth yn newid i *m*; ac mae yr olaf yn annghywir trwy fod *cyd* bob amser yn newid *p* i *b*; megys, cydbwys. Na newidier yr *a* i *e* yn y gair cymharir, onidê bydd yn rhy debyg i'r gair cymerir.

† Mae i atdyniad ystyr arall, sef tynu at (*attraction*).

‡ Mae i atolygu ystyr gwahanol, sef erfyn.

§ Er nad ŷm yn canfod y priodoldeb o ddefnyddio blaenddod negyddol yn y gair hwn, eto trwy ei fod yn cael ei lythyrenu ddwy ffordd, gwell mabwysiadu *dad*, er mwyn unffurfiaeth.

3. *Geiriau tarddedig.*—Llythyreniad y rhai hyn, fel eiddo y geiriau gwreiddiol, a lywodraethir gan sain yn unig, trwy nad ydynt yn ddarostyngedig i reolau y cyfnewidiadau cydseiniol.

1. Pan fo *p* a *t* yn colli eu sain ar ol *m* ac *n*,—megys, pumed, canoedd—na ddoder *m ac n* yn eu lle, am nad yw seiniadaeth na threigliadaeth yn eu gofyn.

2. Pan fo *a* neu *o* acenedig yn diweddu sill, a'r sill ddylynol yn dechreu â'r unrhyw unseiniad, yn lle defnyddio dau unseiniad cyfunrhyw, defnyddier un hirsain ; fel hyn, yn lle parhaad, parhâd ; yn lle troodd, trôdd. Pan fo yr acen yn disgyn ar *ddeuseiniad*, yr unseiniad olaf o ba un a ddygwydd fod yr un fath a'r unseiniad dylynol, nid yw seiniadaeth yn gofyn dileu un ohonynt, gan hyny llythyrener y gair yn gyflawn ; fel hyn, beiir, amheuus, gwrandawwn, cynorthwyydd. Ond pan ddygwydd i ddwy *w* gydgwrdd, a'r gyntaf yn cael ei blaenori yn uniongyrchol gan gydsain, mae seiniadaeth yn gofyn dileu un ohonynt; fel hyn, yn lle galwwn, cadwwyd—galwn, cadwyd.

3. Pan fo berf yn tarddu o atenw ag a fyddo yn terfynu âg unseiniad, neu un o'r cydseiniaid *dd*, *f*, *g*, *l*, *m*, *n*, neu *r*, mae seiniadaeth yn gofyn gwasanaeth yr ebychiad *h* i gryfhau yr acen; fel hyn, lleihâ, rhydd-hëir, cryf-häu, gwag-hâu, isel-häodd, trym-hâ, glan-hâ, byr-häwyd. Fe'i defnyddir yr un modd mewn enwau yn tarddu o'r ferf; megys, llei-hâd, rhydd-häwr, isel-hâd, trymhâd, &c. Pan fyddo yr atenw yn terfynu âg un o'r chwythlythyrenau—*c*, *ch*, *ll*, *s*, neu *th*—nid yw yr *h* yn ofynol; megys bywioc-äu, iach-â, gwell-äu, nes-ëwch; esmwyth-â.

Na ddefnyddier *h* mewn tarddolair, er mwyn cryfhau yr acen ar sill a fo yn perthyn i wreiddiolair; megys, angheuol, anghenus, ehangder, bonheddig, danghosodd, brenhines, cenhadon, cenhedloedd, synhwyrau, diarhebion, cyrhaeddodd, arhosiad, tynghedfen, angherddol, dihangol.

*Eithriadau.*—Deheulaw, amheuaeth, crynhoi.

Gan fod pobl yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd yn seiniadaeth y geiriau uchod, mae yn well, er mwyn unffurfiaeth, ymgadw at un rheol, a dileu yr ebychiad o'r oll ohonynt, oddieithr y rhai

hyny a nodwyd fel eithriadau, y rhai, am nad oes un gydsain yn y sill acenedig, a seinir yn unwedd yn ol y llythyreniad eithredig.

4. Arferir y terfyniadau *i*, *u*, *o*, *io*, yn fynych fel terfyniadau berfol, ac y mae yn deilwng o sylw fod y rhai hyn yn cael eu llywodraethu gan yr unseiniad neu ddeuseiniad a fyddo yn yr obensill. Pan fyddo y sill hon yn cynwys unseiniad gyddfol, sef *a* neu *y*, gofynir yn gyffredin y terfyniad *u*; megys, caru, parhäu, prynu. Pan fyddo yn cynwys unseiniad gwefusol, gofynir yn gyffredin y terfyniad *i*; megys, dystewi, cyffröi, codi. Pan yn cynwys unseiniad tafodol, sef *e*, *u*, *i*, gofyna *e* un o'r terfyniadau *u* ac *i*, a gofyna *u* ac *i* y terfyniad *o*; megys, pechu, ymdrechu, anrhegu, erchi, mynegi, gwingo, ysbïo, puro, duo.

Pan fyddo *e* yn wreiddiol gofyna *u* ar ei ol; megys celu, ymdrechu, pregethu, dilëu. Ond pan fyddo yn darddiadol o *a* gofyna *i*; megys, arch, erchi; par, peri; mynag, mynegi; pasg, pesgi.

*Eithriadau.*—Rhegi, medi.

Y deuseiniaid *ae*, *oe*, *wy*, ac *ei*, yn fynych a lywodraethant y terfyniadau berfol. Y deuseiniad *ae* a ofyn *u*; y deuseiniad *oe*, *i*; y deuseiniad *wy*, *o*; a'r ddeuseiniad *ei*, *io*; megys, gwaedu; poeni; pwyso; ceisio.

*Eithriadau.*—Gwaeddi, gweini.

Cymer pob un o'r unseiniaid a'r deuseiniaid uchod y terfyniad *o* yn achlysurol ar ei ol; megys, tanio, brysio, rholio, pwnio, herio, cilio, anturio, coelio, hwylio.

5. Trwy fod *i*, *u*, *y* dafodol, ac *e* yn niwedd deuseiniad, yn tebygu i'w gilydd o ran sain, mae'r annghyfarwydd yn fynych yn defnyddio y naill yn lle'r llall. Ond o ran *u* ac *y*, y rhai a gamddefnyddir fynychaf, gall fod o help iddynt gofio bod *y* yn gyffredin yn newid i'w sain yddfol wrth chwanegu sill, ac nad yw *u* byth yn newid; megys, dyn, testyn, gofyn, melys, hyn,—dynion, testynau, gofynion melysion, hyny; pur, rhybudd, papur, hun—purion, rhybuddion, papurau,* hunan. Ond pan fyddo *w* acenedig yn blaenori *y*, nid yw yr olaf yn newid ei

* Haera rhai mai papyr yw'r dull priodol o lythyrenu y gair hwn, am ei fod yn tarddu o *papyrus*. Nid ydym yn gwadu fod papur yn deilliaw o'r gair Lladin hwn; ond os ydym ni i ddal at y llythyreniad gwreiddiol pan yr ydym yn seinio yn wahanol, bydd cymaint o wahaniaeth rhwng seiniad a

sain; eithr nid yw hyn o nemawr bwys, os cofir nad yw *u* byth yn dylyn *w* oddieithr yn y gair gwull. Gwahaniaeth arall rhwng *y* ac *u* yw, fod y flaenaf weithiau yn treiglo o unseiniad arall, yr hyn nad yw yr olaf byth yn ei wneyd.† Oddiwrth hyn ni a welwn mai *y* sydd i fod yn dyg, ffy, pebyll, &c., oddiwrth dwg, ffo, pabell, &c.

Gan nad oes modd i wneyd rheolau i ddangos pa fodd i lythyrenu pob gair, rhoddwn yma gofrestr o eiriau naill a gamlythyrenir, neu a lythyrenir wahanol ffyrdd, wedi eu llythyrenu yn y modd a ymddengys i ni y goreu.

GEIRIAU A LYTHYRENIR WAHANOL FFYRDD.

Acen *(accent)*
Adgas
Addfed
Alldud
Allwys *(loose)*
Amddiffyn *(defend)*
Amgeledd
Amgueddfa
Amherawdwr *(emperor)*
Ameu
Amod
Anifail *(animal)*
Anog
Angen
Angladd
Annwyd
Arad
Araeth
Atteg
Banllef
Burym *(barm)*
Bygwth
Bywoliaeth
Cadair
Cadben *(captain)*
Camfa, nid camdda
Canmol
Canys
Cenfigen
Cenllusg
Clauar
Clymu
Cnewullyn
Crai
Croew
Cyfundraeth
Cyffelyb
Cyffwrdd
Cyllell
Cyllid
Cymharu *(compare)*
Cymhell *(compel)*
Cymhen
Cymhorth

llythyreniad geiriau yn Gymraeg ag sydd yn Seisneg. Bydd yn angenrheidiol llythyrenu bwcl—*buckl*; treio—*tryo*; barwn—baron; Beibl—*Bibl*; peint—pint; botwm—button neu *bouton* (Ffreng.), &c.

† Mae rhai yn newid *ae* i *eu*, ond nid ydym yn cymeradwyo y cyfnewidiad hwn.

Cymhwys
Cynauaf
Cynddrychioli
Cyneu (*kindle*)
Cynysgaethu
Cynhen
Cynhes
Cynhwrf
Cynghanedd
Cynghor
Cynghrair
Chwaneg
Chwilio
Chwyldroad
Chwyrnu
Dadlu neu Dadleu*
Dadgan
Dadguddio
Daear
Danedd
Dattod
Dedfryd
Deau
Deheulaw
Deugain
Diareb
Diasbedain
Dilys
Diniwaid
Diolch
Diosg
Disberod
Distryw (*destroy*)
Diwyd
Dosbarth
Dryc-hin
Duweinydd (*divine*)†
Dyben
Dydoli
Dyddanwch
Dyddordeb
Dyddymu
Dyeithr
Dyfetha
Dyferyn
Dyfynu
Dygwydd
Dyhewyd
Dylyn
Dyoddef
Dyrwyn
Dysglaer
Dysgrifio (*describe*)
Dysgwyl
Dysgybl (*disciple*)
Dystaw
Dystyllu (*distil*)
Edeu
Engraifft
Eilun
Enill
Enyd
Enyn
Ereill

* Mae gwahanol foddau ac amserau y ferf hon yn tarddu o dadleu; megys, dadleuais, dadleua, &c.

† Silliedir y gair hwn, gyda'r un tarddedig ohono, sef *duwinyddiaeth*, yn amlwg, mewn efelychiad i'r Seisneg. Y mae rheolau yr iaith hon yn gofyn i'r *i* yn *divine* gael ei sain ddwyseiniol (*diphthongal*), pa un sydd yn ateb i *ei* yn Gymraeg; tra y gofynant *i* fer yn *divinity*. Y mae y Cymry wedi dylyn yr un dull: silliadant a seiniant y blaenaf yn duweinydd, a'r olaf yn duwinyddiaeth.

Erlidigaeth
Esboniad
Ffynon (*fountain*)
Gloew
Gorphénhaf
Grudd
Gruddfan
Gwaew
Gwatwar
Gwddf
Gwegil
Gweisgi, nid gwisgi
Gweniaith
Gwibed
Gwynepbryd *
Gwrandawwyr
Gwrthddrych
Gwylio
Haner
Hedeg
Hoew
Hynafiaeth
Hysbys
Lletygar
Llian
Llofrudd
Lluaws
Meichiau
Manwl
Megys
Melys
Milldir (*mile*)
Munud (*minute*)
Myntai
Mynwent
Mynwes
Niwaid
Oblegid
Oedfa. Lluos., Oedfaon
Ogofau
Papur (*paper*)
Parlawr (*parlour*)
Plu (*plumes*)
Penill
Pennod, o *pen* a *nod*
Rhybudd
Santaidd
Sarug
Seisneg †
Sicrwydd
Sïo
Syler (*cellar*)
Symud
Tafal
Teneu
Testyn
Tlawd ‡
Tragwyddol
Trigain §
Trindod (*trinity*)

* Mae'r acen yn caledu'r *b* yn y gair hwn.

† Pan fyddo deuseiniad yn yr obensill defnyddier *eg* yn niwedd y gair; megys, Llydaweg, Almaeneg, Ysbaeneg, Cernyweg. Ond pan na fyddo ond unseiniad, defnyddier *aeg*; megys, Cymraeg, Hebraeg, Rwsiaeg, Ffrancaeg, Italaeg.

‡ Y mae yr un rheswm tros ysgrifenu *claf* yn *cylaf*, a *tlws* yn *tylws*, ag ysgrifenu *tlawd* yn *tylawd*. Dylai y rhai hyny a ysgrifenant y gair yn ol y dull olaf, gofio, wrth ei ddarllen, roddi yr acen ar y sill gyntaf.

§ Yn gyffredin llythyrenir y gair hwn fel hyn, triugain. Paham nas gellir gadael yr *u* allan o hwn yn gystal ag o'r gair deugain? Yna bydd genym u-gain, deu-gain, tri-gain.

Twymo
Twysen
Tymer * (*temper*)
Tymestl (*tempest*)
Tymor
Tynell (*ton*)
Ufudd
Ysbryd (*spirit*)
Ysbaid
Ysbïo

GEIRIAU O GYFFELYB SEINIAU,† NEU A GAMGYMERIR Y NAILL AM Y LLALL.

Ac, *and*
Ag, *that or with*

Ael, *a brow*
Ail, *second*

Aer, *heir*
Aur, *gold*
Air, *word*

Baedd, *a boar*
Baidd, *a challenge*

Bru, *womb*
Bri, *dignity*

Budd, *benefit*
Bydd, *will be*

Cae, *a field*
Cau, *to enclose*

Ci, *a dog*
Cu, *amiable*

Cil, *a corner*
Cul, *narrow*

Clai, *clay*
Clau, *quick*

Clun, *hip*
Clin, *knee*

Crug, *a heap*
Cryg, *hoarse*

Crud *a cradle*
Cryd, *a fever*

Cymru, *Wales*
Cymry, *Welshmen*

Cymun, *sacrament*
Cymyn, *bequest*

Chwaeth, *taste*
Chwaith, *neither*

Chwith, *left*
Chwyth, *a blast*

Ei, *his* or *her*
Eu, *their*

Eirian, *splendid*
Eurian, *golden*

Eiryn, *plums*
Euryn, *a golden trinket*

* Ysgrifena rhai *tymher*, erelll *tymmher;* ond dylid cofio nad oes gan *ty* na *tym* allu i droi *p* i'r sain ffroenawl. Mae yn wreiddiolair yn ein hiaith ni; gan hyny ni ddylai gynwys mwy o lythyrenau nag sydd yn angenrheidiol i roi iddo ei briodol sain.

† Maent bron oll yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd yn nefnyddiad *i*, *u*, *y*, ac *e*.

Esgid, *a shoe*
Esgud, *nimble*

Ewin, *a nail*
Ewyn, *foam*

Ffaeth, *luxuriant*
Ffaith, *a fact*

Ffurf, *a form*
Ffyrf, *thick*

Gwae, *woe*
Gwau, *to weave*

Gwaedd, *a shout*
Gwaudd, *a daughter-in-law*

Gwaeth, *worse*
Gwaith, *work*

Gwain, *a sheath*
Gwaun, *a meadow*

Gweliau, *wounds*
Gwelyau, *beds*

Gwich, *a squeak*
Gwych, *smart*

Gwir, *true*
Gwŷr, *men*

Gwiw, *proper*
Gwyw, *withered*

Haedd, *merit*
Haidd, *barley*

Hael, *liberal*
Haul, *the sun*

Hi, *she*
Hy, *bold*

Hin, *weather*
Hun, *self*
Hŷn, *older*

Hulio, *to cover*
Hilio, *to produce*

Hwnt, *beyond*
Hwynt, *them*

Is, *under*
Us, *chaff*

I'w, *to his, her, their*
Yw, *is*

I fyny, *up*
I fynu, *to demand*

I waered, *downwards*
I wared, *to save*

Llaes, *long*
Llais, *a voice*

Llaeth, *milk*
Llaith, *moist*

Llai, *less*
Llau, *lice*

Lli, *a flood*
Llu, *a host*

Llifio, *to saw*
Llifo, *to flow*

Llin, *flax*
Llun, *form*
Llyn, *a lake*

Lliw, *a colour*
Llyw, *a helm*

Lluman, *a banner*
Llyman, *a wretch*

Llus, *bilberries*
Llys, *a court*

Mae, *is*
Mai, *that*
Mau, *my*

Maen, *a stone*
Main, *thin*

Maeth, *nurture*
Maith, *long*

Melin, *a mill*
Melyn, *yellow*

Mil, *a thousand*
Mul, *a mule*

Mis, *a month*
Mys, *a finger*

Mud, *dumb*
Myd, *a world*

Nac, *nor*
Nag, *than*

Neithior, *a marriage feast*
Neithiwr, *last night*

Nith, *a niece*
Nyth, *a nest*

Peri, *to cause*
Pery, *will continue*

Pig, *a beak*
Pyg, *pitch*

Pridd, *earth*
Prudd, *sorrowful*

Prif, *chief*
Pryf, *a worm*

Prin, *scarce*
Pryn, *buy*

Rhi, *a chief*
Rhu, *a roar*
Rhy, *too*

Rhiw, *a slope*
Rhyw, *species*

Rhudd, *red*
Rhydd, *free*

Saeth, *a dart*
Saith, *seven*

Seisneg, *English language*
Seisnig, *English*

Sil, *a seedling*
Sul, *Sunday*
Syl, *a base*

Sir, *shire*
Sur, *sour*

Sudd, *juice*
Sydd, *is*

Sylfaen, *a foundation stone*
Sylfan, *a foundation*

Taer, *importunate*
Tair, *three*

Tai *houses*
Tau, *thy*

Talaeth, *a province*
Talaith, *a crown*

Ti, *thou*
Tu, *a side*
Tŷ, *a house*

Tri, *three*
Try, *will turn*

| | |
|---|---|
| Ud, *a howl* | Yntau, *he* or *him, also* |
| Yd, *corn* | Ynte, *them* |

### UNSILLIAID HIR A BYR.

Rhoddir yma, mewn dwy golofn, restr o unsilliaid, wedi eu llythyrenu yr un fath a'u gilydd, ond yn gwahaniaethu yn hyd yr unseiniaid:—

| *Hir.* | *Byr.* |
|---|---|
| Ag,* *with* | Ag, *as* |
| Ar, *plough-land* | Ar, *on* |
| Bâr (pâr) *will cause* | Bar, *a bar* |
| Bêr (pêr), *sweet* | Ber, *short* |
| Câr, *a friend* | Car, *a car* |
| Cob, *a cloak* | Còb,† *a tuft* |
| Crŷn, *a shake* | Cryn, *rather* |
| Cŷn, *a wedge* | Cyn, *before* |
| Dâl (tâl), *payment* | Dal, *will hold* |
| Dêl, *will come* | Del, *pert* |
| Dŷn, *a man* | Dyn (tyn), *tight* |
| Fân (mân), *small* | Fan (man), *place* |
| Fêl (mêl), *honey* | Fel, *like* |
| Gân, (cân), *a song* | Gan, *by* |
| Gâr (câr), *a friend* | Gar, *a shank* |
| Gên, *a chin* | Gen (cen), *scales* |
| Gêr, *gears* | Ger, *near* |
| Glân, *clean* | Glan, *brink* |
| Glŷn, *will stick* | Glyn, *a dale* |
| Gwâl, *a couch* | Gwal, *a wall* |
| Gwân, *a stab* | Gwan, *weak* |
| Gwên, *a smile* | Gwen, *white* |
| Gwâr, *mild* | Gwar, *the nape of the neck* |

* Yn ol y rheolau a roddwyd yn nghylch hyd unsilliaid, tudal. 52, nid oes un nod i fod ar y gair *ag* pan yn hirsain; ond pan yn fyrsain y mae i gael ei fyrnodi, fel hyn, àg. Eithr gan fod *âg* (*with*) yn troi i â o flaen cydsain, a'i bod yn angenrheidiol hirnodi yr *â* i'w wahaniaethu oddiwrth ranau-ymadrodd ereill, gwell hirnodi *âg* hefyd, er mwyn iddo fod yn unffurf âg *â*.

† Mae geiriau yn terfynu yn *b* hefyd yn hirsain, ac o ganlyniad pan y mae yn angenrheidiol defnyddio nod o flaen y llythyren hon, rhaid iddo fod y byrnod.

| *Hir.* | *Byr.* |
|---|---|
| Gŵn (cŵn), *dogs* | Gwn, *I know* |
| Gŵr, *a man* | Gwr (cwr), *a corner* |
| Hŷn, *older* | Hyn, *these* |
| Llên, *literature* | Llen, *a curtain* |
| Mâl, *grind* | Mal, *like* |
| Mân, *small* | Man, *a place* |
| Tâl, *payment* | Tal, *tall* |
| Tân, *fire* | Tan, *under* |
| Tôn, *a tune* | Ton, *a wave* |
| Tŵr, *a tower* | Twr, *a heap* |

---

## ADCHWILIAD I'R WYTHEED BENNOD.

1. Yn nghylch pa beth y mae yr hen ysgol a'r newydd yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd yn benaf o barth i'r orgraff?—Yn nghylch defnyddiad y blaenddodion *an* a *cy*, a'r arddodiad *yn*.

2. Beth yw'r gwahaniaeth?—Mae yr hen ysgol am ddefnyddio *cym*, *cyn*, *cyng*, o flaen ffroenolion, a *cys* o flaen *s*, yn lle *cy*, ac *ym* ac *yng* hefyd o flaen ffroenolion yn lle *yn*, a'r ysgol newydd am ddefnyddio *cy* ac *yn* yn unig.

3. Beth yw rheswm yr hen ysgol tros ddefnyddio *cym*, *cyn*, a *cyng*?—Am fod *cy*, meddant hwy, yn llywodraethu'r sain leisiol.

4. A ydyw *cy* yn llywodraethu'r sain leisiol weithiau?—Ydyw, y mae yn troi *b*, *m*, *c*, ac *g* i'r sain leisiol.

5. Beth sydd gan yr ysgol newydd ynte i'w ddywedyd tros ddefnyddio *cy* o flaen y sain ffroenawl?—Yn un peth, fod blaenddodion yn fynych yn llywodraethu mwy nag un math o seiniau. Peth arall, fod gynddynt hwy gystal hawl i haeru mai *cyf* sydd yn troi *b* ac *m* i *f*, ac nid *cy*, ag sydd gan yr hen ysgol i haeru mai *cym* sydd yn troi *b* i *m*; ac o ran *g*, mae *cy* yn ei throi i'r sain ffroenawl yn gystal a'r leisiol.

6. Rhoddwch siampl.—Cy-wedd, cy-ngwedd; cy-werth, cy-ngwerth; cy-wystl, cy-ngwystl.

7. Pa flaenddod arall sydd yn troi *g* i'r sain leisiol a ffroenawl?—Y blaenddod *an*.

8. Rhoddwch siampl.—An-war, an-ngwar; an-wresog, an-ngwres.

9. Beth yw rheswm yr hen ysgol tros ddefnyddio *ym* ac *yng* yn lle *yn* o flaen y sain ffroenawl?—Eu bod yn rhwyddach i'w seinio.

10. Beth ddywed yr ysgol newydd yn ngwyneb hyn?—1. Os newidir *yn* i *ym* o flaen *m* er mwyn sain, y dylid newid geiriau ereill yr un modd; megys, um mis, yn lle un mis. 2. Fod *n* yn cymeryd y sain *ng* o flaen *g* ac *c* yn gystal ag o flaen eu ffroenolion; megys, yn gweled, yn cwynfan, llanc; y rhai a seinir yng gweled, yng cwynfan, llangc. Ac os seinir *n* fel *ng* o flaen *g* ac *c*, paham nas gellir hefyd o flaen eu ffroenolion?

11. Pa gydseiniaid sydd yn colli eu sain yn ngobensill tarddoleiriau?—*C*, *p*, *t*, ac *r*.

12. Rhoddwch siampl.—Diangol, pumed, punau, sicrwydd; o dian(g)c, pump, punt, sier.

13. A oes rhyw lythyrenau heblaw y rhai yna yn colli eu sain yn ngobensill tarddoleiriau?—Oes, y mae rhai unseiniaid.

14. Rhoddwch engraifft.—Nesâ, deffrôdd, enwyd; yn lle nesaa, deffroodd, enwwyd.

15. Pa gydseiniaid sydd yn terfynu unsilliaid byrsain?—*C*, *p*, *t*, ac *ng*, *ll*, *m*.

16. Pa rai sydd yn terfynu y rhai amheuus?—*L*, *n*, *r*.*

17. Pa rai sydd yn terfynu'r unsilliaid hirsain?—Yr holl gydseiniaid heblaw y naw a grybwyllwyd.

* Gall fod o help i gofio'r tair llythyren hyn i ni sylwi eu bod yn ffurfio enw priodol, sef *Eleanor*.

# RHAN II.

## [GEIRYDDIAETH.—ETYMOLOGY.

*Y mae* GEIRYDDIAETH *yn cynwys tri pheth* :—1. *Dosbarthiad geiriau; 2. Amrywiad geiriau ; ac,* 3. *Tarddiad geiriau.*

### PENNOD I.

AM Y RHANAU-YMADRODD.—*Of the Parts of Speech.*

Y mae yn y Gymraeg wyth math o eiriau, neu, fel y gelwir hwynt yn gyffredin, ranau-ymadrodd; sef, Enw, Atenw, Rhagenw, Berf, Atferf, Arddoddiad, Cysylltiad, a Chyfryngiad.

I roddi delfryd i'r darllenydd o natur a defnydd y gwahanol ranau ymadrodd, cyn myned i sylwi yn fwy manwl arnynt, gwnawn rai sylwadau arweiniol, yn y wedd a ganlyn. Golygwn bod dynion o'r un cyfansoddiad a ni, ond eu bod eto heb fedru un iaith, wedi eu gosod mewn gwlad anial. Teimlent yn naturiol awydd i adrodd eu delfrydau, eu teimladau, a'u hangenion, y naill i'r llall. Odid y byddai un wedi gweled ci yn lladd ysgyfarnog; y llall wedi gweled ymladdfa erchyll rhwng dau fwystfil, a theimlent yn naturiol awydd i fynegi hyny i'w cymdeithion. Ond cyn y gallent wneyd hyn, byddai raid iddynt roddi enwau ar y gwahanol wrthddrychau a ymgynygent i'w sylw. Byddai pob gair a ffurfid yn y modd hwnw, fel enw ar y gwrthddrychau oylchynol, yn *Enw*, a phe ffurfient gynifer o enwau ar wrthddrychau ag sydd o eiriau yn ein hiaith, ni fyddent ar ol y cwbl ond Enwau.

Eithr gwelent fod eisieu rhywbeth yn rhagor i allu mynegi yr hyn a ganfyddasent. Ni ddangosai yr Enwau ond pa wrthddrychau a feddylid, eithr byddai ar y dynion hyn eisieu dangos beth a *wnaethent* hefyd. Y geiriau a ffurfid i'r dyben hwn a fyddent yn *Ferfau*; megys, 'Gwelodd William gi yn lladd ysgyfarnog.' 'Gwelodd,' Berf, am ei fod yn dangos yr hyn a wnaeth William. 'William,' Enw, am ei fod yn enw gwrthddrych, ac felly 'ci.' 'Yn lladd,'

Berf, am ei fod yn dangos yr hyn a wnaeth y ci. 'Ysgyfarnog,' Enw, am ei fod yn enw gwrthddrych. Byddent erbyn hyn wedi ffurfio y rhanau-ymadrodd mwyaf pwysig, canys y mae Enw (neu ei gynddrychiolydd, sef Rhagenw), a Berf (yn arwyddo bod neu weithrediad), yn hanfodol i *bob* broddeg, ond y rhanau-ymadrodd ereill nid ydynt felly.

Modd bynag, gwelent yn fuan na fyddai y rhai hyn yn ddigon i fynegi pob peth a ewyllysient. Y mae yr holl Enwau (oddieithr Enwau Priodol) yn arwyddo gwrthddrychau o ba rai y mae amrywiol fathau; megys, er siampl, ci, yr hwn a all fod yn gi du, ci gwyn; ci mawr, ci bach; ci ffyrnig, ci tawel; a'r holl Ferfau yn arwyddo gweithrediadau ag y gellir eu cyflawni mewn gwahanol foddau; megys, rhedeg yn gyflym, rhedeg yn araf; a byddai ar y dynion hyn weithiau eisieu dangos pa *fath* wrthddrychau a ganfuasent, a pha *fodd* y gweithredasent. Y geiriau a ffurfid i ddangos *pa fath wrthddrychau* a feddylient, a fyddent yn *Atenwau;* a'r geiriau a ffurfid i ddangos *pa fodd y gweithredent*, a fyddent yn Atferfau. Byddent yn awr, trwy gymhorth y pedair rhanymadrodd yma, sef, Enw a'i wasanaethydd, a Berf a'i wasanaethydd, yn gallu adrodd y pethau mwyaf pwysig i'w gilydd.

Ond byddai arnynt yn aml eisieu dangos *perthynas* gwrthddrychau i'w gilydd, yr hyn ni fyddent eto yn alluog i'w wneyd. Y geiriau a ffurfid i wneyd hyn a fyddent yn *Arddodiaid;* megys, 'Y mae llew mawr yn gorwedd yn esmwyth *yn* yr ogof *o dan* y graig.' 'Llew,' Enw, am ei fod yn enw gwrthddrych. 'Mawr,' Atenw, am ei fod yn dangos *pa fath* lew. 'Y mae yn gorwedd,' Berf, am ei fod yn dangos beth yr oedd yn ei wneyd. 'Yn esmwyth,' Atferf, am ei fod yn dangos *pa fodd* yr oedd y Llew yn gorwedd. 'Yn,' Arddodiad, am ei fod yn dangos perthynas y llew a'r ogof i'w gilydd: nid *dan*, *uwchlaw*, nac *wrth* yr ogof, ond *ynddi*.' 'Ogof,' Enw, am ei fod yn enw gwrthddrych. 'O dan,' Arddodiad, am ei fod yn dangos perthynas yr ogof a'r graig. 'Craig,' Enw, am ei fod yn enw gwrthddrych.

Y *Rhagenwau* a'r *Cysylltiaid*, tybiwn, ydynt y rhanau-ymadrodd a ffurfid olaf; canys ni arferir y Rhagenwau Personol, yn enwedig y trydydd person, ond i ochel adroddiad rhy fynych o'r Enwau, ac felly cafodd yr arferiad ohonynt ei fabwysiadu er mwyn cyfleus-

dod a sain, yn hytrach na'i gymhell oddiar angenrheidrwydd. Am y *Rhagenwau Perthynol*, a'r *Cysylltiaid*, y mae yn amlwg mai hwynt-hwy a ffurfid olaf; canys swydd y rhai hyn, a'r rhai hyn yn unig, yw cysylltu broddegau â'u gilydd; a'r manau lle yr arferir Cysylltiaid amlaf, yw mewn gweithiau athronyddol ac ymresymiadol. O'r holl ranau-ymadrodd Rhagenwau a Chysylltiaid a arferir olaf gan blant, ac a arferir leiaf gan ddynion diddysg, y rhai a arferant froddegau byrion ac annghysylltiol.

Am y *Cyfryngiaid*, nid oes achos gwneyd nemawr o sylw. Y rhai hyn ydynt iaith y teimladau, a pha sŵn bynag a wnawn i arwyddo rhyw deimlad bywiog ynom, y mae hwnw yn briodol yn Gyfryngiad; megys, O! A! O'r holl ranau ymadrodd, y rhai hyn gan hyny a ffurfir gyntaf.

Ar ol ffurfio fel hyn y gwahanol ranau-ymadrodd, er mwyn i'r iaith newydd-ffurfiedig fod yn offeryn mwy defnyddiol fyth i'r meddwl, byddai raid gwneyd lluaws o amrywiadau yn y gwahanol ranau ymadrodd, er mwyn dangos rhif, rhyw, amser, &c.; megys, dyn, dynion; sant, saint; brenin, breninesj; hwn hon; gwelaf, gwelaist, gwelodd, &c. Y mae llawer iawn mwy o amrywiadau mewn geiriau mewn rhai ieithoedd na'u gilydd; ond sut bynag am hyny, y mae lluaws ohonynt yn mhob iaith.

Er mai yr un gwasanaeth a gyflawnir gan bob iaith, sef trosglwyddo delfrydau a theimladau dynion y naill i'r llall, eto gwahaniaethant yn fawr oddiwrth eu gilydd o ran y geiriau a'u cyfansoddant, o ran eu dull o amrywio y geiriau hyn, ac o ran eu trefniad mewn broddeg. Yn awr nid oes gan Ramadeg ddim i'w wneyd â dysgu i ni eiriau iaith; y rhai hyny a gawn mewn Geiriaduron. Mewn Geiriadur nyni a gawn holl ddefnyddiau iaith, ac mewn Gramadeg, nyni a gawn ddosbarthiad y defnyddiau hyn i ychydig restrau, y gwahanol amrywiadau a berthyn iddynt, a'r modd i'w dodi yn nghyd a'u trefnu yn briodol er ffurfio broddeg. Gwelwn oddiwrth hyn cyn y gallwn ddysgu unrhyw estron-iaith neillduol na ddysgir oddiwrth y clyw, fod yn angenrheidiol i ni gael Geiriadur yr iaith hono, i'n cynysgaethu â'r defnyddiau, ac hefyd Ramadeg yr iaith, i'n cynysgaethu â'r *plan* i wneyd adeiladwaith ohonynt.

## ADCHWILIAD I'R BENNOD GYNTAF.

1. Beth yw testyn yr ail ran o Ramadeg?—Geiryddiaeth.

2. Beth y mae Geiryddiaeth yn ei ddysgu?—Pa fodd i ddosbarthu yr holl eiriau sydd yn perthyn i'r iaith; a dangos eu hamrywiad a'u tarddiad.

3. Pa fodd y dosberthir hwynt?—I wyth rhan-ymadrodd.

4. Pa rai ydynt hwy?—Enw, Atenw, Rhagenw, Berf, Atferf, Arddodiad, Cysylltiad, a Cyfryngiad.

---

## PENNOD II.

### Am Enwau.—*Of Nouns.*

Enw yw enw unrhyw wrthddrych sylweddol, neu unrhyw briodoledd a ystyrir fel yn wahanedig oddiwrth sylwedd; megys, Henry, ceffyl, Llundain, bwrdd, diwydrwydd.

I'r dyben i geisio dangos i'r efrydydd natur Enwau yn eglurach, nyni a'u rhanwn yn ddau fath; sef, *Enwau Sylweddol* ac *Enwau Dansoddol.*

Wrth y *blaenaf* y meddylir, enwau sylwedd, megys, dyn, pen, braich, bwrdd, llyfr, coeden, afon, careg, enaid. Y mae yn hawdd gwahaniaethu Enwau Sylweddol oddiwrth bob rhan-ymadrodd arall, canys nid oes un ohonynt yn arwyddo sylwedd ond Enwau.—Y mae Enwau Sylweddol eto yn rhanadwy i ddau fath; sef *Enwau Priodol* ac *Enwau Cyffredinol.* Enw Priodol a noda allan berson, lle, afon, &c., neillduol; megys, John, Llundain, Hafren, &c. Enw Cyffredinol a arwydda unrhyw un perthynol i ryw neu restr penodol; megys, dyn, anifail, bwrdd.

Wrth yr *olaf* y meddylir, enw priodoleddau neu berthynasau, yn cael eu hystyried fel yn wahanedig oddiwrth eu gwrthddrych; megys, rhinwedd, gwendid, cyfiawnder, daioni, llywodraeth. Y mae yn rhaid i'r rhai hyn ymddibynu ar sylwedd am eu bodolaeth; ond gan yr ystyrir hwynt ar wahan oddiwrth eu gwrthddrych, fel yn bodoli wrthynt eu hunain, gelwir hwynt yn Enwau Dansoddol (*abstract*). Nid yw y rhai hyn mor hawdd i'r efrydydd ieuanc i'w gwahaniaethu oddiwrth ranau-ymadrodd ereill, a'r Enwau

Sylweddol, am fod Atenwau a Berfau hefyd yn arwyddo priodoleddau. Er engraifft, y mae yr Enw *gwendid* a'r Atenw *gwan* yn gyffelyb o ran ystyr; a'r un modd y mae yr Enw *cyflymder* a'r Ferf *yn cyflymu*; eithr y gwahaniaeth yw, fod yr *Atenw* a'r *Ferf* yn cyfeirio at y gwrthddrych ag y mae y priodoledd yn perthyn iddo, a'r Enw yn ystyried y priodoledd ar ei ben ei hun. Ni fyddai yn briodol arfer *gwan*, heb nodi y gwrthddrych a fyddai felly; ac ni fyddai yn briodol arfer *yn cyflymu*, heb nodi y gwrthddrych a fyddai yn cyflymu: ond gellid son am *wendid* a *chyflymder*, heb son dim am y gwrthddrych ag y perthynai y priodoleddau hyn iddo.

Ffurfir Enwau Dansoddawl, yn fynych, trwy roddi y terfyniadau *deb, der, did, dra, i, ni, rwydd, wch, &c.*, ar ol Atenwau; megys, cywirdeb, gwendid, byrdra, gwrthuni, tegwch.

## Amrywir Enwau i ddangos Rhif a Chenedl.

---

### ADCHWILIAD I'R AIL BENNOD.

1. Beth yw Enw?—Enw unrhyw sylwedd, neu unrhyw beth a ystyrir fel yn bodoli wrtho ei hun.

2. Pa sawl math o Enwau sydd?—Dau.

3. Pa rai ydynt hwy?—Enwau Sylweddol a Dansoddol.

4. Beth yw Enw Sylweddol?—Enw unrhyw sylwedd.

5. Beth yw sylwedd?—Sylwedd yw unrhyw beth ag y gellir i deimlo, neu sydd yn bodoli wrtho ei hun, heb ymddibynu ar ddim arall.

6. Pa ran-ymadrodd yw careg, pren, canwyll, tân, llyfr, tŷ, gwynt, gwlaw, cath, ceffyl, dyn, enaid?—Enwau Sylweddol.

7. Pa fodd y gwyddoch?—Am eu bod yn enwau sylwedd.

8. Beth yw Enw Priodol?—Enw yn arwyddo un peth neillduol.

9. Rhoddwch engreifftiau.—William, Caergybi, Menai, America.

10. Beth yw enw Cyffredinol?—Enw unrhyw un perthynol i ryw neu restr penodol.

11. Rhoddwch engreifftiau.—Ci, anifail, careg, sydd Enwau Cyffredinol, am y gall ci sefyll am wahanol fathau o gŵn; anifail, am wahanol fathau o anifeiliaid: megys, ceffyl, buwch, ci, dafad, &c.; a chareg, am wahanol fathau o geryg.

12. Beth yw Enwau Dansoddol?—Enwau pethau sydd yn ymddibynu ar sylwedd am eu bodolaeth, ond a ystyrir ar wahan oddiwrth eu gwrthddrych, fel pe byddent yn bodoli wrthynt eu hunain.

13. Rhoddwch siamplau.—Gwendid, cryfder, ynfydrwydd, rhinwedd, duwioldeb, pechadurusrwydd, cyfiawnder. Yn awr y mae yn amlwg fod y pethau hyn oll yn dibynu ar sylwedd am eu bodolaeth, er yr ystyrir hwynt yma wrthynt eu hunain.

---

## PENNOD III.

### Am Rif Enwau.—*Of the Number of Nouns.*

Y mae gan Enwau *ddau* rif.—yr *Unigol* a'r *Lluosog*. Yr unigol a ddynoda *un;* megys, dyn, march, &c.; y lluosog, *fwy* nag un; megys dynion, meirch.

Troir enw Unigol i'r Lluosog mewn tair ffordd.—I. Trwy chwanegu sill; megys, dyn, dynion. II. Trwy gyfnewid unseiniad neu ddeuseiniaid; megys, ff*o*n, ff*y*n; cr*oe*n, cr*wy*n. III. Trwy gyfnewid unseiniad a chwanegu sill; m*a*b, m*ei*bion.

Y sillau a chwanegir at yr unigol i ffurfio y lluosog ydynt y rhai canlynol:—

| Terfyniadau. | | Unigol. | Lluosog. |
|---|---|---|---|
| Aint* | megys, | Car | Ceraint |
| Au | ——— | Pen | Penau |
| Ed* | ——— | Merch | Merched |
| Edd* | ——— | Gwraig | Gwragedd |
| En* | ——— | Ych | Ychen |
| I* | ——— | Gardd | Gerddi |
| Iaid | ——— | Crwydr | Crwydriaid |
| Iau | ——— | Pren | Preniau |
| Ion | ——— | Dyn | Dynion |
| Od | ——— | Eryr | Eryrod |
| Oedd | ——— | Mor | Moroedd |
| On | ——— | Llw | Llwon |
| Ydd* | ——— | Afon | Afonydd |
| Yr* | ——— | Brawd | Brodyr |

Er nas gellir ffurfio rheolau i ddangos pa bryd i ddefnyddio y gwahanol derfyniadau hyn yn mhob achos,

* Arferir y sillau sydd wedi eu nodi â seren weithiau fel terfyniadau enwau unigol; megys, hen-aint, coll-ed, chwerw-edd, gwenyn-en, caled-i, cloch-ydd. Y rhai hyny na nodwyd â seren a ddefnyddir fynychaf i ffurfio y rhif lluosog.

eto nid arferir hwynt yn hollol ddireol, fel y gwelir oddiwrth y sylwadau canlynol.

1. O holl derfyniadau y rhif luosog, *au* neu *iau* a ddefnyddir fynychaf. Fe'i defnyddir i luosogi enwau sylweddol a dansoddol; megys, caeau, cyfiawnderau. Ond anfynych yr arferir ef i luosogi enwau gwrthddrychau byw.

2. Enwau yn dynodi eangder, meithder, lluosogrwydd, nerth, ac urddas, a luosogir yn gyffredin gan *oedd*; megys, nefoedd, bydoedd, cyfandiroedd, ynysoedd, moroedd, dyfroedd, mynyddoedd, dyffrynoedd, dyfnderoedd; bythoedd, oesoedd, amseroedd, blynyddoedd, misoedd; miloedd, canoedd, pobloedd, cenedloedd, tyrfaoedd, byddinoedd, lluoedd, mynteioedd, gwersylloedd; rhyfeloedd, gwyntoedd, tymestloedd, nerthoedd; breninoedd, llysoedd.

3. Enwau bodau rhesymol a luosogir yn gyffredin gan *wyr*, *iaid*, ac *on* neu *ion*;* megys, penaethiaid, athrawon, trigolion, seraffiaid, cerubiaid, angylion, diafliaid, ysbrydion.

4. Bodau direswm a luosogir yn gyffredin gan *od*; megys, bwystfilod, llewod, cawrfilod, camelod, mulod, epaod, llwynogod, ysgyfarnogod, cwningod, llygod, hyrddod, bychod, buwchod, iyrchod, cathod, eryrod, colomenod, alarchod, ceiliogod, chwilod, geleod, malwod, pysgod.

5. Defnyddir *ydd* i luosogi enwau gwahanol wrthddrychau gwladol a threfol ar ol sill yn cynwys *o*, *e*, neu *wy*; megys, broydd, afonydd, pontydd, corsydd, ffosydd, rhosydd, llofftydd, heolydd, coedydd, moelydd, maesydd, gwledydd, gelltydd, nentydd, helmydd, porfeydd, trefydd, tomenydd, mynwentydd, parwydydd, magwyrydd, aelwydydd, bwydydd, eglwysydd.

6. Defnyddir *i* yn fynych i luosogi enwau ar ol sill yn cynwys *e* neu *wy*; megys, gwersi, perthi, meni, certi, castelli, cewri, capeli, rhenti, ffenestri, llestri, rhesi, priddelli, cerddi, gerddi, perlleni, llatheni, padelli, chwareli, peleni, basgedi, talceni, tun-

* Pan fyddo yr enw unigol yn terfynu yn *wr*, ffurfir y lluosog trwy droi *wr* yn *wyr*; megys, haneswr, hanes*wyr*; pan yn terfynu yn *iad*, troir *iad* yn *iaid* yn y lluosog. Ond defnyddir *iaid* yn fynych i ffurfio'r lluosog heb fod *iad* yn yr unigol; megys, cadben, cadbeniaid. Pan fyddo'r enw unigol yn terfynu yn *ydd*, ffurfir y lluosog trwy chwanegu *ion*; megys, hanesydd, hanesyddion,

ellі, meini, seiri, llwyni, eglwysi, pwysi, ffrwyni, rhwydi, gwythi, swyddi, arteithglwydi.

7. *Edd* a ddefnyddir i luosogi bys, ewin, dant, a gwraig; *yr* i luosogi brawd a gwaew; ac *en* i luosogi ych, fel y gair *ox* yn Seisneg; fel hyn, bysedd, ewinedd, danedd, gwragedd; brodyr, gwewyr; ychen.

II. Trwy gyfnewid yr unseiniaid neu y deuseiniaid; megys, ff*o*n, ff*y*n; *a*ng*e*l, *e*ng*y*l; cr*oe*n, cr*wy*n.

Dangoswyd treigliadau yr unseiniaid a'r deuseiniaid tudal. 21. Ond gall fod yn briodol crybwyll, pan fo gair dwysill yn cael ei luosogi heb chwanegu sill, fod *a* yn gyffredin yn y sill flaenaf, yr hon sydd yn newid i *e*, ac *e*, *a*, neu *w*, yn y sill olaf, y rhai a dreiglant i *y* ac *ai* yn y lluosog; fel hyn, c*a*st*e*ll, c*e*st*y*ll; d*a*f*a*d, d*e*f*ai*d; *a*l*a*rch, *e*l*y*rch; *a*sg*w*rn, *e*sg*y*rn.

Mae rhai unigolion yn troi i'r lluosog yn ddireol; megys, c*i*, c*w*n; g*ŵ*r, g*wŷ*r; tr*oe*d, tr*ae*d, t*ŷ*, t*ai*.

III. Trwy gyfnewid yr unseiniaid a chwanegu sill; megys, mab, meibion; awr, oriau; gwddf, gyddfau.

Mae rhai enwau ag sydd yn caniatau terfyniadau lluosog gwahanol; megys, trefi, trefydd; eglwysi, eglwysydd; amserau, amseroedd; blynyddau, blynyddoedd.

Weithiau ffurfir y rhai *unigol* o'r *lluosog* trwy chwanegu *en* neu *yn* at yr olaf, ac weithiau hefyd newid yr unseiniaid neu ddeuseiniaid; megys, llygod, llygoden; ser, seren; ad*a*r, ad*e*ryn; c*aw*s, c*o*syn! pl*a*nt, pl*e*ntyn; plu, pluen; derw, derwen.

Mae lluaws o Enwau Sylweddol a Dansoddol nad arferir ond yn unig yn y rhif unigol; megys, 1. *Sylweddol,*—Aur, arian, pres, efydd, pridd—bara, ymenyn, mel, llaeth. 2. *Dansoddol,*—llenaint, ffyrnigrwydd, mwyneidd-dra, caledi, tristwch, llawenydd, newyn, syched, &c.

Rhai Enwau eto nid arferir ond yn unig yn y rhif lluosog; megys, ymysgaroedd, genau.

Y gair genau, yn fynych, a ail luosogir yn geneuau.

Y mae rhai Enwau a elwir *Enwau Cynulledig*, trwy eu bod, er yn y rhif unigol, yn arwyddo lluaws; megys, llu, pobl, torf neu dyrfa, cenedl. Goddefant eu lluosogi, fel y canlyn: lluoedd, pobloedd, torfoedd neu dyrfeydd, cenedloedd.

Arferir rhai terfyniadau i fychanu y gwrthddrych a arwyddir. Y rhai a arferir ar ol Enwau unigol ydynt, *an*, *en*, *yn*, *ig*, *og*; megys, dynan, tanen, dernyn, oenig, pwtog. Y rhai a arferir ar ol Enwau lluosog ydynt, *ach*, *os*; megys, dynionach, plantos.

---

## ADCHWILIAD I'R DRYDEDD BENNOD.

1. Pa sawl rhif sydd yn perthyn i Enwau?—Dau.

2. Pa rai ydynt hwy?—Yr unigol a'r lluosog.

3. Beth y mae y rhif unigol yn ei ddynodi?—Y mae yn dynodi *un* peth.

4. Rhoddwch siamplau.—Pren, llyfr, mynydd.

5. Beth y mae y rhif lluosog yn ei ddynodi?—Y mae yn dynodi mwy nag un.

6. Rhoddwch siamplau.—Preniau, llyfrau, mynyddoedd.

7. Pa sawl ffordd sydd o luosogi Enwau?—Tair.

8. Pa rai ydynt hwy?—1. Trwy chwanegu sill at y rhif unigol. 2. Trwy gyfnewid yr unseiniad neu ddeuseiniad. 3. Trwy gyfnewid yr unseiniaid a chwanegu sill.

Gofyned yr athraw am siamplau. Gellir nodi yn y fan yma, mai y ffordd oreu yw newid *e* bob amser i *y*, ac nid i *i*; megys, careg, ceryg; llawes, llewys; maneg, menyg.

9. A oes rhai o'r unseiniaid yn cyfnewid yn ddireol?—Oes.

Gofyned yr athraw am rai engreifftiau.

10. A ffurfir y rhif unigol o'r lluosog weithiau?—Gwneir.

11. Pa fodd?—Trwy chwanegu *yn* neu *en* at y rhif lluosog, ac weithiau newid unseiniad neu ddeuseiniad gyda hyny.

12. Rhoddwch siamplau.—Mawn, mawnen; blodau, blodeuyn,

13. A oes rhai Enwau na arferir ond yn y rhif unigol?—Oes.

14. Rhoddwch siamplau.—Bara, ymenyn, tristwch, newyn.

15. A oes rhai na arferir ond yn y rhif lluosog?—Oes.

16. Rhoddwch siamplau.—Ymysgaroedd, genau.

17. Beth yw Enw Cynulledig?—Enw yn y rhif unigol yn arwyddo lluaws.

18. Rhoddwch siamplau.—Cenedl, torf, pobl, myntai.

## PENNOD IV.

### Am Genedl Enwau.—*Of the Gender of Nouns.*

Cenedl sydd yn nodi gwahaniaeth rhyw; ond yn y Gymraeg, y mae enw pob gwrthddrych difywyd, a phob Enw Dansoddol, i'w ystyried o'r Genedl Wrywol neu Fenywol.

Gwahaniaethir rhyw y gwahanol wrthddyehau byw mewn tair ffordd:

I. Trwy eiriau gwahanol.

| Gwryw. | Benyw. | Gwryw. | Benyw. |
|---|---|---|---|
| Adiad | Hwyaden | Daw | Gwaudd |
| Bachgen | Geneth | Ewythr | Modryb |
| Baedd | Hwch | Gwas | Morwyn |
| Brawd | Chwaer | Gŵr | Gwraig |
| Bustach, eidion neu ŷch | Aner | Hespwrn | Hespin |
| | | Hwrdd | Dafad |
| Carw, hydd | Ewig | Mab | Merch |
| Cefnder | Cyfnither | Nai | Nith |
| Ceffyl | Caseg | Tad | Mam |
| Ceiliog | Iar | Taid | Nain |
| Ci | Gast | Tarw | Buwch |
| Chwegrwn | Chwegr | | |

Gwahaniaethir cyfansoddion y rhai uchod yn yr un ffordd; megys, godinebwr, godinebwraig; gwasanaethwr, gwasanaethwraig; priodfab, priodferch.

II. Trwy chwanegu y terfyniad *es* at y genedl wrywol, neu trwy newid *yn* yn *en.*

| Gwryw. | Benyw. | Gwryw. | Benyw. |
|---|---|---|---|
| Iuddew | Iuddewes | Arglwydd | Arglwyddes |
| Iwrch | Iyrches | Awdur | Awdures |
| Llanc | Llances | Brenin | Brenines |
| Llew | Llewes | Cantor | Cantores |
| Meistr | Meistres | Dyn | Dynes |
| Mynach | Mynaches | Ebol | Eboles |
| Pendefig | Pendefiges | Etifedd | Etifeddes |
| Proffwyd | Proffwydes | Asyn | Asen |
| Prydydd | Prydyddes | Hogyn | Hogen |
| Tywysog | Tywysoges | Coegyn | Coegen |
| Amherawdwr | Amherodres | Crwtyn | Croten |

III. Trwy chwanegu y geiriau gwryw neu fenyw ar ol y gwrthddrych; megys, cath wryw, cath fenyw; neu trwy arferyd ceiliog neu fwch o flaen y gwryw; megys ceiliogwydd; bwch gafr.

Y mae rhai geiriau yn arwyddo wryw neu fenyw; megys, rhïant, plentyn, baban; ond y maent i dderbyn priodoleddau y rhyw gwrywaidd, hyd yn nod pan yn arwyddo y rhywogaeth fenywaidd. Pan yn son am ferch fechan, er siampl, ni oddefai yr iaith i ni ddywedyd y *b*lentyn hon.

Nid oes un rheol i ddangos pa fodd i adnabod cenedl geiriau unsill yn arwyddo pethau difywyd; rhaid ymddibynu yn gwbl ar gof ac arferiad. Ond gellir sylwi yma mai ychydig iawn o unsilliaid yn cynwys un o'r unseiniaid cauedig a geir yn y genedl wrywol; ac er bod y nifer luosocaf o'r unsilleiriau yn cynwys un o'r unseiniaid agored yn y genedl wrywol, eto mae llawer mwy o gyfartalwch rhwng y gwrywol a'r benywol a ffurfir âg un o'r unseiniaid hyn, nag sydd rhwng y rhai hyny a ffurfir âg un o'r unseiniaid cauedig. Mewn geiriau ereill, mae llawer mwy o unsilleiriau yn cynwys *y*, *w*, *i*, neu *u*, yn y genedl wrywol nag sydd o unsilleiriau yn cynwys *a*, *e*, neu *o*; ond, o'r tu arall, mae llawer mwy o unsilleiriau yn cynwys *a*, *e*, neu *o*, yn y genedl fenywol nag sydd o unsilleiriau yn cynwys *y*, *w*, *i*, neu *u*.

Wrth ddywedyd bod cenedl yn perthyn i bethau difywyd y meddylir, bod eu henwau yn cael yr un dylanwad mewn broddeg ag eiddo gwrthddrychau bywydol. Mae yn hysbys i bawb fod *hwn* ac *ef* yn cyfeirio at wryw, a *hon* ac *hi* at fenyw; ac yn Gymraeg rhaid i enw pob peth difywyd gael ei gynddrychioli gan un o'r rhai hyn. Pan y gofyna ei gynddrychioli gan *hwn* neu *ef*, dywedir fod yr enw yn y genedl wrywol; pan y gofyna ei gynddrychioli gan *hon* neu *hi*, dywedir ei fod yn y genedl fenywol. Drachefn, mae enw benyw a fyddo yn dechreu âg un o'r cydseiniaid cyfnewidiol yn newid i'r sain leisiol ar ol *y* neu *yr*;* yr hyn na wneir gan enw gwryw; megys, y *d*yn, y *dd*ynes. Felly hefyd y mae enw peth difywyd a ystyrir yn y genedl fenywol; megys, y *b*ont hon; ac y mae yr amgylchiad yma yn fynych yn help i Gymro adnabod cenedl enwau pethau difywyd.

* Y Cydseiniaid Ll ac Rh a ffurfiant eithriadau i hyn, trwy eu bod yn parhau yn ddigyfnewid; megys, y llances hon, y rhan hon.

Mae arferiad wedi dysgu i bob Cymro fod y *pont* ac y *dy*, er engraifft, yn annghywir. Gan hyny, gŵyr fod y blaenaf yn fenywol, a'r olaf yn wrywol. Pan fyddo gair yn dechreu âg *ll*, *rh*, *h*, un o'r cydseiniaid annghyfnewidiol, neu unseiniad, nid yw mor hawdd adnabod ei genedl. Yn y cyfryw achos rhaid ymddibynu yn gwbl ar y cof i wybod pa un ai rhagenw gwrywol ai benywol sydd i gael ei ddefnyddio fel cynddrychiolydd, pan fyddo ei wasanaeth yn ofynol.

Gellir adnabod cenedl geiriau *tarddedig* oddiwrth eu terfyniadau. Y rhai canlynol a ddynodant yn gyffredin y *genedl wrywol:*

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| ach | megys, | cyfeddach | dra | megys, | ffieidd-dra |
| ad | —— | troad | edd | —— | amynedd |
| adur | —— | pechadur | i | —— | caledi |
| ai | —— | mynegai | iad | —— | cariad |
| aint | —— | henaint | iadur | —— | cofiadur |
| aeth | —— | penaeth | iant | —— | llwyddiant |
| an | —— | mudan | ineb | —— | ffolineb |
| ant | —— | maddeuant | ni | —— | noethni |
| awd | —— | traethawd | or | —— | carcharor |
| awg, o | —— | tywysog | rwydd | —— | ynfydrwydd |
| awr | —— | doethawr | wch | —— | tegwch |
| dawd, dod | —— | nychdod | wr | —— | bradwr |
| deb | —— | undeb | yd | —— | bywyd |
| der | —— | cyfiawnder | ydd | —— | darllenydd |
| did, tid | —— | gwendid | yn | —— | dernyn |

Y terfyniadau canlynol a ddynodant yn gyffredin y *genedl fenywol:*—

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| aeg | megys, | Cymraeg | es | megys, | llynges |
| as | —— | priodas | fa | —— | athrofa |
| ed | —— | colled | iaeth | —— | tybiaeth |
| ell | —— | cyllell | ig | —— | oenig |
| en | —— | pelen | eg | —— | rheitheg |

Arferir rhai o'r terfyniadau blaenorol yn wrywol a benywol; megys, y penaeth hwn, y dalaeth hon; troad hwn, yr adeilad hon; y cyfeddach hwn, y gyfeillach hon; y gwahaniaeth hwn, yr iachawdwriaeth hon.

---

## ADCHWILIAD I'R BEDWAREDD BENNOD.

1. Beth yw defnydd Cenedl?—Dangos gwahaniaeth rhyw.
2. Pa sawl cenedl sydd?—Dwy.

3. Pa rai ydynt hwy?—Y genedl wrywol a benywol.

4. Pa Enwau sydd yn perthyn i'r genedl wrywol?—Enwau y gwrywod o bob rhywogaeth; ac hefyd enwau pethau difywyd, ac Enwau Dansoddol, os byddant yn gofyn yr un cystrawiaeth ag enwau gwrywod o'r gwahanol rywogaethau.

Gofyned yr athraw am eglurhad.

5. Pa sawl ffordd y gwahaniaethir rhyw y gwahanol rywogaethau?—Tair ffordd.

6. Nodwch hwynt.—1. Trwy eiriau gwahanol. 2. Trwy chwanegu *es*, a newid *yn* yn *en*. 3. Trwy chwanegu y geiriau *gwryw* neu *fenyw*, neu trwy arferyd *ceiliog* neu *fwch* o flaen yr enw pan feddylir y gwryw.

Gofyned yr athraw am siamplau.

7. Pa fodd y mae gwybod o ba genedl y mae gwreiddioleiriau, yn arwyddo pethau difywyd?—Nid oes un rheol.

8. Pa fodd y mae cael allan genedl tarddoleiriau?—Oddiwrth eu terfyniadau.

## PENNOD V.

### AM ATENWAU.—*Of Adjectives.*

ATENW sydd air a chwanegir at Enw i ddangos ei briodoledd, ei rif, neu unrhyw amgylchiad arall; megys, dyn *dysgedig*, swn *mawr*, *yr* afon *hon*, *chwe* diwrnod.

Y mae Atenwau o angenrheidrwydd yn cyfyngu ystyr Enwau. Gellir cymhwyso y gair dyn at bob *math* o ddynion; ond y mae *dyn du* yn fwy cyfyng yn ei gymhwysiad. Y mae *y* ac *yr*, a elwir *bannodau*, ac amryw eiriau a restrir gyda'r Rhagenwau, megys hwn, yna, acw, &c., yn cyfyngu ystyr Enwau, a thrwy hyny rhestrwyd hwynt gyda'r Atenwau.

Y mae pedwar math o Atenwau; sef, Cyffredin, Rhifol, Dangosol, ac Anmhenodol.

Gellir dosbarthu yr Atenwau Cyffredin, fel y gwnaed â'r Enwau, i dri math; sef, Gwreiddiol, Cyfansawdd, a Tharddiadol; megys, gwan, cryf; seinber, clodwiw; peraidd, gwaedlyd.

Amrywir Atenwau, weithiau, gan Rif, Cenedl, a Graddiad.

## ADCHWILIAD I'R BUMED BENNOD.

1. Beth yw Atenw?—Gair a chwanegir at Enw, i ddangos ei briodoledd, ei rif, ei faint, neu unrhyw amgylchiad arall.

2. Pa sawl math o Atenwau sydd yn bod?—Pedwar.

3. Pa rai ydynt hwy?—Cyffredin, Rhifol, Dangosol, ac Anmhenodol.

4. A amrywir Atenwau?—Gwneir.

5. I ba ddyben?—I ddynodi rhif, rhyw, a graddau cymharol.

## PENNOD VI.

AM RIF A CHENEDL ATENWAU.—*Of the Number and Gender of Adjectives.*

MAE rhai Atenwau gwreiddiol yn troi i'r lluosog pan fyddo eu Henwau yn lluosog; megys, tai gwynion.

Ffurfir y lluosog mewn tair ffordd:—1. Trwy chwanegu *on* neu *ion* at y gwrywol unigol; megys, du, duon; gwyn, gwynion.* 2. Trwy chwanegu *on* neu *ion*, a newid yr unseiniaid neu ddeuseiniaid; megys, d*a*ll, d*ei*llion; m*ai*n, m*ei*nion. 3. Trwy newid yr unseiniaid yn unig; megys, c*a*d*a*rn, c*e*d*y*rn; llyd*a*n, llyd*ai*n.

Geiriau unsill a ffurfiant eu lluosogrif yn ol y ddwy ffordd flaenaf, a geiriau amrysill yn ol y ffordd olaf.

*Eithriadau.*—Heirdd, newyddion, teneuon, melysion.

Mae newidiad yr unseiniaid wrth ffurfio lluosogrif Atenwau, yr un fath ag wrth ffurfio lluosogrif Enwau; megys, cal*e*d, cel*y*d; bych*a*n, bych*ai*n; ieu*a*nc, ieu*ai*nc; bu*a*n, bu*ai*n; amddif*a*d, amddif*ai*d; tl*aw*d, tl*o*dion; tr*w*m, tr*y*mion; m*ai*n, m*ei*nion; gw*a*g, gw*ei*gion.

Atenwau cyfansawdd a threigliadol ni throir i'r lluosog. Chwanegu *ion* ar ol Atenwau treigliadol a'u gwna yn Enwau; megys, boneddig, boneddigion; dysgedig, dysgedigion: duwiol, duwiolion; anfarwol, anfarwolion.

Ceir *nefolion* fel Atenw yn y Beibl; megys, nefolion leoedd.

### CENEDL ATENWAU.

Mae rhai Atenwau yn meddu cenedl wrywol a benywol yn y rhif unigol.

* Defnyddir *on* ar ol unseiniad, ac *ion* ar ol cydsain.

Y mae gan Atenwau ddwy ffordd o ddangos cenedl:—1. Trwy gyfnewidiad eu blaenlythyrenau, a thrwy dreigliad unseiniaid; megys, dyn trwm, cryf; dynes *d*rom, *g*ref.

Yr unseiniaid treigledig ydynt *w* ac *y*, y rhai sydd yn newid i'w seiniau agored *o* ac *e*.

Yr Atenwau yn mha rai y cymer y treigliadau unseiniol le sydd yn gyffredin eiriau unsill, a pherthyna iddynt hefyd rif lluosog.

A ganlyn sydd engreifftiau o Atenwau yn newid o *w* i *o*:

| | Unig. | Lluos. | | Unig. | Lluos. |
|---|---|---|---|---|---|
| *Gwryw.* | Brwnt | Bryntion | *Gwryw.* | Llwm | Llymion |
| *Benyw.* | Bront | | *Benyw.* | Llom | |
| *Gwryw.* | Crwn | Crynion | *Gwryw.* | Tlws | Tlysion |
| *Benyw.* | Cron | | *Benyw.* | Tlos | |
| *Gwryw.* | Dwl | Dylion | *Gwryw.* | Trwm | Trymion |
| *Benyw.* | Dol | | *Benyw.* | Trom | |

A ganlyn sydd engreifftiau o Atenwau yn newid o *y* i *e*:

| | Unig. | Lluos. | | Unig. | Lluos. |
|---|---|---|---|---|---|
| *Gwr.* | Byr | Byrion | *Gwr.* | Gwyrdd | Gwyrddion |
| *Ben.* | Ber | | *Ben.* | Gwerdd | |
| *Gwr.* | Chwyrn | Chwyrnion | *Gwr.* | Hyll | Hyllion |
| *Ben.* | Chwern | | *Ben.* | Hell | |
| *Gwr.* | Gwych | Gwychion | *Gwr.* | Llyfn | Llyfnio |
| *Ben.* | Gwech | | *Ben.* | Llefn | |
| *Gwr.* | Gwlyb | Gwlybion | *Gwr.* | Llym | Llymion |
| *Ben.* | Gwleb | | *Ben.* | Llem | |
| *Gwr.* | Gwyn | Gwynion | *Gwr.* | Tyn | Tynion |
| *Ben.* | Gwen | | *Ben.* | Ten | |
| *Gwr.* | Sych | Sychion | *Gwr.* | Melyn | Melynion |
| *Ben.* | Sech | | *Ben.* | Melen | |
| *Gwr.* | Bychan | Bychain | *Gwr.* | Tywyll | Tywyllion |
| *Ben.* | Bechan | | *Ben.* | Tywell | |

Pan chwanegir un o derfyniadau y graddau cymharol ar ol un o'r Atenwau benywol hyn, mae yr *o* a'r *e* yn troi i *y*, fel y gwnant o flaen y terfyniad lluosog *ion*; megys, buwch drom, y fuwch dr*y*maf.

Mae'r bannod yn cael yr un effaith ar flaenlythyren *Atenw* pan yn blaenori ei Enw benywol ag y mae yn ei gael ar flaenlythyren *Enw* benywol; fel hyn, y *l*ân eglwys; y *f*wyngu fûn. Mae blaenlythyren Atenw yn newid yr un modd pan fyddo yn dylyn ei Enw benywol; fel hyn, yr eglwys *l*ân; y fûn *f*wyngu; careg *d*rom. Pan fyddo yr Enw benywol yn y rhif lluosog, nid oes un cyfnewidiad cydseiniol yn cymeryd lle yn nechreu yr Atenw; megys, ceryg *t*rymion.

---

## ADCHWILIAD I'R CHWECHED BENNOD.

1. Pa sawl ffordd sydd o luosogi Atenwau?—Tair.

2. Pa rai ydynt hwy?—1. Trwy chwanegu *on* neu *ion* at y gwrywol unigol. 2. Trwy chwanegu *on* neu *ion*, a newid yr unseiniaid neu ddeuseiniaid. 3. Trwy newid yr unseiniaid yn unig.

3. A ellir lluosogi pob Atenw unsill?—Nac ellir.

4. Rhoddwch siamplau.—Nis gellir lluosogi da, drwg, call.

5. A oes cenedl yn perthyn i Atenwau?—Oes, i rai.

6. A oes cenedl yn perthyn i Atenwau yn y rhif lluosog?—Nac oes, ddim ond yn yr unigol.

7. Ai chwanegu *on* neu *ion* at y gwrywol unigol a raid pan gyfeirir at y rhywogaeth fenywol?—Ie.

8. Rhoddwch siampl.—Am un gaseg, dywedem caseg *wen*, ond am fwy nag un, dywedem, cesyg *gwyn*ion.

9. Pa fodd y mae Atenwau yn dynodi cenedl?—Trwy newid y flaenlythyren, neu trwy newid unseiniad.

10. Rhoddwch siampl.—Am ddyn, dywedem, dyn mawr—am ddynes, dynes *f*awr; drachefn, am ddyn, dyn cr*y*f—am ddynes, dynes gref.

11. Pa unseiniaid sydd yn newid?—*W* ac *y*, y rhai a droant i *o* ac *e*.

## PENNOD VII.

### Am y Graddau Cymharol.—*Of the Degrees of Comparison.*

Mae pedwar o raddau yn perthyn i Atenwau; yr *isradd*, y *cydradd*, yr *uchradd*, yr *uchafradd*.

1. Yr *isradd*.—Wrth hwn y meddylir, Atenw heb un terfyniad i ddynodi cymhariad gradd; megys, byr, cryf.

Pan yn defnyddio yr isradd yr ydym yn gwneyd cymhariad, er nad yw hyny yn cael ei arwyddo gan y gair; megys, ci mawr, ceffyl bach. Yn awr dywedem am y ci mwyaf a welsom erioed ei fod yn gi mawr; ond pe gwelem geffyl o'r un faint, dywedem ei fod yn geffyl bach, yr hyn sydd yn dangos ein bod yn galw peth yn fach neu yn fawr mewn cymhariaeth â phethau ereill.

2. Y *cydradd*.—Ffurfir y cydradd trwy chwanegu *ed* at yr isradd, a dynoda gyfartaledd. Gofyna yn gyffredin *cyn* o'i flaen; megys, cyn fyred, cyn gryfed.

Heb *cyn* dynoda radd anmhenodol; megys,

"Hardded wyt ti'r lili lân!"

3. Yr *uchradd*.—Mae hwn yn dynodi gradd mwy o'r priodoledd a adroddir gan yr isradd, ac fe'i ffurfir trwy chwanegu *ach* at yr isradd; megys, byrach, cryfach.

Yn y gradd hwn ystyrir y personau neu'r pethau a gymharir fel yn perthyn i ddau restr gwahanol; megys, "Yr oedd Socrates yn ddoethach na neb o'r Atheniaid."

4. Yr *uchafradd*.—Dynoda hwn y gradd mwyaf o'r priodoledd a fynegir gan yr isradd, ac fe'i ffurfir trwy olddodi *af* wrth yr isradd; megys, byraf, cryfaf.

Yn y gradd hwn ystyrir y personau neu'r pethau a gymharir fel yn perthyn i'r *un* rhestr; gan hyny nis gallwn ddywedyd, "Thomas yw y doethaf o'i frodyr," canys nid yw Thomas yn un o'i frodyr. Byddai raid defnyddio yr uchradd, a dywedyd, "Y mae Thomas yn ddoethach na'i frodyr;" neu y Gysefin; megys, "Y mae Thomas yn ddoeth tu hwnt i neb o'i frodyr." Nis gellir defnyddio yr uchafradd heb arferyd rhyw air a gynwys Thomas a'i frodyr; megys, "Thomas yw y doethaf o'r meibion."

Pan y mae y tri gradd olaf yn cael ei ffurfio o'r isradd, trwy chwanegu *ed*, *ach*, *af*, fe'u gelwir yn rhai rheolaidd; fel y canlyn:—

| Isradd. | Cydradd. | Uchradd. | Uchafradd. |
|---|---|---|---|
| Anwyl | Anwyled | Anwylach | Anwylaf |
| Byr | Byred | Byrach | Byraf |
| Caled | Caleted | Caletach | Caletaf † |

Y mae rhai nad ydynt yn treiglo fel hyn, ac o ganlyniad fe'u gelwir yn rhai afreolaidd; megys,

| Isradd. | Cydradd. | Uchradd. | Uchafradd. |
|---|---|---|---|
| Da | Daed, cystal | Gwell | Goreu |
| Hir | Hired, cyhyd | Hwy | Hwyaf* |
| Ieuanc | Ieuanged | Iau, ieuangach | Ieuangaf* |
| Llawer | Cynifer | Mwy | Mwyaf |
| Mawr | Cymaint | Mwy | Mwyaf |

Y mae rhai Atenwau yn ffurfio eu cydradd a'u huchafradd o'u huchradd; megys,

| Isradd. | Uchradd. | Cydradd. | Uchafradd. |
|---|---|---|---|
| Agos | Nes | Nesed | Nesaf |
| Bach, ychydig | Llai | Lleied | Lleiaf |
| Buan | Cynt | Cynted | Cyntaf |
| Drwg | Gwaeth | Gwaethed | Gwaethaf |
| Hawdd | Haws | Hawsed | Hawsaf |
| Hen | Hŷn, neu hynach | Hyned | Hynaf |
| Isel | Is | Ised | Isaf |
| Llydan | Lled, neu lletach | Lleted | Lletaf |
| Uchel | Uwch, uch | Uwched, uched, cyfuwch | Uwchaf, uchaf |

Rhai Atenwau ni feddant ond yr uchradd a'r uchafradd; megys, trech, trechaf. Ereill ni feddant ond y gradd eithafol; megys, diweddaf, blaenaf, olaf, penaf.

Gellir ffurfio y gwahanol raddau mewn dull arall, sef trwy roddi yr Atferfau mor, mwy, mwyaf, o flaen yr isradd; fel hyn,—

| Isradd. | Cydradd. | Uchradd. | Uchafradd. |
|---|---|---|---|
| Anwyl | mor anwyl | mwy anwyl | mwyaf anwyl |

Nid yw *mor*, o flaen yr isradd, bob amser yn helaethu y priodoledd, eithr gwasanaetha i ddyben arall, sef i ddangos cystadledd, ac yn yr achos hwnw y mae y cysylltiad *a* neu *ag* i ddylyn rhywle.

† Y mae y llythyrenau *b*, *d*, ac *g*, pan fyddant yn niwedd yr isradd, yn cyfnewid yn y graddau ereill, i *p*, *t*, ac *c*.
* Gellir treiglo y rhai sydd wedi eu nodi â seren yn rheolaidd.

Dengys yr engreifftiau canlynol y gwahaniaeth rhwng y ddwy swydd a gyflawna:

"*Mor dal* yw eich brawd!"
"Yr ydych chwi *mor dal* a'ch brawd."

Y mae cyfatebiad yr engreifftiau hyn i'r dysgrifiad a roddwyd, yn rhy eglur i ofyn am chwaneg o sylw. Gellir adrodd yr engraifft flaenaf, trwy arferyd y cydradd yn lle yr isradd a *mor*; megys, *Daled* yw eich brawd!" Gellir adrodd yr olaf, trwy arferyd y cydradd, a *cyn* o'i flaen, yn lle yr isradd a *mor*; megys, "Yr ydych chwi *cyn daled* a'ch brawd." *Mor* sydd i'w arferyd bob amser o flaen yr isradd, a *cyn* o flaen y cydradd. Felly, yn lle, *mor gynted, mor waethed, mor hyned, &c.*, dylid dywedyd, *cyn gynted, cyn waethed, cyn hyned, &c.*, neu *mor fuan, mor ddrwg, mor hen, &c.*

---

## ADCHWILIAD I'R SEITHFED BENNOD.

1. Pa nifer o raddau sydd yn perthyn i'r Atenwau?—Pedwar.

2. Pa rai ydynt hwy?—Yr isradd, y cydradd, yr uchradd, yr uchafradd.

3. Beth a feddylir wrth yr isradd?—Yr Atenw yn ei ffurf fyraf a symlaf.

4. Rhoddwch siamplau.—Du, drwg, mawr, cryf.

5. Beth a feddylir wrth y cydradd?—Cyfartalrwydd gradd.

6. Pa derfyniad a berthyn i'r gradd hwn?—Y terfyniad *ed.*

7. Rhoddwch siampl.—Hardd*ed* wyt ti'r lili lân?

8. Beth y mae yr uchradd yn dangos?—Fod un peth yn meddu gradd helaethach na pheth arall.

9. Pa derfyniad a berthyn i'r gradd hwn?—Y terfyniad *ach.*

10. Beth y mae'r gradd hwn yn dangos?—Y mae hwn, fel yr uchradd, yn dangos fod un peth yn meddu gradd helaethach o ryw briodoledd na'r pethau ereill a gymharir âg ef.

11. Beth yw'r gwahaniaeth rhwng y ddau?—Yn yr uchradd, ystyrir y pethau a gymharir fel yn perthyn i ddau restr gwahanol; ond yn yr uchafradd, golygir y cwbl fel yn perthyn i un rhestr.

12. Pa eiriau a arferir yn lle y terfyniadau i ddangos y gwahanol raddau?—Cyn, mor, mwy, a mwyaf.

13. Rhoddwch siampl.—Yn lle called, gellir arfer mor gall; yn lle callach, mwy call; ac yn lle callaf, mwyaf call.

## PENNOD VIII.

### AM ATENWAU RHIFOL.—*Of Numeral Adjectives.*

ATENWAU Rhifol a ddangosant rif yr Enwau ag y perthynant iddynt.

Yr Atenwau Cyffredin a osodir *ar ol* Enwau, ond yr Atenwau Rhifol a osodir *o'u blaen.*

Y mae dau fath o Atenwau Rhifol; sef,

1. Y *Prif Rifedi*—un, dau, tri, pedwar, &c.
2. Y *Rhifedi Trefniadol*—cyntaf neu unfed, ail neu deufed, trydydd, pedwarydd, pumed, &c.

#### AM Y PRIF RIFEDI.

Yr unig amrywiadau a berthynant i'r Prif Rifedi, ydynt y rhai hyny a gymerant le yn y geiriau dau, tri, pedwar, i ddynodi y genedl fenywol; sef, dwy, tair, pedair. Cymer yr un cyfnewidiad le yn nghyfansoddion y rhai hyn; megys, dwy-ar-bymtheg, tair-ar-bymtheg, pedair-ar-bymtheg.

Y mae ein trefn ni o gyfrif yn wahanol i eiddo'r Seison, pa un nid yw amgen nag ail-adroddiad o'r rhifau un i ddeg. Ar ol cyfrif deg, ânt drosto drachefn, yr hyn a wna ddau ddeg (*twain-ty*, neu *two ten*); yna ânt y drydedd waith, yr hyn a wna dri deg (*thir-ty*, neu *three ten*); ac felly ânt yn mlaen yn ail-adrodd, nes cyraedd cant, yr hyn sydd gyfartal i ddeg deg. Yna eir yn mlaen â'r ail gant yr un modd. Ond ein dull ni yw cyfrif yn gyntaf at ddeg; yna ail ddechreu, a myned yn mlaen nes cyraedd pump a deg, neu pymtheg; ac yna dechreu drachefn, gan ddywedyd un ar-bymtheg, dau ar-bymtheg, &c., nes cyraedd ugain. Eir yn mlaen â'r ugain arall yr un modd, yr hyn a wna ddeugain; ac ar ol hyny i drigain, a phedwargain, nes cyraedd cant. Yn awr, er y gwna y dull yma y tro yn burion i arferiad cyffredin, nid yw yn ateb mewn un modd i ddarllen y rhifnodau a ddefnyddir genym mor fynych, a pha rai sydd wedi eu cymhwyso at drefn y Seison o rifo. Pan arferir tri ffugwr, dynoda y cyntaf y nifer o ganoedd; yr ail y nifer o ddegau; a'r olaf unrhyw rif o dan ddeg; felly arwydda 239, er siampl, dau gant

trideg a naw. Ond y ffordd y geiriem ni hwynt, yn ol ein dull presenol, a fyddai, dau gant a phedwar-ar-bymtheg ar ugain. Yn awr, nid oes dim yn y rhifnodau i ddangos y pedwar, a'r pump a deg, a'r ugain a adroddir genym; a'r annghydweddiad yma rhwng y rhifnodau a'r rhifyddiaeth, yw yr achos fod y Cymry mor gyffredinol yn anhyddysg yn y drefn o ddarllen y rhifnodau. Rhoddwn yma gynllun o rifyddiaeth gydweddog âg eiddo y Seison, gyda'r dull cyffredin yn gyfochrog, fel y gellir canfod ar unwaith ragoriaeth y blaenaf ar yr olaf, o ran byrdra ac eglurder.

| Rhif-nodau. | Y rhifyddiaeth ddiwygiedig. | Y rhifyddiaeth gyffredin. |
|---|---|---|
| 11 | unarddeg | unarddeg |
| 12 | dauarddeg | deuddeg |
| 13 | triarddeg | triarddeg |
| 14 | pedwararddeg | pedwararddeg |
| 15 | pumparddeg | pymtheg |
| 16 | chwecharddeg | unarbymtheg |
| 17 | saitharddeg | dauarbymtheg |
| 18 | wytharddeg | triarbymtheg |
| 19 | nawarddeg | pedwararbymtheg |
| 20 | deuddeg | ugain |
| 21 | deuddeg-un | un-ar-ugain |
| 22 | deuddeg-dau | dau-ar-ugain |
| 23 | deuddeg-tri | tri-ar-ugain |
| 24 | deuddeg-pedwar | pedwar-ar-ugain |
| 25 | deuddeg-pump | pump-ar-ugain |
| 30 | trideg | deg-ar-ugain |
| 35 | trideg-pump | deg-ar-ugain a phump |
| 40 | pedwardeg | deugain |
| 45 | pedwardeg-pump | pump a deugain |
| 50 | pumdeg | deg a deugain |
| 55 | pumdeg-pump | pymtheg a deugain |
| 60 | chwedeg | trigain |
| 65 | chwedeg-pump | pump a thrigain |
| 70 | seithddeg | deg a thrigain |
| 75 | seithddeg-pump | pymtheg a thrigain |
| 80 | wythddeg | pedwar ugain |
| 85 | wythddeg-pump | pedwar ugain a phump |
| 90 | nawdeg | pedwar ugain a deg |
| 95 | nawdeg-pump | pedwar ugain a phymtheg |
| 100 | cant | cant |
| 199 | cant a nawdeg-naw | cant a phedwararbymtheg a phedwar ugain |
| 250 | dau gant a phumdeg | dau gant a deg a deugain |

Wrth sylwi ar y colofnau uchod, fe wêl yr efrydydd yn uniawn fod y rhifyddiaeth ddiwygiedig yn fwy manteisiol na'r hen, trwy ei bod yn cyfateb yn well â'r rhifnodau, ac yn fyrach. A thrwy y drefn hon, fe ddichon plentyn ddysgu darllen y rhifnodau gyda'r rhwyddineb mwyaf.

### AM Y RHIFEDI TREFNIADOL.

YR unig amrywiadau a berthynant i'r rhifedi trefniadol yw newidiad *trydydd* a *phedwerydd* i *drydedd* a *phedwaredd*, i ddynodi y genedl fenywol.

Ffurfir y Rhifedi Trefniadol, ar ol y pedwerydd rhif, trwy chwanegu *ed* neu *fed* at y Prif Rifedi. Yn lle *unfed*, dywedir, *cyntaf;* ond pan fydd rhif arall yn gysylltiol, *unfed* a ddefnyddir; megys, unfed ar ddeg, unfed-ar-bymtheg, unfed-ar-ugain. Dodir yn fynych *fed* ar ol *ail*, ac yn enwedig pan yn gysylltiol â rhif arall; megys, yr eilfed flwyddyn, yr eilfed ar-bymtheg. Yn awr tybiwn fod hyn yn eithaf anmhriodol, trwy fod *ail*, heb y *fed*, yn Rif Trefniadol. Y mae cyfieithwyr y Beibl wedi ymgadw yn ofalus rhag y bai hwn; ac ni cheir ynddo, tybiwn, un engraifft o ddefnyddiad *fed* ar ol *ail*, ond defnyddir ail ar bymtheg, deufed neu dwyfed-ar-bymtheg. (Genesis viii. 4; 1 Bren. xxii. 51; 1 Cron. xxiv. 15).

Y mae eisieu yr un diwygiad yn rhifyddiaeth y Rhifedi Trefniadol, ag yn eiddo y Prif Rifedi; a gellir cymhwyso y cynllun a roddwyd o'r olaf at y blaenaf hefyd. Y gwahaniaeth yw, yn y Rhifedi trefniadol, rhaid dechreu â'r ffugwr olaf, a rhoddi *fed* ar ei ol; megys, 12, ail ar ddeg; 15, pumed ar ddeg; 16, chweched ar ddeg; 25, pumed a deuddeg; 30, tridegfed; 35, pumed a thrideg; 65, pumed a chwedeg; 95, pumed a nawdeg; 299, nawfed nawdeg a deugant.

---

### ADCHWILIAD I'R WYTHFED BENNOD.

1. Beth yw defnydd yr Atenwau Rhifol?—Dangos rhif.
2. Pa sawl math o Atenwau Rhifol sydd yn bod?—Dau.
3. Pa rai ydynt hwy?—Y Prif Rifedi, a'r Rhifedi Trefniadol.
4. Pa rai ydynt y Prif Rifedi?—Un, dau, tri, pedwar, &c.
5. Pa rai ydynt y Rhifedi Trefniadol?—Cyntaf, ail, trydydd, &c.

6. Pa amrywiadau sydd yn perthyn i'r Prif Rifedi?—Ddim ond y rhai hyny a berthyn i ddau, tri, pedwar, i ddynodi y genedl fenywol.

7. Pa fodd y maent yn amrywio?—Dau i ddwy, tri i dair, a phedwar i bedair.

8. Pa fodd y ffurfir y Rhifedi Trefniadol?—Trwy chwanegu *ed* neu *fed* ar ol y Prif Rifedi.

9. A ffurfir yr oll ohonynt yn y modd yma?—Na wneir. Y mae *trydydd* a *phedwarydd* yn eithriaid, ac hefyd *cyntaf* ac *ail*, y rhai a ddefnyddir yn lle unfed a deufed.

## PENNOD IX.

### AM ATENWAU DANGOSOL.—*Demonstrative Adjectives.*

YR Atenwau Dangosol, y rhai a arferir i nodi allan berson neu beth, ydynt,—Hwn, acw; yma, yna; y neu yr.

Treiglir Hwn fel y canlyn:—

| | Unigol. | Lluosog. |
|---|---|---|
| *Gwryw.* | Hwn | Hyn. |
| *Benyw.* | Hon | |
| *Gwryw.* | Hwna | Hyna. |
| *Benyw.* | Hona | |
| *Gwryw.* | Hwnw | Hyna. |
| *Benyw.* | Hono | |

Y mae *hwn* a'i dreigliadau yn cyfeirio at beth a fo yn ymyl y dyn a fyddo yn siarad, ac yn arwyddo yr un peth ag *yma*; *hwna* a'i dreigliadau, at beth a fyddo yn mhellach oddiwrtho, ac yn arwyddo yr un peth ag *yna*; a *hwnw* a'i dreigliadau, at beth ag y siaradwyd amdano o'r blaen. Ni arferir *hwna, hona*, a *hyna*, yn gysylltedig âg Enw, yn awr, eithr arferir *yna* yn eu lle; megys, "Y dyn yna."

Weithiau cysylltir dau Atenw Dangosol i nodi allan beth; megys, hwnyma, hwnyna, hwnacw. Yn y ffurf hon ni chysyllt-ant âg Enwau.

Gelwir y Rhagenw Dangosol *y* neu *yr* yn Fannod. Arferir *y* o flaen cydsain; megys, y dyn, y wlad; ac *yr* o flaen un-seiniad ac *h*; megys, yr wythnos, yr haul. Ei ddefnydd yw nodi

allan berson neu beth a fyddo eisioes wedi ei grybwyll, neu a fyddo yn wybyddus i'r llefarwr a'r gwrandawwr; megys, "Dyma y dyn," sef yr un y buom yn siarad amdano. "Estynwch y fegin;" h.y., y fegin ag sydd yn yr ystafell neu yn y tŷ. Y mae y Rhagenwau Dangosol ereill oll yn gofyn cynorthwy y Bannod i nodi allan y gwrthddrych; megys, *Y* dyn *hwn*; *yr* wythnos *hon*.

Pan flaenorir y Bannod â *mo*, *na*, *gyda â*, *i*, *o*, neu y Cysylltiad *a*, arferir y talfyriad o *yr* yn mhob achos, o flaen cydsain yn gystal ag o flaen unseiniad; megys, yn lle gydag neu âg *y* dyn, gyda neu â'r dyn; yn lle i *y* dyn, i'r dyn; yn lle o *y* dyn, o'r dyn.

## ADCHWILIAD I'R NAWFED BENNOD.

1. Beth yw defnydd yr Atenwau Dangosol?—Nodi allan y peth sydd eisieu ei ddangos.

2. Pa rai ydynt hwy?—Hwn, acw, yma, yna, ac *y* neu *yr*.

3. Pa beth y gelwir *y* neu *yr*?—Bannod.

4. Beth yw defnydd y Bannod?—Y mae bob amser yn cynorthwyo yr oll o'r Atenwau Dangosol i nodi allan beth.

5. Rhoddwch siamplau.—*Yr* afon *hon*; *y* dyn *acw*; *y* peth *yna*.

6. Beth yw ei ddefnydd heb yr Atenwau Dangosol?—Nodi allan beth a fyddo eisioes wedi ei grybwyll, neu a fyddo yn hysbys i'r llefarwr a'r gwrandawwr.

7. Beth yw y gwahaniaeth rhwng *y* ac *yr*?—Nid oes dim, ond fod yr *y* i fod o flaen cydsain, ac *yr* o flaen unseiniad neu h.

8. Rhoddwch siamplau.—*Y d*yn; *y w*raig; *yr e*naid; *yr h*aul.

## PENNOD X.

### AM ATENWAU ANMHENODOL.—*Of Indefinite Adjectives.*

YR Atenwau Anmhenodol, y rhai a nodant eu gwrthddrych mewn dull anmhenodol neu gyffredinol, ydynt, *llawer*, *ychydig*, *rhyw*, *rhai*, *amryw*, *holl*, *oll*, *pob*, *arall*, *naill*, *ambell un*, *unrhyw*, *dim*.

1. "LLAWER" a ddynoda nifer lluosog; megys, "llawer dyn." Pan arferir yr Arddodiad *o* rhyngddo a'i wrthddrych, gall arwyddo dognedd cyn gystal a rhif; megys, "llawer o win" *(much wine)*, "llawer o afalau" (*many apples*).

2. "YCHYDIG" a arwydda nifer bychan; megys, "ychydig bethau." Pan arferir o rhyngddo a'i wrthddrych, gall arwyddo dogncdd cyn gystal a rhif; megys, "ychydig o win," "ychydig o afalau."

3. "AMRYW" a arwydda *rif anmhenodol, heb fod yn dra lluosog*. Ymwrthodir â'r gair hwn gan rai ysgrifenwyr diweddar, y rhai a arferant y gair "amrai" yn ei le. Y mae yn ddiau fod gwreiddyn y gair yma yn dynodi rhif yn well na'r eiddo *amryw*; ond er hyny, trwy fod hwn yn meddu y fantais o hynafiaeth, ac yn ateb yr un dyben a'r llall, bydd iddo, yn dra thebyg, eto ei oroesi.

4. "HOLL" ac "OLL" a arwyddant ddogncdd neu rif. Y blaenaf a osodir o *flaen* ei Enw, a'r olaf, ar ei *ol*; megys, "yr *holl* bobl"—"y bobl *oll*." *Oll* yn fynych a arferir heb Enw.

5. "ARALL" a arwydda *gwahanol, un yn chwanegol*. Lluosogir ef yn *ereill*. Arferir hwn, fel *oll*, bob amser ar *ol* ei Enw, tra yr arferir yr Atenwau Anmhenodol ereill oll o *flaen* eu Henwau.

6. "NAILL" a arwydda, *un o'r ddau*. Y mae yn gofyn *y llall* ar ei ol; megys, "y *naill* dro ar ol *y llall*."

7. "AMBELL" a arwydda, *un yma ac acw*, neu *yn awr a phryd arall*; megys, "ambell un," "ambell waith." Camddefnyddir hwn yn fynych trwy roddi *i* rhyngddo a'i wrthddrych; megys yn y dyfyniad canlynol o Ramadeg diweddar: "Unioni ambell *i* benelin," yn lle, "unioni ambell benelin."

8. "UN" a arferir weithiau mewn ystyr anmhenodol; megys, "Nid oes *un* dyn a all wneyd hyn." Pan arferir ef yn yr ystyr yma, y mae bob amser yn cael ei flaenori gan negydd. Camddefnyddir hwn yn gyffredin trwy roddi *yr* o'i flaen, fel yn y dyfyniadau canlynol o Ramadeg diweddar:—"Nid oedd *yr un* ohonynt yn ateb i ysbryd y to sydd yn cyfodi." "Y mae yr ystyriaethau uchod a'u cyffelyb, yn peri i'r genedl ieuanc bresenol waeddi âg un llais am Ramadeg newydd, mwy athronyddol, mwy ymarferol, cywirach, cyflawnach, ac eglurach, *na'r un* sydd genym." Dylasent fod, "Nid oedd *un* ohonynt," &c. "Eglurach *na'r rhai* (neu, *nag unrhyw un*) sydd genym." Gellid meddwl, wrth ddywedyd *na'r un*, nad oes genym ond un Gramadeg.

9. "UNRHYW." Er nad arferir y gair hwn fel Atenw anmhenodol unwaith yn y Beibl,* ac na cheir ef yn Ngeiriadur Dr. O. Puw, y mae, yn bresenol, mewn arferiad tra mynych. Ymddengys mai y gwahaniaeth rhyngddo ac *un* yw, fod yr olaf i'w arferyd mewn brawddeg negyddol, a'r blaenaf mewn un gadarnhaol; megys, "*Nid* oes *un* peth ag yr wyf yn ei hoffi yn fwy" [nid, "*Nid* oes *unrhyw* beth, &c."]. "Cymeraf *unrhyw* beth a fynoch" [nid, "Cymeraf *un* peth a fynoch"].

10. "DIM," mewn ystyr nacaol, a ofyn negydd o'i flaen; megys, "*Nid* wyf fi yn cael *dim* bai ynddo." Y gwahaniaeth rhwng *un* a *dim*, mewn brawddeg negyddol, yw fod *un* yn golygu *amrywiaeth*, a *dim* yn golygu *graddau*; megys, "Nid wyf

* Gwelsom sylw yn ddiweddar ar yr haeriad hwn yn Ngramadeg yr awdwr ag y gwnaed y dytyniadau uchod o'i waith fel engreifftiau o gamddefnyddiad yr Atenw anmhriodol *un*. Gan feddwl ei fod yntau wedi canfod gwall yn ein haeriad ninnau yn nghylch y gair *unrhyw*, y mae, mewn ffordd o ad-daliad, tybygem, yn ceisio dynoethi y bai tybiedig fel y can'yn:—"Fe ddywed ein hathraw yn mhellach, 'nad arferir y gair hwn (sef unrhyw) unwaith yn y Beibl.' Gan ein bod wedi cyfarfod â nifer o haeriadau heb brofion o'r blaen, ni allasem yn ein byw gymeryd yr awdwr (?) ar ei air, ac am hyny cydiasom mewn llyfr a alwem ni yn Feibl, a throisom ar 1 Cor. xii. 11, lle y mae y geiriau canlynol, 'A'r holl bethau hyn y mae yr un a'r unrhyw Ysbryd yn eu gweithredu,' &c. Gresyn na fuasai y Gramadeg dan sylw wedi cael ei gyfansoddi yn ddigon buan, cyn i '*yr*' ddyfod o flaen 'un' i gystrawen y Beibl."

Cyn myned i sylwi ar y gair *unrhyw*, cymerwn gipolwg ar frawddeg olaf y dyfyniad uchod. Ni ddywedasom erioed ei bod yn anmhriodol defnyddio *yr* o flaen *un* ar bob achos; eithr yr hyn a fynegasom yn ddiamwys ydoedd, ei bod yn anmhriodol defnyddio *yr* o flaen *un* pan fwriedir ei gymeryd mewn ystyr anmhenodol. Yr oedd yr awdwr am ei gymeryd yn yr ystyr hwn pan ddywedodd, "Nid oedd *yr un* ohonynt [sef y Gramadegau Cymreig] yn ateb i ysbryd y to sydd yn cyfodi." Pe bae genym ganoedd o Ramadegau Cymreig, fe wnai y gosodiad negyddol hwn, trwy fod iddo ystyr anmhenodol, eu cynwys oll Ond gofynwn i'n gwrthwynebwr, a gymerir *yr un* mewn ystyr anmhenodol yn yr adnod a ddyfynodd efe? A ydyw efe yn foddlon i ni ddeall mai unrhyw ysbryd sydd yn gweithredu yr holl bethau ag y cyfeirir atynt yn yr adnod? Os nad yw, os rhaid ei gymeryd mewn ystyr *penodol*, i arwyddo ond un neillduol, yna nid yw yn perthyn i'r cwestiwn.

Yn awr mewn perthynas i'r gair *unrhyw*. Dywedasom nad oedd y gair hwn i'w gael yn y Beibl fel Atenw anmhenodol. Mewn camgymeriad galwasom ef yn Rhagenw yn yr argraffiad cyntaf, gan ddylyn Murray, a Gramadegwyr Seisnig ereill, y rhai a restrant y gair Seisnig am unrhyw, sef *any*, yn mhlith y Rhagenwau anmhenodol. Pa fodd bynag, yr ydym yn barod i gyfarfod â'n gwrthwynebwr yn ol y geiriad a ddefnyddiwyd. Dywedasom na cheir y gair *unrhyw* yn y Beibl fel Rhagenw; a chymerwn yr hyfdra i ofyn i'n gwrthwynebwr eto, a ydyw y gair hwn yn Rhagenw yn yr adnod ddyfynedig? Os dywed ei fod, mae yn amlwg nad yw yn deall nemawr am natur y gwahanol ranau ymadrodd; ac os dywed nad yw, pa les oedd iddo ddyfynu yr adnod? Mae gwahaniaeth dirfawr rhwng *unrhyw* ysbryd ac *yr unrhyw* Ysbryd—rhwng *any* spirit a *the self-same* spirit—mae'r naill yn benodol a'r llall yn anmhenodol. Felly gwêl ein gwrthwynebwr ei fod wedi methu'r nod, a bod ganddo i ail chwilio ei Feibl am engraifft o ddefnyddiad "unrhyw" anmhenodol.

fi yn cael *un* bai ynddo." Cynwysa hyn fod gwahanol feiau, ond na cheir yn y person a arwyddir *un* ohonynt. Y froddeg, "Nid wyf yn cael *dim* bai ynddo," drachefn, a gynwysa fod gwahanol raddau mewn bai, ond na cheir yn y person arwyddedig y gradd *lleiaf* ohono. [Sylwir yn mhellach ar *dim*, dan y pen, "Rhagenwau Atenwol."]

## ADCHWILIAD I'R DDEGFED BENNOD.

1. Pa rai ydynt yr Atenwau Anmhenodol?—Llawer, ychydig, rhyw, rhai, amryw, holl, oll, pob, arall, naill, ambell, un, unrhyw.

2. A oes amrywiad yn perthyn iddynt?—Nac oes, ddim ond i *arall*, pa un a luosogir yn *ereill*; a *llawer*, a luosogir *llaweroedd*.

3. A all *llawer* ac *ychydig* arwyddo *dogneddd* yn gystal a *rhif*?—Gallant.

4. Pa air a arferir weithiau yn lle *amryw*?—Y gair *amrai*.

5. Pa gamddefnyddiad a wneir o *ambell*?—Rhoddir i rhyngddo a'i wrthddrych.

6. Pa gamddefnyddiad a wneir o *un* yn ei ystyr anmhenodol?—Rhoddir *yr* o'i flaen, yr hyn sydd yn rhoddi ystyr arall iddo.

7. Beth yw y gwahaniaeth rhwng *un* ac *unrhyw*?—Fod *un* i'w arferyd mewn broddeg negyddol, ac *unrhyw* mewn un gadarnhaol.

8. A fyddai yn briodol dywedyd, "Nid wyf fi yn cael *unrhyw* fai ynddo?—Na fyddai.

9. Paham?—Am fod *unrhyw* i'w ddefnyddio mewn broddeg gadarnhaol yn unig.

# PENNOD XI.

## Am Ragenwau.—*Of Pronouns.*

Rhagenw sydd air a arferir yn lle Enw, neu a arwydda yr un gwrthddrych; megys, Bydd y dyn *yr hwn* a alwodd neithiwr, yn y dref heddyw. Yr oedd ganddo *ef* gi. "*Pwy* yw *efe*?" Y mae y geiriau, *yr hwn, ef, pwy, efe,* yn cyfeirio at y dyn.

Y mae pedwar math o Ragenwau; sef, Personol, Rhagarweiniol, Perthynol, ac Atenwol.

## RHAGENWAU PERSONOL.

Gelwir *myfi*, *tydi*, *efe*, *hyhi*, gyda'u hamrywiadau, yn *Bersonol*, am y defnyddir hwynt i gyfeirio at y person a fyddo yn llefaru, at yr un y llefarir wrtho, neu yr un y llefarir amdano.

Gelwir yr un a fyddo yn llefaru, y person *cyntaf;* yr un y llefarir wrtho, yr *ail;* a'r person neu y peth y llefarir yn ei gylch, y *trydydd*.

Y mae yn perthyn i Ragenwau Personol, Rif, Cenedl, a Pherson, fel y canlyn :—

| | Unigol. | Lluosog. |
|---|---|---|
| *Person* 1*af.* | Myfi, mi, i | Nyni, ni |
| ——— 2*il.* | Tydi, ti | Chwychwi, chw |
| ——— 3*ydd* *Gwr.* | Efe, ef, e, fo, o | Hwynt-hwy, hwy |
| ——— 3*ydd* *Ben.* | Hyhi, hi | |

Y mae gan y Rhagenwau Personol, yn y Seisneg, yn gystal ag mewn ieithoedd ereill, achos meddianol (*possessive case*); megys *mine*, *thine*, *his*, *hers* Ond y mae y Gymraeg yn ddiffygiol o hyn; eithr gwneir y diffyg i fyny â'r gair *eiddo*, pa un a amrywir fel y canlyn :—

| | Unigol. | Lluosog. |
|---|---|---|
| *Person* 1*af.* | Eiddof fi | Eiddom ni |
| ——— 2*il.* | Eiddot ti | Eiddoch chwi |
| ——— 3*ydd* *Gwr.* | Eiddo e | Eiddynt hwy |
| ——— 3*ydd* *Ben.* | Eiddi hi | |

Oddiwrth y Rhagenwau Personol y tardd y Rhagenwau a ffurfiant derfyniadau Berfau ac Arddodiaid Personol, ac a elwir, *Rhagenwau Cynglyn;* megys, Ydw *f*, o *fi;* yno*ch*, o *chwi*. Ond y mae rhai Rhagenwau Cynglyn yn wahanol i'r Rhagenwau Personol.

Canfyddir bod dau fath o Ragenwau Personol, sef, Rhagenwau *dwbl;* megys, Myfi, nyni; a rhai *sengl;* megys, Mi, ni. Ond ymddengys fod y dybledd Rhagenwol yma yn naturiol i'r Gymraeg; canys pan arferir Rhagenw sengl, ceir bron bob amser ei fod yn cael ei ragflaenu gan un arall, naill ai Cynglyn neu Ragarweiniol.

**Eglurir hyn yn mhellach ar ol y Rhagenwau Rhagarweiniol.**

Un priodoledd tra hynod yn perthyn i'r Rhagenwau Cymreig, ydyw eu hyalledd i arwyddo *ac* neu *hefyd*, trwy roddi *nau* ar ol y person 1af, a *thau* ar ol yr 2il a'r 3ydd (oddieithr y gair *yntau*,* pa un sydd yn terfynu gyda *tau*); fel y canlyn:—

| | | Unigol. | Lluosog. |
|---|---|---|---|
| *Person* 1af. | | Mi-nau | Ni-nau |
| ——— 2il. | | Ti-thau | Chwi-thau |
| ——— 3ydd | *Gwr.* | Yn tau | Hwy-thau |
| | *Ben.* | Hi thau | |

Y mae, "Gofynais i, atebodd *yntau*," yr un peth a, "Gofynais i, *ac efe* a atebodd." "Aethym i ac *yntau* yno," yr un peth a, "Aethym i ac *efe hefyd* yno."

---

ADCHWILIAD I'R UNFED BENNOD AR DDEG.

1. **Beth yw Rhagenw?—Gair a arferir yn lle Enw, neu a arwydda yr un gwrthddrych.**

2. **Pa sawl math o Ragenwau sydd yn bod?—Pedwar.**

3. **Pa rai ydynt hwy?—Personol, Rhagarweiniol, Perthynol, ac Anmhenodol.**

4. **Pa sawl person sydd yn perthyn i Ragenwau?—Tri.**

5. **Pa rai ydynt hwy?—Y 1af. sef yr un a fyddo yn llefaru; yr 2il, sef yr un a fyddo yn gwrandaw; a'r trydydd, sef yr un y sonir amdano**

6. **Beth yw Rhagenwau Cynglyn?—Y Rhagenwau sydd yn ffurfio terfyniad Berfau ac Arddodiaid Personol.**

7. **Beth yw defnydd *nau* a *thau* ar ol y Rhagenwau Personol? —Chwanegu yr ystyr o *ac* neu *hefyd* atynt.**

---

## PENNOD XII.

### Am y Rhagenwau Rhagarweiniol.—*Of the Possessive Pronouns.*

Y Rhagenwau Rhagarweiniol a arferir o flaen Enwau, Berfau, ac Arddodiaid, ac a ddangosant eu bod yn per-

* O ba le y tarddodd y gair hwn, a pha fodd ei defnyddiwyd yn lle *ef*, sydd ddirgelwch i ni. Dywed y Dr. O. Puw ei fod yn gyfansoddedig o *wn* a *tau*, pa eglurhâd, yn lle rhoddi i ni oleuni, sydd, os yw bosibl, yn gwneyd y tywyllwch yn fwy caddugol.

thyn i, neu yn cyfeirio at, y Rhagenw Personol sydd i ddylyn; megys, "Gafaelais yn *ei* law *ef*; yr wyf yn *dy* garu *di*; nid oes genyf ddim yn *ei* herbyn *hi*."

Y mae yn perthyn i Ragenwau Rhagarweiniol,* Rif a Pherson fel y canlyn:—

| | | Unigol. | Lluosog. |
|---|---|---|---|
| *Person* | *1af.* | Fy, ym | Ein |
| ——— | *2il.* | Dy, yth | Eich |
| ——— | *3ydd.* | Ei | Eu |

Mae *hun* neu *hunan*, gyda'r Rhagenwau Rhagarweiniol, yn ffurfio Rhagenwau Personol Cyfansawdd. Yn y rhif unigol rhoddir *hun* neu *hunan*; megys, *fy hunan, dy hunan, ei hunan;* yn y lluosog, *hunain;* megys, *ein hunain, eich hunain,* (weithiau, *eich hun,*) *eu hunain.*

Trwy gysylltu *gilydd*, eto, â'r Rhagenwau Rhagarweiniol *lluosog*, ffurfir Rhagenwau Adgyrchiol; megys, *Ein gilydd, eich gilydd, eu gilydd.* I'r Rhagenwau Adgyrchiol hefyd y perthyn *y naill y llall.*

Ymddengys nad yw y Rhagenwau Rhagarweiniol, a'r Rhagenwau Personol sengl a ddylynant, ond y Rhagenwau dwbl wedi eu rhanu, a'u gosod ar wahan; fel hyn, yn lle dywedyd, "Yr wyf yn *caru tydi*," dywedir, "Yr wyf yn *dy* garu *di*;" yn lle, "Y mae y llyfr yn llaw *myfi*," dywedir, "Y mae y llyfr yn *fy* llaw *i*;" yn lle, "Yr wyf yn gofidio oblegid *chwychwi*," dywedir, "Yr wyf yn gofidio *o'ch* plegid *chwi*. Oddiwrth hyn gwelir mai y Rhagenwau sengl sydd i'w harferyd bob amser ar ol y Rhagenwau Rhagarweiniol. Rhagenwau sengl hefyd sydd yn naturiol ddylyn Rhagenwau Cynglyn; megys, "Dywedais*t ti*; yno*f fi*."

Pan ragflaenir Rhagenw Rhagarweiniol yn uniongyrchol gan Enw neu Ragenw yn cyfeirio at yr un gwrthddrych, ni chaniatâ Ragenw Personol ar ei ol; megys, "Gwelodd y *bachgen* hwn *ei* dad ddoe;" "Yr wy*f fi fy* hun yn myned yno;" "Yr yd*ym ni* yn cael

* Y mae yr hen enw, Rhagenwau Meddianol yn ddigon priodol pan flaenorant Enwau, ond pa fodd y gellir eu galw felly o flaen Berfau ac Arddodiaid?

*ein* credu." Nis gellir dywedyd, "*ei* dad *ef*," "*fy* hun *i*," nac "*ein* credu *ni*."

Afreidiol yw arfer Rhagenw Personol ar ol Rhagenw Rhagarweiniol, na chwaith ar ol Rhagenw Cynglyn, ond mewn modd o wrthwynebiad, neu pan fyddo eisieu nodi allan y person neu y peth a arwyddir, mewn modd penodol. Yn y rhan fwyaf o engreifftiau, digon yw fod y Rhagenw Personol yn ddealledig.

Bwrir ymaith unseiniaid y Rhagenwau Rhagarweiniol, ar ol *pe, fe, mo, na, gyda, â, o, i,* a'r cysylltiad *a*, a rhoddir talfyrnod yn eu lle; megys, yn lle, *âg ei* neu *eu*, arferir *â'i* neu *â'u*; yn lle *o ei* neu *eu*, arferir *o'i* neu *o'u*; yn lle *i ei* neu *eu*, arferir *i'w*. Nis gellir arferyd *i'i* nac *i'u*, a thrwy hyny yr oedd yn angenrheidiol dodi rhyw lythyren yn lle *i* ac *u* ar ol yr Arddodiad *i*.

---

## ADCHWILIAD I'R AIL BENNOD AR DDEG.

1. Beth yw Rhagenwau Rhagarweiniol?—Rhagenwau a arferir o flaen Enwau, Berfau, ac Arddodiaid, i ddangos bod Rhagenw Personol i ddylyn, naill ai yn grybwylledig neu yn ddealledig.

2. Rhoddwch siampl—"Yr wyf fi yn *dy* garu." Y mae y *dy* yna yn dangos bod *di* yn ddealledig ar ol y gair *caru*.

3. Beth sydd yn perthyn i Rageuwau Rhagarweiniol?—Rhif a Pherson.

4. Onid oes cenedl yn perthyn iddynt?—Nac oes?

5. Rhoddwch siampl—"Y mae cur yn *ei* ben *ef*, ac yn *ei* phen *hi*."

6. Beth y mae *hun* neu *hunan* yn gysylltedig â'r Rhagenwau Rhagarweiniol yn ei ffurfio?—Rhagenwau Personol Cyfansawdd.

7. Beth y mae *gilydd* yn gysylltedig â'r Rhagenwau Rhagarweiniol lluosog yn ei ffurfio?—Rhagenwau Adgyrchiol.

8. A oes rhyw Rhagenw Adgyrchiol arall?—Oes, sef *y naill y llall*.

---

## PENNOD XIII.

### AM RAGENWAU PERTHYNOL.—*Of Relative Pronouns.*

RHAGENW Perthynol sydd air yn cyfeirio at Enw, Rhagenw, neu ymadrodd fyddo yn ei flaenori; megys, "Gwelais y dyn, *yr hwn* sydd yn byw gerllaw." "Yr wyf fi

yn ei garu ef; *yr hwn*, er ei fod yn gyfoethog, sydd yn bur ostyngedig."

Y Rhagenwau Perthynol ydynt, *yr hwn, pa un,* ac *ag.*

Treiglir *yr hwn* fel y canlyn:—

| | Unigol. | Llnosog. |
|---|---|---|
| *Gwrywo* | Yr hwn | Y rhai |
| *Benywo* | Yr hon | Y rhai |
| *Gwrywo.* | Yr hyn | Yr hyn. |

Ni arferir *yr hyn* ond i gyfeirio at *ymadrodd* a fyddo yn ei flaenori, ac y mae yn gofyn yr un gystrawiaeth a chenedl wrywol; megys, "Efe a syrthiodd oddiar gefn y ceffyl, *yr hyn* yr oeddwn yn dysgwyl *ei* weled."

Y lluosog o *pa un* yw *pa rai.*

Nid oes un amrywiad yn perthyn i *ag*, a gellir ei arfer yn lle *yr hwn* neu *yr hon*, yn unigol neu yn lluosog; megys, "Hwn yw y dyn *ag* yr wyf fi yn ei ofni;" "dyna y merched *ag* sydd yn aunghytuno."

Camddefnyddir hwn yn fynych trwy gyssylltu Bannod âg ef; megys, "Y mae pob dyn a'r a welir yn farwol." Dylai fod "Y mae pob dyn ag a welir," &c.

---

ADCHWILIAD I'R DRYDEDD BENNOD AR DDEG.

1. Pa beth yw Rhagenw Perthynol?—Gair yn cyfeirio at Enw, Rhagenw, neu ymadrodd, a fyddo yn ei flaenori.

2. At beth y mae *hwn* yn cyfeirio?—At Enw neu Ragenw gwrywol.

3. At beth y mae *hon* yn cyfeirio?—At Enw neu Ragenw benywol.

4. At beth y mae *yr hyn* yn cyfeirio?—At ymadrodd.

5. At beth y mae *pa un* a *pha rai* yn cyfeirio?—At yr un peth a *yr hwn* a'i dreigliadau.

6. At beth y mae *ag* yn cyfeirio?—At yr un peth a *yr hwn* a *pha un*, a'u treigliadau.

7. Pa gamddefnyddiad a wneir o *ag*?—Cyssylltu Bannod âg ef.

## PENNOD XIV.

### AM RAGENWAU ATENWOL.—*Of Adjective Pronouns.*

Y Rhagenwau Atenwol ydynt, *Pwy, y llall, y sawl, pawb, neb, dim.*

Fe'u gelwir yn Rhagenwau Atenwol, am eu bod yn sefyll am Enwau ac Atenwau; megys, *pwy* a arwydda, *pa ddyn*; *y llall* a arwydda, *yr un arall*; *y sawl* a arwydda, *y cyfryw ddynion*; *pawb* a arwydda, *pob dyn*; *neb* a arwydda, *un dyn*; *dim* a arwydda, *un peth.*

1. "PWY" a arwydda *pob dyn*, a thrwy hyny nis gellir ei gysylltu âg Enw. Defnyddir *pwy* a *pa* mewn ymholiad; megys, "*Pwy* a welsoch chwi?" "*Pa beth* a welsoch chwi?" Y mae *pa* yn *Atenw*, a thrwy hyny bob amser yn gofyn Enw ar ei ol. Weithiau gadewir *pa* allan; megys, "*Beth* a welsoch chwi?" "Le buost ti? Weithiau defnyddir *bynag* ar ol *pwy* a *pa*, yr hyn sydd yn eu troi o fod yn ofynolion; megys, *Pwy bynag* a ddaw, &c." "*Pa* beth *bynag* sydd dda, &c."

2. "Y LLALL" a fedd y rhif lluosog; megys, unigol, *y llall*; lluosog, *y lleill.*

3. "Y SAWL" a arwydda, *y cyfryw ddynion.* Fe'i harferir fel Atenw mewn ymholiad; megys, "Pa sawl gwaith?"

4. "PAWB" a arwydda "pob dyn" Ond y mae rhai ysgrifenwyr tra chyfrifol yn ei arfer yn annibriodol fel Atenw; megys, "Pawb credinwyr."

5. "NEB," pan yn cael ei ragflaenu gan negydd, a arwydda, (fel *nemo*, Lladin,) "un dyn;" megys, "Nid oes *neb* a all wneyd hyn." Pan *heb* ei ragflaenu gan negydd, medda ystyr cadarnhaol, ac arwydda, "unrhyw ddyn," neu y "cyfryw un;" megys, "Od oes *neb* yn caru y byd, &c.," (h. y., unrhyw ddyn). "Y *neb* a wnelo hyn" (h. y. y cyfryw un). Yn yr ystyr olaf efelycha *y sawl*, ond fod *y neb* yn arwyddo *un*, ac *y sawl*, fwy nag un. Arfera rhai y gair *neb*, fel y gair *pawb*, yn annibriodol, trwy ei ddefnyddio fel Atenw; megys, "Nid oes neb credinwyr."

6. "DIM," mewn ystyr nacaol, a ofyn negydd o'i flaen; megys

"Heb Dduw, heb *ddim.*" Heb negydd o'i flaen, medda ystyr cadarnhaol, ac arwyddo *beth* neu *unrhyw beth;* megys, "Od oes *dim* yn eich gofidio," &c (h. y. *unrhyw beth*), "Credu pob *dim,*" (h. y. pob *peth*).—Fel y mae *neb,* pan yn cael ei ragflaenu gan negydd, yn wrthgyferbyniol i *bob dyn;* felly y mae *dim,* pan heb Enw, ac yn cael ei ragflaenu gan negydd, yn wrthgyferbyniol i *bob peth.*

---

## ADCHWILIAD I'R BEDWAREDD BENNOD AR DDEG.

1. Beth yw Rhagenwau Atenwol?—Geiriau ag sydd yn cynwys ystyr Enwau ac Atenwau.

2. Pa rai ydynt hwy?—Pwy, y llall, y sawl, pawb, neb, dim.

3. Beth yw defnydd mwyaf neillduol *pwy?*—Gwneyd ymholiad.

4. A ellir cysylltu Enw â *pwy?*—Nac ellir.

5 Wel beth os bydd eisieu nodi allan y gwrthddrych?—Rhaid arfer *pa.*

6. Rhoddwch siampl.—Pa frawd, pa chwaer, pa gyfaill gwell? nid, pwy frawd? &c.

7 Pa bryd y mae *pwy* heb fod yn ofynol?—Pan ddylynir ef â *bynag.*

8. Beth yw ystyr *dim* heb negydd o'i flaen?—Unrhyw beth.

9. Beth yw ystyr *neb* heb negydd o'i flaen?—Unrhyw ddyn.

10. Beth yw ystyr *dim* a *neb* pan yn cael eu rhagflaenu gan negydd?—Y mae *neb* yn wrthgyferbyniol i *bob dyn;* a *dim,* i *pob peth.*

---

# PENNOD XV.

## Am Ferfau.—*Of Verbs.*

Berf sydd air yn arwyddo *bôd, gorphwys, symud, gweithredu ar beth,* neu fod peth yn *cael gweithredu arno;* megys, Yr *wyf, sefais, cerddais, tarewais* y bwrdd, y bwrdd a *darawwyd.*

Gellir darnodi Berf mewn dull arall, sef ei *fod yn rhanymadrodd a ddengys beth a feddyliwn, a farnwn, neu a ewyllysiwn, o barth unrhyw berson neu beth.*

Y mae tri math o Ferfau; sef, *Gweithredol*, *Goddefol*, a *Chanolig*.

1. Y mae y Ferf Weithredol yn dynodi gweithred yn dyfod oddi wrth *weithredydd* at *wrthddrych;* megys, Y mae James yn *taro* y bwrdd.

Y mae y Ferf Weithredol yn gofyn enwi y gweithredydd, a'r gwrthddrych ag y gweithredir arno. Yn y siampl a nodwyd, James yw y gweithredydd, a'r bwrdd yw y gwrthddrych.

2. Y mae y Ferf Oddefol yn dynodi derbyniad gweithred; megys, y bwrdd a *darewir*.

Nid yw y Ferf Oddefol yn gofyn enwi ond y gwrthddrych ag y gweithredir arno.

3. Y mae y Ferf Ganolig yn arwyddo bôd, agwedd, neu weithred yn gyfyngedig i'r gweithredydd; megys, Yr *wyf* yn y tŷ; y *mae* efe *yn cysgu*; y *mae* James *yn nofio*.

Yn y ol darnodiad hwn, gwelir bod y Berfau yn dechreu âg *ym*, yn Ferfau Canolig, trwy eu bod yn arwyddo gweithred yn gyfyngedig i'r gweithredydd; megys, ymolchi, ymwisgo.

Amrywir Berfau gan Foddau, Amserau, Rhifau, a Phersonau.

---

## ADCHWILIAD I'R BUMED BENNOD AR DDEG.

1. Beth yw Berfau?—Gair yn arwyddo bôd gorphwys, symud, gweithredu ar beth, neu fod peth yn cael gweithredu arno.

2. Rhoddwch siampl y Ferf yn arwyddo *bôd*.—Yr *wyf* yn yr ysgol: y mae *wyf* yma yn dangos fy *mod* i yn yr ysgol.

3. Rhoddwch siampl o Ferf yn arwyddo *gorphwys*.—Yr wyf yn *sefyll*, yn *eistedd*, neu yn *gorwedd*.

4. Rhoddwch siampl o Ferf yn arwyddo *symud*.—Yr wyf yn *cerdded*, yn *rhedeg*, yn *nofio*. yn *dawnsio*.

5. Rhoddwch siampl o Ferf yn gweithredu ar beth.—Yr wyf yn *taro* y bwrdd, yn *cau* y llyfr, yn *rhwygo* y papur.

6. Rhoddwch siampl o Ferf yn arwyddo bod peth yn cael gweithredu arno.—Y ceffyl a *saethwyd*, a *laddwyd*, ac a *gladdwyd*.

7. Pa sawl math o Ferfau sydd yn bod?—Tri.

8. Pa rai ydynt hwy?—Gweithredol, Goddefol, a Chanolig.

9. Beth yw Berf Weithredol? —Berf ag sydd yn dynodi gweithred yn dyfod oddiwrth *weithredydd* at *wrthddrych.*

Y mae Berf Weithredol yn dynodi gweithrediadau y meddwl, a'r nwydau, cyn cystal a gweithrediadau y corff; megys, Yr wyf yn *ystyried* y pwnc, yr wyf yn *canmawl* y dyn, yr wyf yn *casau* drygioni.

10. Beth yw Berf Oddefol?—Berf yn dynodi derbyniad gweithred.

11. Beth yw Berf Ganolig?—Berf yn arwyddo bôd, agwedd, neu weithred yn gyfyngedig i'r gweithredydd.

12. Pa Ferf yw *yr wyf?*—Ganolig.

13. Paham?—Am ei bod yn arwyddo bôd.

14. Pa Ferfau ydynt *sefyll, eistedd, gorwedd?*—Canolig.

15. Paham?—Am eu bod yn arwyddo agwedd.

16. Pa Ferfau ydynt *cerdded, rhedeg, nofio dawnsio?*—Canolig.

17. Paham?—Am eu bod yn arwyddo gweithred yn gyfyngedig i'r gweithredydd. Nid ydynt yn gofyn gwrthddrych ar eu holau ag y gweithredir arno.

18. Pa Ferfau ydynt *taro, cau, rhwygo?*—Gweithredol.

19. Paham?—Am eu bod yn gofyn gwrthddrych ar eu holau ag y gweithredir arno.

20. Pa Ferfau ydynt *saethwyd, lladdwyd, claddwyd?*—Goddefol.

21. Paham?—Am eu bod yn gofyn enwi y gwrthddrych ag y gweithredir arno, tra y gellir gadael y gweithredydd yn anenghrybwylledig.

## PENNOD XVI.

### Am Foddau.—*Of Moods.*

Mae gan Ferfau *bump* o Foddau; sef, y Mynegol, y Galluogol, y Gorchymynol, yr Amodol, a'r Annherfynol.

Y Modd Mynegol a fynega beth; megys, Efe a gâr, efe a gerir. Arferir ef hefyd i wneyd arholiad; megys, A wyt ti yn fy ngharu i?

Y Modd Galluogol a ddynoda bosibilrwydd, rhyddid, gallu, ewyllys, neu rwymedigaeth; megys, *gall* y gwynt

*chwythu ; medrwn gerdded;* ni *wnai aros* ; *dylech ufuddhau* i'ch rhieni.

Y Modd Amodol a ddengys beth dan amod, tebygiaeth, dymuniad, &c., ac a ragflaenir gan gysylltiad, ac a ddylynir hefyd gan Ferf arall; megys, Os *wyt* yn ofni, paid â myned; pe *byddai* i mi fyw yn dduwiol, byddwn yn ddedwydd.

Y Modd Gorchymynol a orchymyna, a gynghora, a ddeisyfa, neu a ganiatâ; megys, *Gwna* hyn; *cofia* dy Greawdwr; *gwrandewch*, O fy mhobl; *dos* ymaïth.

Y Modd Annherfynol a fynega beth mewn modd cyffredinol, heb un cyfeiriad at rif na pherson; megys, *caru, dysgu, rhedeg.* Dyma yr unig Fodd a geir mewn Geiriaduron.

Ffurfir y Modd Mynegol, y Modd Gorchymynol, a'r Modd Annherfynol, gan derfyniadau priodol iddynt eu hunain; ond ffurfir y Modd Galluogol â'r Modd Annherfynol â Berf Gynorthwyol, a ffurfir y Modd Amodol â Modd Mynegol neu Alluogol a Chysylltiad. Felly nid oes yn briodol yn Gymraeg ond tri Modd—y Mynegol, y Gorchymynol, a'r Annherfynol.

Mae gwreiddyn Berf yn gyffredin yn gynwysedig o Enw neu Atenw, a ffurfia yn fynych ail berson unigol y Modd Gorchymynol; megys,

| Gwraidd. | Enw. | Modd Gorch. |
|---|---|---|
| câr | câr | câr |
| ateb | ateb | ateb |
| marchog | marchog | marchog |
| llef | llef | llef |
| tro | tro | tro |
| cais | cais | cais |
| dechreu | dechreu | dechreu |
| ffo | ffo | ffo |
| llanw | llanw | llanw |

Chwanegir *a* neu *ia* yn fynych at y gwreiddyn i ffurfio ail berson unigol y Modd Gorchymynol; megys,

| Gwraidd. | Enw. | Modd Gorch. |
|---|---|---|
| enw | enw | enw-a |
| cais | cais | ceis-ia |
| gwledd | gwledd | gwledd-a |
| cynyg | cynyg | cynyg-ia |

| Gwraidd. | Atenw. | Modd Gorch. |
| --- | --- | --- |
| byw | byw | byw-hâ |
| glân | glân | glan-hâ |
| trist | trist | trist-â |
| cyfiawn | cyfiawn | cyfiawn-hâ |

Weithiau ffurfir y Modd Annherfynol hefyd, a thrydydd person unigol (dyfodol) y Modd Mynegol, o wreiddyn y Ferf; megys,

| Gwraidd. | Modd Annher. | Modd Myn. |
| --- | --- | --- |
| edrych | edrych | edrych |
| gofyn | gofyn | gofyn |
| erfyn | erfyn | erfyn |
| arwain | arwain | arwain |

Ond yn gyffredin ffurfir y Modd Annherfynol, a'r trydydd person unigol dyfodol, trwy chwanegu sill at y gwreiddyn, neu newid unseiniad; megys *gadael*, *sefyll*, *rhedeg*, *tewi*, &c., o *gad*, *sef*, *rhed*, *taw*, &c. ; ac *etyb*, *try*, *saif*, *deffry*, &c., o *ateb*, *tro*, *saf*, *deffro*, &c.

Y sillau a chwanegir at y gwreiddyn i ffurfio y Modd Annherfynol sydd o ddau fath—sillau yn terfynu â chydsain; megys, *ael*, *aeth*, *ain*, *yd*, *yll*, *ed*, *ain*, *eg*: a'r unseiniaid *a*, *u*, *i*, *o* (neu *aw*), ac io (neu *iaw*).* Y terfyniadau unseiniadol a ddefnyddir fynychaf.

| | | |
| --- | --- | --- |
| caff-ael | sef-yll | tro-i |
| marchog-aeth | gwel-ed | trista-u† |
| llef-ain | hed-eg | cwymp-o |
| dywed-yd | gwledd-a | cof-io |

## ADCHWILIAD I'R CHWECHED BENNOD AR DDEG.

1. Pa nifer o Foddau sydd yn perthyn i Ferf?—Pump.

2. Pa rai ydynt hwy?—Y Mynegol, y Galluogol, y Gorchymynol, yr Amodol, a'r Annherfynol.

3. Beth yw defnydd y Modd Mynegol?—Mynegu peth, neu wneyd arholiad.

4. Beth yw defnydd y Modd Galluogol?—Dynodi posibilrwydd, rhyddid, gallu, ewyllys, neu rwymedigaeth.

* Gwel tudal. 55.

† Pan ddefnyddir *a* o flaen y terfyniad *u* yn y Modd Annherfynol, rhaid ei defnyddio o flaen terfyniadau yr holl Foddau ac Amserau; megys, trista-wyd, triste-ais, triste-wch, tristânt.

5. Beth yw defnydd y Modd Gorchymynol?—Gorchymyn, cynghori, deisyf, neu ganiatau.

6. Beth yw defnydd y Modd Amodol?—Dangos beth dan amod, tebygiaeth, dymuniad, &c

7. Beth yw defnydd y Modd Annherfynol?—Mynegu peth mewn modd cyffredinol, heb gyfeiriad at rif a pherson.

8. Pa sawl Modd sydd yn perthyn yn briodol i'r Gymraeg?—Tri.

9. Pa rai ydynt hwy?—Y Modd Gorchymynol, y Modd Mynegol, a'r Modd Annherfynol.

10 Pa fodd y ffurfir y Moddau hyn?—Trwy chwanegu gwahanol derfyniadau at wreiddyn y Ferf.

11. Pa fodd y ceir hyd i wreiddyn y Ferf?—Mae ail berson unigol y Modd Gorhymynol yn gynwysedig naill ai o wreiddyn y Ferf, neu o chwanegiad *a* neu *ia* at y gwreiddyn.

12. Pa rannau ymadrodd yn gyffredin a ffurfiant wreiddiau Berfau?—Enw ac Ateuw.

## PENNOD XVII.

### AM AMSERAU.—*Of Tenses.*

RHAID i ba beth bynag y gellir ei fynegu am unrhyw beth gael ei fynegu fel wedi myned heibio, neu fel yn bresenol, neu fel yn ddyfodol.

#### AM AMSER PRESENOL.

Wrth Amser Presenol y meddylir, unrhyw gyfran o amser a fyddo yn cynwys yr eiliad presenol; megys, y dydd hwn; y canrif hwn.

Y mae dau Amser yn perthyn i'r Amser Presenol; sef, y *Presenol*, a'r *Perffaith Presenol.*

Y mae yr Amser Presenol yn son am beth a ddygwydd mewn rhyw gyfran o amser a fyddo yn cynwys yr eiliad presenol; megys, carwyf, neu yr wyf yn caru.

Arferir yr Amser Presenol,

1. I adrodd gosodiadau sydd bob amser yn wirionedd; megys, Y mae dau a dau yn gwneyd pedwar.

2. I adrodd arferion; megys, Y *mae* ef yn fynych yn rhodio ac yn myfyrio. Y *mae* ef yn arfer trewlwch. Y *mae* ef yn yfed yn drwm.

3. Arferir ef am awdwyr ac am baeriadau yn eu gweithydd presenol, pa un bynag a fyddo yr awdwyr wedi marw, neu yn fyw; megys, *Dywed* Homer.

Y mae yr Amser Perffaith Presenol yn mynegi gweithred neu ddygwyddiad a fyddo wedi ei gwblhau neu ei orpheu mewn ysbaid o amser a gynwys yr eiliad presenol; megys, "Yr *wyf wedi ysgrifenu* llythyr."

Yma sonir am yr ysgrifenu fel wedi ei orphen, ond nis gellir gwybod, heb gynorthwy rhyw air cynorthwyol, pa un ai, "Yr wyf wedi ysgrifenu *yn awr, heddyw*, neu y *flwyddyn hon*, &c.," a feddylir.

### AM AMSER GORPHENOL.

Y mae dau Amser yn perthyn i'r Amser Gorphenol; sef, y *Gorphenol*, a'r *Perffaith Gorphenol*. Y mae y ddau Amser yma yn cau allan bob delfryd am yr eiliad presenol.

Y mae yr Amser Gorphenol yn son am weithred neu amgylchiad a ddygwyddodd mewn amser nad oes un rhan ohono yn aros yn awr; megys, "Ysgrifenais," neu, "yr oeddwn yn ysgrifenu."

Y gwahaniaeth rhwng yr Amser Gorphenol a'r Amser Perffaith Presenol yw, fod y blaenaf yn son am beth a ddygwyddodd mewn amser fyddo wedi *myned heibio o'l*: megys, "Yr *oeddwn* yn sâl ddoe:" a'r olaf, am beth a ddygwyddodd mewn amser na fyddo wedi myned heibio oll; megys, "*Yr wyf wedi ei weled* ef yr wythnos hon."—Ni chedwir y gwahaniaeth a nodasom rhwng y ddau Amser yma, am a wyddom, gan un ysgrifenydd Cymreig; eithr arferir yr Amser Gorphenol pan sonir am weithred a fyddo wedi cymeryd lle mewn ysbaid o amser a gynwys yr eiliad presenol; megys, "*Gwelais* ef yr wythnos hon, neu y dydd hwn," yn lle; "Yr wyf wedi ei weled ef yr wythnos hon, &c." Modd bynag, pe cedwid y gwahaniaeth a nodwyd genym, fel y gwneir yn y Seisneg, tybiwn y cyfranai yn fawr at eglurder ymadrodd.

Arferir yr Amser Perffaith Gorphenol i ddynodi darfod gorphengweithred neu ddygwyddiad mewn cyfnod blaenorol i weithred neu ddygwyddiad arall, a fyddo hefyd

wedi myned heibio; megys, "Yr *oeddwn wedi ysgrifenu* llythyr *cyn* i'r post ddyfod i mewn."

Arferir yr Amser Gorphenol yn fynych yn anmhriodol yn lle yr Amser Perffaith Gorphenol; megys, "*Gwelodd* ef y dyn cyn hyny;" yn lle, "*Yr oedd* ef *wedi gweled* (neu *gwelsai* ef) y dyn cyn hyny."

AM YR AMSER DYFODOL.

Y mae dau Amser yn perthyn i'r Amser Dyfodol; sef y *Dyfodol*, a'r *Perffaith Dyfodol*.

Sonia y Dyfodol am weithred neu ddygwyddiad fel eto i ddyfod; megys, "Ysgrifenaf."

Dynoda y Perffaith Dyfodol y bydd i weithred neu ddygwyddiad dyfodol gael ei gwbl orphen erbyn neu cyn y bydd i weithred neu ddygwyddiad dyfodol arall gymeryd lle; megys, "*Byddaf wedi* ciniawa *cyn* un o'r gloch."

---

ADCHWILIAD I'R SEITHFED BENNOD AR DDEG.

1. Pa sawl Amser sydd yn bod?—Chwech.

2. Pa rai ydynt hwy?—Y Presenol, a'r Perffaith Presenol; y Gorphenol, a'r Perffaith Gorphenol; y Dyfodol, a'r Perffaith Dyfodol.

3. Pa bryd yr arferir yr Amser Presenol?—Pan sonir am beth a ddygwyddo mewn rhyw gyfran o amser a fyddo yn cynwys yr eiliad presenol.

4. Pa bryd yr arferir yr Amser Perffaith Presenol?—Pan sonir am weithred neu ddygwyddiad a fyddo wedi ei orphen mewn ysbaid o amser a gynwys yr eiliad presenol.

5. Pa bryd yr arferir yr Amser Gorphenol?—Pan sonir am weithred neu ddygwyddiad a gymerodd le mewn ysbaid o amser nad oes un rhan ohono yn aros yn awr.

6. Pa bryd yr arferir yr Amser Perffaith Gorphenol?—Pan sonir am rywbeth wedi ei orphen o flaen rhyw ddygwyddiad arall.

7. Pa bryd yr arferir Amser Dyfodol?—Pan sonir am rywbeth i ddyfod.

8. Pa bryd yr arferir yr Amser Perffaith Dy odol?—Pan y sonir am rywbeth dyfodol wedi ei gwbl orphen erbyn ne cyn y bydd i ryw ddygwyddiad arall gymeryd lle.

9. Beth yw y gwahaniaeth rhwng yr Amser Perffaith Presenol a'r Amser Gorphenol?—Y mae y Perffaith Presenol yn cyfeirio at ysbaid o amser yn cynwys yr eiliad presenol, a thrwy hyny nis gellir dywedyd, Yr *wyf wedi ei weled* y flwyddyn ddiweddaf, na'r wythnos ddiweddaf, nac yn y boreu, am nad yw yr ysbeidiau yna yn cynwys yr eiliad presenol. Byddai yn rhaid arfer yr Amser Gorphenol, a dywedyd, *Gwelais* ef y flwyddyn ddiweddaf, yr wythnos ddiweddaf, &c. Drachefn, y mae yr Amser Gorphenol yn cyfeirio at ysbaid sydd wedi myned heibio *oll;* a thrwy hyny nis gellir dywedyd, *Gwelais* ef y flwyddyn hon, yr wythnos hon, neu heddyw, am eu bod yn cynwys yr eiliad presenol; eithr byddai yn rhaid arfer y Presenol Perffaith, a dywedyd, Yr wyf wedi ei weled ef y flwyddyn hon, yr wythnos hon, &c.

---

## PENNOD XVIII.

### AM DREIGLIAD BERFAU.—*Of the Conjugation of Verbs.*

TREIGLIAD Berf yw trefniad rheolaidd ei Moddau, ei Hamserau, ei Rhifau, a'i Phersonau.

Nid oes yn y Gymraeg ond deg o derfyniadau yn y person cyntaf i nodi y gwahanol Foddau ac Amserau; sef, *wyf, wn, ais, aswn, af,* yn perthyn i'r Ferf Weithredol; ac *ir, id, wyd, esid, er,* yn perthyn i'r Ferf Oddefol.

Mewn rhai ieithoedd, amlygir y gwahanol Foddau ac Amserau, bron oll, trwy dreigliad yr un gair, hyny yw, trwy newid ei derfyniad; ond yn ein hiaith ni, fel yn y Seisneg, fe'u hamlygir yn gyffredin, nid trwy dreigliad y brif Ferf, ond trwy gynorthwy Berfau ereill, pa rai a alwn, *Berfau Cynorthwyol.* Y rhai hyn ydynt, *gallu, medru, bod, dylwn, cael,* gyda'u hamrywiadau, a *rhaid* a *dichon,* y rhai nad oes amrywiadau yn perthyn iddynt.

TREIGLIAD Y CYNORTHWYOLION *(Auxiliary Verbs).*

*Gallu* a *Medru.*

Amser Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gallaf *neu* medraf | 1. Gallwn *neu* medrwn |
| 2. Gelli *neu* medri | 2. Gallwch *neu* medrwch |
| 3. Gall *neu* medr | 3. Gallant *neu* medrant |

### Amser Gorphenol. (1*af.*)

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gallwn *neu* medrwn* | 1. Gallem *neu* medrem |
| 2. Gellit *neu* medrit | 2. Gallech *neu* medrech |
| 3. Gallai *neu* medrai | 3. Gallent *neu* medrent |

### Amser Gorphenol. (2*il.*)

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gellais *neu* medrais | 1. Gallasom *neu* medrasom |
| 2. Gellaist *neu* medraist | 2. Gallasoch *neu* medrasoch |
| 3. Gallodd *neu* medrodd | 3. Gallasant *neu* medrasant |

### Amser Perffaith Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gallaswn *neu* medraswn | 1. Gallasem *neu* medrasem |
| 2. Gallasit *neu* medrasit | 2. Gallasech *neu* medrasech |
| 3. Gallasai *neu* medrasai | 3. Gallasent *neu* medrasent |

### Amser Dyfodol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gallaf *neu* medraf | 1. Gallwn—om, medrwn—om |
| 2. Gelli *neu* medri | 2. Gallwch—och, medrwch—och |
| 3. Gall, gallo, *neu* medr, medro | 3. Gallant—ont, medrant—ont |

## Ffurf Oddefol.

*Amser Presenol.*—Gellir *neu* medrir

Amser Gorphenol.

Gellid *neu* medrid, *a* gallwyd *neu* medrwyd

Amser Perffaith Gorphenol.

Gallasid *neu* medresid

Mae *Dichon* a *rhaid* hefyd yn Ferfau Cynorthwyol, ond nid oes amrywiadau yn perthyn iddynt. Trwy hyn, pan fyddo eisieu nodi personau, arferir y Rhagenwau, gyda *i* o'u blaen; megys,

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Dichon i mi | 1. Dichon i ni |
| 2. Dichon i ti | 2. Dichon i chwi |
| 3. Dichon iddo ef, *neu* iddi hi | . Dichon iddynt hwy |

Pan arferir Enw yn lle Rhagenw, deolir yr *i* yn fynych ar ol *dichon;* megys, "Ni ddichon cig a gwaed, &c." Ond fe'i harferir bob amser ar ol *rhaid;* megys, "Rhaid *i* Elias ddyfod yn gyntaf."

*Arferir yr amser yn terfynu yn *wn* yn yr amser *presenol* a'r *dyfodol,* yn gystal ag yn y *gorphenol;* megys, "Gallwn ei wneyd ef ddoe, yn awr, neu fory."

*Dylwn.*

Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Dylwn | 1. Dylem |
| . Dylit | 2. Dylech |
| 3. Dylai | 3. Dylent |

Amser Perffaith Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Dylaswn | 1. Dylasem |
| 2. Dylasit | 2. Dylasech |
| 3. Dylasai | 3. Dylasent |

*Cael* neu *caffael.**

Modd Mynegol.

Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Cefais | 1. Cawsom |
| 2. Cefaist | 2. Cawsoch |
| 3. Cafodd | 3. Cawsant |

Amser Perffaith Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Cawswn | 1. Cawsem |
| 2. Cawsit | 2. Cawsech |
| 3. Cawsai | 3. Cawsent |

Amser Dyfodol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Caf *neu* caffwyf | 1. Cawn *neu* caffom |
| 2. Cai *neu* ceffych | 2. Cewch *neu* caffoch |
| 3. Ca, caiff, *neu* caffo | 3. Cant *neu* caffont |

Modd Amodol.

Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Pe cawn *neu* caffwn | 1. Pe caem *neu* caffem |
| 2. Pe cait *neu* caffit | 2. Pe caech *neu* caffech |
| 3. Pe cai *neu* caffai | 3. Pe caent *neu* caffent |

Amser Perffaith Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Pe cawswn | 1. Pe cawsem |
| 2. Pe cawsit | 2. Pe cawsech |
| 3. Pe cawsai | 3. Pe cawsent |

* Y mae *Cael* yn Brif Ferf yn gystal ag yn Ferf Gynorthwyol.

### Modd Gorchymynol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| Caed *neu* caffed | Caffent |

## FFURF ODDEFOL.

### Modd Mynegol.

Amser Gorphenol.

Cafwyd *neu* caed, *a* ceid

Amser Dyfodol.

Ceir

### Modd Gorchymynol

Caffer

### Modd Amodol.

Amser Gorphenol.

Pe ceid

Amser Perffaith Gorphenol.

Pe cawsid

### Modd Annherfynol.

Cael *neu* caffael

*Amser Presenol.*—Yn cael *Amser Gorphenol.*—Wedi cael.

---

## ADCHWILIAD I'R WYTHFED BENNOD AR DDEG.

1. Pa beth yr ydych yn ei feddwl wrth dreigliad Berfau?—Trefniad rheolaidd eu Moddau, Amserau, Rhifau, a Phersonau.

2. Pa nifer o derfyniadau i nodi y gwahanol Foddau ac Amserau sydd yn perthyn i'r Ferf Weithredol yn y person cyntaf?—Pump.

3. Pa rai ydynt hwy?—*Wyf, wn, ais, aswn, af.*

4. Onid arferir y terfyniadau *ai, em, aist odd,* &c., yn nhreigliad y Ferf Weithredol?—Gwneir; ond y maent yn perthyn i'r un Moddau ac Amserau a'r pump terfyniad a enwais: nid ydynt yn amrywio oddiwrthynt ond mewn Personau.

5. Pa nifer o derfyniadau sydd yn perthyn i'r Ferf Oddefol?—Pump.

6. Pa rai ydynt hwy?—*Ir, id, wyd, esid, er.*

7. Pa beth a feddyliwch wrth Ferfau Cynorthwyol?—Berfau

ag sydd yn cynorthwyo y Prif Ferfau i ffurfio y gwahanol Foddau, Amserau, &c.

8. Pa rai ydynt y Berfau Cynorthwyol?—*Gallu, medru, bod, dylwn, cael, rhaid*, a *dichon.*

9. Pa rai o'r rhai hyn sydd heb amrywiad yn perthyn iddynt? —*Rhaid* a *dichon.*

10. I ba amser y mae *gallwn* yn perthyn?—I'r Amser Gorphenol.

11. Onid arferir ef i ddynodi Amserau ereill?—Gwneir: arwydda weithiau y Presenol a'r Dyfodol.

12. I ba amser y mae *gellais* yn perthyn?—I'r Amser Gorphenol.

13. Beth yw y gwhaniaeth rhwng *gallwn* a *gellais*?—Y mae *gallwn* yn dynodi *gallu* yn unig, ond y mae *gellais* yn arwyddo gallu wedi ei ddwyn i weithrediad. Er engraifft, wrth ddywedyd, "*Gallwn* i fyned yno yn rhwydd ddoe," yr wyf yn arwyddo yn unig fod genyf allu i fyned; ond wrth ddywedyd "*Gellais* i fyned yno yn rhwydd ddoe," yr wyf yn arwyddo nid yn unig fod genyf allu, ond hefyd ddarfod i mi fyned yno.

14. A arferir *Cael* fel Prif Ferf yn gystal ag fel Berf Gynorthwyol?—Gwneir.

15. Rhoddwch siampl.—Yn y froddeg, "Y mae efe yn cael ei holi," y mae *Cael* yn gwasanaethu fel Berf Gynorthwyol i *Holi*; ond yn y froddeg, "Nid wyf fi yn cael un bai ynddo," y mae yn Brif Ferf.

## PENNOD XIX.

### AM DREIGLIAD BERFAU.—(*Parhad.*)

MAE'r Ferf Bod yn aml yn gwasanaethu fel Berf Gynorthwyol.

Mae yn perthyn i'r Ferf Bod *Ffurf Gysylltiol*, trwy ba un y cyflawna swydd Cysylltiad a Berf ar yr un waith. Nid yw y ffurf yma yn perthyn ond i rai o'r Amserau yn y Modd Mynegol. Rhaid i'r Amserau nad ydynt yn ei meddu ddefnyddio y Cysylltiad *mai* neu *y* yn ei lle. I wneyd y sylwadau hyn yn fwy dealladwy, nyni a nodwn rai engreifftiau. Gallwn droi y froddeg, *Y mae efe yn deall*," i'r Ffurf Gysylltiol, fel y canlyn,—"*Ei fod ef yn deall* sydd eglur." Gallwn hefyd droi y ferf

yn y frawddeg, "Bu *efe yno,*" fel y canlyn,—" Darfod *iddo ef* fod *yno* sydd amlwg." Ond pan nad yw y Ferf yn meddu Ffurf Gysylltiol, rhaid defnyddio *mai* neu *y;* megys, "*Efe* yw *y dyn;*" "Mai *efe* yw *y dyn* sydd amlwg." "*Efe* sydd *yn byw yno yn awr;*" "Mai *efe* sydd *yn byw yno yn awr* sydd eglur." "Bydd *efe gartref yn y prydnawn;*" "Y bydd *efe gartref yn y prydnawn* sydd yn eithaf tebygol."

### *Bod*

## Modd Mynegol.

### Amser Presenol.

| | *Unigol.* | Ffurf Gysylltiol. | | *Lluosog.* | Ffurf Gysylltiol. |
|---|---|---|---|---|---|
| 1. | Yr wyf | (Fy mod) | 1. | Yr ŷm | (Ein bod) |
| 2. | Yr wyt | (Dy fod) | 2. | Yr ŷch | (Eich bod) |
| 3. | { Y mae / Yw* / Sydd / Oes } | (Ei fod) | 3. | { Y maent / Ynt / Sydd / Oes } | (Eu bod) |

### Amser Perffaith Presenol.

*Unigol.*

| | | Furf Gysylltiol. |
|---|---|---|
| 1. | Yr wyf wedi bod | (Fy mod wedi bod) |
| 2. | Yr wyt wedi bod | (Dy fod wedi bod) |
| 3. | Y mae wedi bod | (Ei fod wedi bod) |

*Lluosog.*

| | | Ffurf Cysylltiol. |
|---|---|---|
| 1. | Yr ŷm wedi bod | (Ein bod wedi bod) |
| 2. | Yr ŷch wedi bod | (Eich bod wedi bod) |
| 3. | Y maent wedi bod | (Eu bod wedi bod) |

### Amser Gorphenol.

| | *Unigol.* | Ffurf Gysylltiol. | | *Lluosog.* | Ffurf Gysylltiol. |
|---|---|---|---|---|---|
| 1. | Bûm | (Darfod i mi fod) | 1. | Buom | (Darfod i ni fod) |
| 2. | Buost | (Darfod i ti fod) | 2. | Buoch | (Darfod i chwi fod) |
| 3. | Bu | (Darfod iddo ef fod) | 3. | Buont | (Darfod iddynt fod) |

* Nid oes Ffurf Gysylltiol yn perthyn i *yw* a *sydd,* eithr arferir y Cysylltiad *mai* o'u blaen i ateb yr un dyben. Nid arferir y Ffurf Gysylltiol un amser ar ol *ni* neu *nid.* Atebir yr un dyben trwy droi y rhai hyn i *na* neu *nad,*

### Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Byddwn *neu* yr oeddwn* | 1. Byddem *neu* yr oeddem |
| 2. Byddit *neu* yr oeddit | 2. Byddech *neu* yr oeddech |
| 3. Byddai *neu* yr oedd† | 3. Byddent *neu* yr oeddent |

### Amser Perffaith Gorphenol.‡

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Buaswn, yr oeddwn wedi bod | 1. Buasem, yr oeddem wedi bod |
| 2. Buasit, yr oeddit wedi bod | 2. Buasech, yr oeddech wedi bod |
| 3. Buasai, yr oedd wedi bod | 3. Buasent, yr oeddent wedi bod |

### Amser Dyfodol.§

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Byddaf | 1. Byddwn *neu* byddom |
| 2. Byddi | 2. Byddwch *neu* byddoch |
| 3. Bydd, byddo, *neu* bo | 3. Byddant *neu* byddont |

### Amser Perffaith Dyfodol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Byddaf wedi bod | 1. Byddwn wedi bod |
| 2. Byddi wedi bod | 2. Byddwch wedi bod |
| 3. Bydd wedi bod | 3. Byddant wedi bod |

## Modd Gorchymynol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Bydded i mi fod | 1. Byddwn, *neu* bydded i ni fod |
| 2. Bydd, *neu* bydded i ti fod | 2. Byddwch, *neu* bydded i chwi fod |
| 3. Bydded, boed, *neu* bid | 3. Byddent, *neu* bydded iddynt fod |

## Modd Galluogol.

### Amser Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gallaf *neu* medraf fod ‖ | 1. Gallwn *neu* medrwn fod |
| 2. Gelli *neu* medri fod | 2. Gallwch *neu* medrwch fod |
| 3. Gall, medr, *neu* dichon fod | 3. Gallant *neu* medrant fod |

* Nid oes gan Byddwn un Ffurf Gysylltiol, eithr arfera y Cysylltiad *y* yn ei lle. Y mae Ffurf Gysylltiol Oeddwn fel eiddo yr Amser Presenol.

† Arferir yn gyffredin y blaenddawd *yd* o flaen *wyf*, *wyt*, *yw*, a'u lluosogion, ac hefyd o flaen *oedd*; megys, *ydwyf*, *ydwyt*, *ydyw*, *ydoedd*.

‡ Y mae Ffurf Gysylltiol yr Amser hwn fel eiddo yr Amser Perffaith Presenol.

§ Nid oes Ffurf Gysylltiol yn perthyn i'r Amser hwn, na chwaith i'r Amser Perffaith Dyfodol, na'r Modd Mynegol, eithr defnyddir y Cysylltiad *y* gyda'r Ferf i ateb yr un ateb.

‖ At y rhai hyn gellid chwanegu *rhaid* a *dichon*, ond eu bod, fel y nodwyd, o'r blaen yn gofyn dull arall o dreigliad.

## Amser Perffaith Presenol.*

*Unigol.*

1. Dichon *neu* rhaid fy mod wedi bod
2. Dichon *neu* rhaid dy fod wedi bod
3. Dichon *neu* rhaid ei fod wedi bod

*Lluosog.*

1. Dichon *neu* rhaid ein bod wedi bod
2. Dichon *neu* rhaid eich bod wedi bod
3. Dichon *neu* rhaid eu bod wedi bod

## Amser Gorphenol.

*Unigol.*

1. Gellais, gallwn, medrwn, cawn, *neu* dylwn fod
2. Gellaist, gellit, medrit, cait, neu dylit fod
3. Gallodd, gallai, medrai, cai, *neu* dylai fod

*Lluosog.*

1. Gallasom, gallem, medrem, caem, *neu* dylem fod
2. Gallasoch, gallech, medrech, caech, *neu* dylech fod
3. Gallasant, gallent, medrent, caent, *neu* dylent fod

## Amser Perffaith Gorphenol.

*Unigol.*

1. Buaswn; gallaswn, medraswn, *neu* dylaswn fod
2. Buasit; gallasit, medrasit, *neu* dylasit fod
3. Buasai; gallasai, medrasai, *neu* dylasai fod

*Lluosog.*

1. Buasem; gallasem, medrasem, *neu* dylasem fod
2. Buasech; gallasech, medrasech, *neu* dylasech fod
3. Buasent; gallasent, medrasent, *neu* dylasent fod †

# Modd Amodol ac Eiddunedigol.‡

## Amser Presenol.

*Unigol.*

1. Pe byddwn *neu* pe bawn
2. Pe byddit *neu* pe baet
3. Pe byddai *neu* pe bae

*Luosog.*

1. Pe byddem *neu* pe baem
2. Pe byddech *neu* pe baech
3. Pe byddent *neu* pe baent

* Gellid treiglo hwn mewn dull arall: fel hyn,—
1. "Dichon *neu* rhaid ddarfod i mi fod."
Yr un modd gyda'r personau ereill, ond newid y Rhagenw.

† Treiglir yr Amser hwn mewn dull arall fel hyn,—
1. Gallwn, medrwn, *neu* dylwn fod wedi bod
2. Gellit, medrit, *neu* dylit fod wedi bod
3. Gallai, medrai, *neu* dylai fod wedi bod
Y Lluosog yr un modd.

‡ Gellir treiglo y Modd Amodol âg *O na*, yr hyn a'i gwna yn Fodd Eiddunedigol; megys, "O na bawn! &c. Arferir *o*, *od*, *os*, o flaen y Modd Mynegol, yr hyn a'i gwna yn Fodd Amodol; megys, "Os bu ef yno, af finau."

### Amser Perffaith Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Pe byddwn wedi bod | 1. Pe byddem wedi bod |
| 2. Pe byddit wedi bod | 2. Pe byddech wedi bod |
| 3. Pe byddai wedi bod | 3. Pe byddent wedi bod |

### Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Pe buaswn | 1. Pe buasem |
| 2. Pe buasit | 2. Pe buasech |
| 3 Pe buasai | 3. Pe buasent |

### Amser Perffaith Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Pe buaswn wedi bod | 1. Pe buasem wedi bod |
| 2. Pe buasit wedi bod | 2. Pe buasech wedi bod |
| 3. Pe buasai wedi bod | 3. Pe buasent wedi bod |

### Amser Dyfodol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Pe byddai i mi fod | 1. Pe byddai i ni fod |
| 2. Pe byddai i ti fod | 2. Pe byddai i chwi fod |
| 3. Pe byddai iddo ef fod | 3. Pe byddai iddynt fod |

### Modd Annherfynol.

Bod

| *Amser Presenol.* | *Amser Gorphenol* |
|---|---|
| Yn bod | Wedi bod |

Pan y mae Berfau yn cytuno â Rhagenwau, fel yn y siamplau blaenorol, fe'u gelwir yn *Ferfau Personol*; ond pan na chysylltant â Rhagenwau, fe'u gelwir yn *Ferfau Anmhersonol.* Y canlynol sydd dreigliad o ffurf Anmhersonol y Ferf Bod :—

*Amser Presenol.*—Ydys, byddys.
*Amser Gorphenol.*—Buwyd.
*Amser Gorphenol.*—Byddid, oeddid.
*Amser Perffaith Gorphenol.*—Buasid.

Treiglir Berfau yn tarddu o Bod; megys, Canfod Darfod, Gorfodi, Cydnabod, fel Bod.

---

### ADCHWILIAD I'R NAWFED BENNOD AR DDEG.

1. A ydyw y Ferf Bod weithiau yn gwasanaethu fel Berf Gynorthwyol?—Ydyw.

2. Rhoddwch i mi siampl o arferiad y Ferf Bod fel Prif Ferf.—Yn y froddeg, "Y mae y plant yn yr ysgol," yr unig Ferf yw *mae*, pa un o ganlyniad a raid fod yn Brif Ferf.

3. Rhoddwch i mi siampl o arferiad 'y Ferf Bod fel Berf Gynorthwyol.—Yn y froddeg, "Y mae efe yn eistedd," *mae* sydd Ferf Gynorthwyol i'r Ferf *yn eistedd.*

4. Beth a feddylir wrth Ffurf Gysylltiol y Ferf Bod?—Ffurf trwy ba un y mae yn cyflawni swydd Cysylltiad a Berf ar yr un waith.

5. Beth yw Ffurf Gysylltiol *yr wyf*?—Fy mod.

6. Beth yw Ffurf Gysylltiol *yr oeddwn*?—Fy mod.

7. Rhoddwch siampl.—Yr *oedd* efe yn y dref ddoe. Wrth arferyd y Ffurf Gysylltiol dywedwn, "Yr wyf yn credu ei *fod* ef yn y dref ddoe."

8. Beth yw Ffurf Gysylltiol *byddaf*?—Nid oes Ffurf Gysylltiol yn perthyn i'r Amser yma, eithr yn ei lle defnyddir y Cysylltiad *y* gyda'r Ferf.

9. Rhoddwch siampl.—"Bydd efe yn y dref y fory"—"Yr wyf yn credu *y* bydd efe yn y dref y fory."

---

## PENNOD XX.

### Am Dreigliad Berfau Rheolaidd.—*Of the Conjugation of Regular Verbs.*

Berf Reolaidd yw hono a ffurfia y person cyntaf unigol o'i gwahanol amserau trwy chwanegu, *wyf, wn, ais, aswn,* neu *af,* at ei gwreiddyn.

*DYSGU.—Berf Weithredol.*

Modd Mynegol.

Amser Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Dysgaf | 1. Dysgwn |
| 2. Dysgi | 2. Dysgwch |
| 3. Dysga | 3. Dysgant |

Amser Perffaith Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Yr wyf wedi dysgu | 1. Yr ŷm wedi dysgu |
| 2. Yr wyt wedi dysgu | 2. Yr ŷch wedi dysgu |
| 3. Y mae wedi dysgu | 3. Y maent wedi dysgu |

Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Dysgais | 1. Dysgasom |
| 2. Dysgaist | 2. Dysgasoch |
| 3. Dysgodd | 3. Dysgasant |

### Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Dysgwn | 1. Dysgem |
| 2. Dysgit | 2. Dysgech |
| 3. Dysgai | 3. Dysgent |

### Amser Perffaith Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Dysgaswn, *neu* yr oeddwn wedi dysgu | 1. Dysgasem, *neu* yr oeddem wedi dysgu |
| 2. Dysgasit, *neu* yr oeddit wedi dysgu | 2. Dysgasech *neu* yr oeddech wedi dysgu |
| 3. Dysgasai, *neu* yr oedd wedi dysgu | 3. Dysgasent, *neu* yr oeddent wedi dysgu |

### Amser Dyfodol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Dysgaf | 1. Dysgwn |
| 2. Dysgi | 2. Dysgwch |
| 3. Dysga, dysgo | 3. Dysgant, dysgont |

### Amser Perffaith Dyfodol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Byddaf wedi dysgu | 1. Byddwn wedi dysgu |
| 2. Byddi wedi dysgu | 2. Byddwch wedi dysgu |
| 3. Bydd wedi dysgu | 3. Byddant wedi dysgu |

## Modd Gorchymynol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Bydded i mi ddysgu | 1. Dysgwn, bydded i ni ddysgu |
| 2. Dysg, dysga, *neu* bydded i ti dysgu | 2. Dysgwch, *neu* bydded i chwi ddysgu |
| 3. Dysged, *neu* bydded iddo ddysgu | 3. Dysgent, *neu* bydded i dynt ddysgu |

## Modd Galluogol.

### Amser Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gallaf *neu* medraf ddysgu | 1. Gallwn *neu* medrwn ddysgu |
| 2. Gelli *neu* medri ddysgu | 2. Gallwch *neu* medrwch ddysgu |
| 3. Gall, medr, *neu* dichon ddysgu | 3. Gallant, medrant, *neu* dichon ddysgu |

## Amser Perffaith Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Dichon *neu* rhaid fy mod wedi dysgu | 1. Dichon *neu* rhaid ein bod wedi dysgu |
| 2. Dichon *neu* rhaid dy fod wedi dysgu | 2. Dichon *neu* rhaid eich bod wedi dysgu |
| 3. Dichon *neu* rhaid ei fod wedi dysgu | 3. Dichon *neu* rhaid eu bod wedi dysgu |

## Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gallwn, medrwn, cawn, *neu* dylwn ddysgu | 1. Gallem, medrem, caem, *neu* dylem ddysgu |
| 2. Gellit, medrit, cait, *neu* dylit ddysgu | 2. Gallech, medrech, caech, *neu* dylech ddysgu |
| 3. Gallai, medrai, cai, *neu* dylai ddysgu | 3. Gallent, medrent, caent, *neu* dylent ddysgu |

## Amser Perffaith Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gallaswn *neu* dylaswn ddysgu | 1. Gallasem *neu* dylasem ddysgu |
| 2. Gallasit *neu* dylasit ddysgu | 2. Gallasech *neu* dylasech ddysgu |
| 3. Gallasai *neu* dylasai ddysgu | 3. Gallasent *neu* dylasent ddysgu |

## Amser Dyfodol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gallaf *neu* medraf ddysgu | 1. Gallwn *neu* medrwn ddysgu |
| 2. Gelli *neu* medri ddysgu | 2. Gallwch *neu* medrwch ddysgu |
| 3. Gall, gallo, *neu* medr, medro ddysgu | 3. Gallant, gallont, *neu* medrant, medront ddysgu |

## Amser Perffaith Dyfodol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gallaf *neu* medraf fod wedi dysgu | 1. Gallwn *neu* medrwn fod wedi dysgu |
| 2. Gelli *neu* medri fod wedi dysgu | 2. Gallwch *neu* medrwch fod wedi dysgu |
| 3. Gall *neu* medr fod wedi dysgu | 3. Gallant *neu* medrant fod wedi dysgu |

# Modd Amodol ac Eiddunedigol.*

## Amser Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. sgwn *neu* pe byddai i i ddysgu | 1. Pe dysgem *neu* pe byddai i ni ddysgu |

* Gellir treiglo y Modd Amodol âg *O na*, yn lle *Pe*, yr hyn a'i gwna yn Fod Eiddunedigol; megys, "O na dysgwn," &c.

2. Pe dysgit *neu* pe byddai i ti ddysgu
3. Pe dysgai *neu* pe byddai iddo ddysgu

2. Pe dysgech *neu* pe byddai i chwi ddysgu
3. Pe dysgent *neu* pe byddai iddynt ddysgu

### Amser Perffaith Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Pe bawn wedi dysgu | 1. Pe baem wedi dysgu |
| 2. Pe bait wedi dysgu | 2. Pe baech wedi dysgu |
| 3. Pe bae wedi dysgu | 3. Pe baent wedi dysgu |

### Amser Gorphenol a Pherffaith Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Pe dysgaswn *neu* pe buaswn wedi dysgu | 1. Pe dysgasem *neu* pe buasem wedi dysgu |
| 2. Pe dysgasit *neu* pe buasit wedi dysgu | 2. Pe dysgasech *neu* pe buasech wedi dysgu |
| 3. Pe dysgasai *neu* pe buasai wedi dysgu | 3. Pe dysgasent *neu* pe buasent wedi dysgu |

## Modd Annherfynol.

*Dysgu.*

*Amser Presenol.*—Yn dysgu *Amser Gorphenol.*—Wedi dysgu

Gellir treiglo Berf trwy ei holl Foddau ac Amserau trwy chwanegu yr Amser Presenol o'r Modd Annherfynol at y Ferf *Bod.* Gellir galw hon y Ffurf Fynedol *(Progressive),* am ei bod yn mynegi *parhâd* gweithred neu sefyllfa : fel hyn,

## Modd Mynegol.

### Amser Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Yr wyf yn dysgu | 1. Yr ŷm yn dysgu |
| 2. Yr wyt yn dysgu | 2. Yr ŷch yn dysgu |
| 3. Y mae yn dysgu | 3. Y maent yn dysgu |

### Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Bûm yn dysgu | 1. Buom yn dysgu |
| 2. Buost yn dysgu | 2. Buoch yn dysgu |
| 3. Bu yn dysgu | 3. Buont yn dysgu |

### Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Yr oeddwn *neu* byddwn yn dysgu | 1. Yr oeddem *neu* byddem yn dysgu |
| 2. Yr oeddit *neu* byddit yn dysgu | 2. Yr oeddech *neu* byddech yn dysgu |
| 3. Yr oedd *neu* byddai yn dysgu | 3. Yr oeddent *neu* byddent yn dysgu |

### Amser Perffaith Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Yr oeddwn wedi bod yn dysgu | 1. Yr oeddem wedi bod yn dysgu |
| 2. Yr oeddit wedi bod yn dysgu | 2. Yr oeddech wedi bod yn dysgu |
| 3. Yr oedd wedi bod yn dysgu | 3. Yr oeddent wedi bod yn dysgu |

### Amser Dyfodol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Byddaf yn dysgu | 1. Byddwn yn dysgu |
| 2. Byddi yn dysgu | 2. Byddwch yn dysgu |
| 3. Bydd yn dysgu | 3. Byddant yn dysgu |

Gellir treiglo y Moddau ereill yr un modd, yr hyn y dichon y dysgadur, ar ol gweled treigliad y Modd Mynegol, ei wneyd ei hun.

---

## ADCHWILIAD I'R UGEINFED BENNOD.

1. Beth yw Berf Reolaidd?—Berf Reolaidd yw hono a ffurfia y person cyntaf unigol o'i gwahanol Amserau trwy chwanegu y terfyniadau rheolaidd at ei gwreiddyn.

2. Yn mha le yr ydys i gael hyd i wreiddyn y Ferf?—Yn yr ail berson o'r Modd Gorchymynol.

3. A ydyw yr ail berson o'r Modd Gorchymynol yn cael ei ffurfio bob amser o wreiddyn y Ferf yn unig?—Nac ydyw; y mae weithiau yn gofyn *a* neu *ia* gyda'r gwreiddyn.

4. Rhoddwch engraifft.—Ffurfir y Ferf *oilia* o *cil* (gwreiddyn y Ferf) ac *ia*. Hefyd, ffurfir y Ferf *pwysa* o *pwys* (gwreiddyn y Ferf) ac *a*.

5. Beth yw gwreiddyn y Ferf *chwerthin*?—Chwardd.

6. Pa fodd y gwyddoch hyny?—Trwy mai *chwardd* neu *chwardda* yw yr ail berson o'r Modd Gorchymynol.

# PENNOD XXI.

## AM DREIGLIAD BERFAU RHEOLAIDD.—*(Parhâd.)*

## *Dysgu.—FFURF ODDEFOL.*

### Modd Mynegol.

#### Amser Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Fe'm dysgir *neu* yr wyf yn cael fy nysgu * | 1. Fe'n dysgir *neu* yr ŷm yn cael ein dysgu |
| 2. Fe'th ddysgir *neu* yr wyt yn cael dy ddysgu | 2. Fe'ch dysgir *neu* yr ŷch yn cael eich dysgu |
| 3. Fe'i dysgir *neu* y mae yn cael ei ddysgu | 3. Fe'u dysgir *neu* y maent yn cael eu dysgu |

#### Amser Perffaith Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Yr wyf wedi cael fy nysgu† | 1. Yr ŷm wedi cael ein dysgu |
| 2. Yr wyt wedi cael dy ddysgu | 2. Yr ŷch wedi cael eich dysgu |
| 3. Y mae wedi cael ei ddysgu | 3. Y maent wedi cael eu dysgu |

#### Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Fe'm dysgwyd‡ *neu* cefais fy nysgu ‖ | 1. Fe'n dysgwyd *neu* cawsom ein dysgu |
| 2. Fe'th ddysgwyd *neu* cefaist dy ddysgu | 2. Fe'ch dysgwyd *neu* cawsoch eich dysgu |
| 3. Fe'i dysgwyd *neu* cafodd ei ddysgu | 3. Fe'u dysgwyd *neu* cawsant eu dysgu |

#### Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Fe'm dysgid *neu* cawn fy nysgu § | 1. Fe'n dysgid *neu* caem ein dysgu |
| 2. Fe'th ddysgid *neu* caet dy ddysgu | 2. Fe'ch dysgid *neu* caech eich dysgu |
| 3. Fe'i dysgid *neu* cai ddysgu | 3. Fe'u dysgid *neu* caen eu dysgu |

* Dull arall o dreiglo yr Amser hwn sydd fel y canlyn:—"Yr ydys yn fy nysgu, yr ydys yn dy ddysgu," &c.

† Weithiau gadewir *cael* allan; megys, "Yr wyf wedi fy nysgu.

‡ Gwneir i'r Amser yma weithiau ddiweddu yn *ed*; megys, "Yr hyn a aned o'r cnawd sydd gnawd."

‖ Dull arall, "Bûm yn cael fy nysgu," *neu*, "Buwyd yn fy nysgu," &c.

§ Dull arall, "Yr oeddid *neu* byddid yn fy nysgu," &c.

### Amser Perffaith Gorphenol.

| *Unigol* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Fe'm dysgasid *neu* cawswn fy nysgu | 1. Fe'n dysgasid *neu* cawsem ein dysgu |
| 2. Fe'th ddysgasid *neu* cawsit dy ddysgu | 2. Fe'ch dysgasid *neu* cawsech eich dysgu |
| 3. Fe'i dysgasid *neu* cawsai ei ddysgu | 3. Fe'u dysgasid *neu* cawsent eu dysgu |

### Amser Dyfodol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Fe'm dysgir *neu* caf fy nysgu | 1. Fe'n dysgir *neu* cawn ein dysgu |
| 2. Fe'th ddysgir *neu* cei dy ddysgu | 2. Fe'ch dysgir *neu* cewch eich dysgu |
| 3. Fe'i dysgir *neu* caiff ei ddysgu | 3. Fe'u dysgir *neu* cânt eu dysgu |

### Modd Gorchymynol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Dysger myfi *neu* bydded i mi gael fy nysgu | 1. Dysger nyni *neu* bydded i ni gael ein dysgu |
| 2. Dysger tydi *neu* bydded i ti gael dy ddysgu | 2. Dysger chwychwi *neu* bydded i chwi gael eich dysgu |
| 3. Dysger efe *neu* bydded iddo gael ei ddysgu | 3. Dysger hwynt-hwy *neu* bydded iddynt gael eu dysgu |

Ffurfir Modd Galluogol y Ferf Oddefol fel eiddo y Ferf Weithredol, gyda'r chwanegiad yn unig o ddefnyddiad y Ferf *Cael*; megys, "Gallaf gael fy nysgu," &c.

---

## ADCHWILIAD I'R UNFED BENNOD AR UGAIN.

1. A ydych chwi yn gwybod paham y defnyddir y gair *Fe* o flaen y Ferf yn nhreigliad y Ferf Oddefol?—Ydwyf.

2. Eglurwch paham.—I'r dyben i ddwyn i mewn y Rhagenwau *ym, yth ei, &c.* o flaen y Ferf. Nid yw y Berfau Goddefol yn cynwys Rhagenwau Cynglyn, fel y mae y Berfau Gweithredol, ac o ddiffyg hyny, arferir y Rhagenwau Rhagarweiniol, y rhai a ddygir i mewn mewn cysylltiad â'r gair *Fe*.

3. Oni fyddai yn briodol dywedyd, *Dysgir ni, dysgir chwi, &c.*?—Na fyddai; o herwydd nid yw yn briodol arferyd Rhagenw sengl oud ar ol Rhagenw Cynglyn neu Ragarweiniol.

# PENNOD XXII.

## Am Ferfau Afreolaidd.—*Of Irregular Verbs.*

Berf Afreolaidd yw hono na chymer y terfyniadau rheolaidd yn ei threigliad.

*Myned—Dyfod—Gwneyd* neu *Gwneuthur.*

### Modd Mynegol.

#### Amser Gorphenol. (*1af*).

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Aethym, daethym, gwnaethym | 1. Aethom, daethom, gwnaethom |
| 2. Aethost,* daethost, gwnaethost | 2. Aethoch, dacthoch, gwnaethoch |
| 3. Aeth, daeth, gwnaeth | 3. Aethant, daethant, gwnaethant |

#### Amser Gorphenol. (*2il*).

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Awn, deuwn, gwnawn | 1. Aem, deuem, gwnaem |
| 2. Ait, deuit, gwnait | 2. Aech, deuech, gwnaech |
| 3. Ai, deuai, gwnai | 3. Aent, deuent, gwnaent † |

#### Amser Perffaith Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Aethwn, daethwn, gwnaethwn | 1. Aethem, daethem, gwnaethem |
| 2. Aethit daethit, gwnaethit | 2. Aethech, daethech, gwnaethech |
| 3. Aethai, daethai, gwnaethai | 3. Aethent, daethent, gwnaethent |

#### Amser Dyfodol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Af, deuaf, gwnaf / Elwyf, delwyf, gwnelwyf | 1. Awn, deuwn, gwnawn / Elom delom, gwnelom |
| 2. Ai, deui, gwnai / Elych delych, gwnelych | 2. Ewch, deuwch, gwnewch / Eloch, deloch, gwneloch |
| 3. A, daw, gwna / El, del, gwnel / Elo, delo, gwnelo | 3. Ant, deuant, gwnant / Elant, delant, gwnelant / Elont, delont, gwnelont |

* Yn lle *aethym, aethost*, arferir weithiau *ais, aist*; ac yn lle *daethym, daethost, daeth—deuais, deuaist, deuodd.*

† Treiglir yr Amser hwn weithiau, *elwn, delwn, gwnelwn, &c.*

### Modd Gorchymynol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| | 1. Awn, deuwn, gwnawn |
| 2. Dos, tyred, gwna | 2. Ewch, deuwch, gwnewch |
| 3. { Aed, deued, doed, gwnaed<br>Eled, deled, gwneled | 3. Ant, deuant, gwnaant |

## FFURF ODDEFOL.

### Amser Presenol.
Eir, gwaeir*

### Amser Gorphenol.
Aed; Gwnaethpwyd, gwnaed, gwneid, gwnelid

### Modd Gorchymynol.
Gwneler

***Gwybod—Adnabod*** **neu** ***Adwaen***

### Modd Mynegol.

### Amser Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gwn, adwaen | 1. Gwyddom, adwaenom |
| 2. Gwyddost, adwaenost | 2. Gwyddoch adwaenoch |
| 3. Gŵyr, edwyn | 3. Gwyddant, adwaenant |

### Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gwyddwn, adwaenwn | 1. Gwyddem, adwaenem |
| 2. Gwyddit, adwaenit | 2. Gwyddech, adwaenech |
| 3. Gwyddai, adwaenai | 3. Gwyddent, adwaenent |

### Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gwybum, adnabum | 1. Gwybuom, adnabuom |
| 2. Gwybuost, adnabuost | 2. Gwybuoch, adnabuoch |
| 3. Gwybu, adnabu | 3. Gwybuont, adnabuont |

### Amser Perffaith Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gwybuaswn, adnabuaswn | 1. Gwybuasem, adnabuasem |
| 2. Gwybuasit, adnabuasid | 2. Gwybuasech, adnabuasech |
| 3. Gwybuasai, adnabuasai | 3. Gwybuasent, adnabuasent |

* Nis gellir ystyried *eir* ac *aed*, er yn cymeryd y Ffurf Oddefol yn Ferfau Goddefol.

### Amser Dyfodol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Gwybyddaf, gwypwyf, adnabyddwyf | 1. Gwybyddwn, gwypwn; adnabyddwn—om |
| 2. Gwybyddi, gwypych, adnabyddi | 2. Gwybyddwch, gwypoch; adnabyddwch—om |
| 3. Gwybydd, gwypo, adnebydd, adnabyddo | 3. Gwybyddant, gwypont; adnabyddant—ont |

### Modd Gorchymynol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| | 1. Gwybyddwn, adnabyddwn |
| 2. Gwybydd, adnebydd | 2. Gwybyddwch, adnabyddwch |
| 3. Gwybydded, gwyped, adnabydded | 3. Gwybyddant, adnabyddant |

## FFURF ODDEFOL.

### Modd Mynegol.

### Amser Presenol.

Gwyddir, gwyddys; adnabyddir

### Amser Gorphenol.

Gwybuwyd *neu* gwypwyd, gwyddid; adwaenid, adnabyddid

### Amser Perffaith Gorphenol.

Gwybuasid; adnabuasid

### Amser Dyfodol.

Gwyddir; adwaenir.

### Modd Gorchymynol.

Gwybydder; adwaener, adnabydder

---

## PENNOD XXIII.

### Am Ferfau Diffygiol.—*Of Defective Verbs.*

Mae rhai Berfau nad ydynt yn cael eu harferyd ond mewn dau neu dri o Amserau, y rhai o ganlyniad y gellir eu galw yn *Ferfau Diffygiol.*

*Medd*

### Modd Mynegol.

#### Amser Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Meddaf | 1. Meddwn |
| 2. Meddi | 2. Meddwch |
| 3. Medd | 3. Meddant |

#### Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Meddwn | 1. Meddem |
| 2. Meddit | 2. Meddech |
| 3. Medd | 3. Meddent. |

*Piau.*

### Modd Mynegol.

#### Amser Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Myfi a biau | 1. Nyni a biau |
| 2. Tydi a biau | 2. Chwychwi a biau |
| 3. Efe a biau | 3. Hwynt-hwy a biau |

#### Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Myfi a biodd | 1. Nyni a biodd |
| 2. Tydi a biodd | 2. Chwychwi a biodd |
| 3. Efe a biodd | 3. Hwynt-hwy a biodd |

*Ebu.*

### Modd Mynegol.

#### Amser Presenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Ebaf fi | 1. Ebwn ni |
| 2. Ebit ti | 2. Ebwch chwi |
| 3. Eb efe | 3. Ebant hwy |

#### Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Ebwn i | 1. Ebem ni |
| 2. Ebit ti | 2. Ebech chwi |
| 3. Ebai efe | 3. Ebent hwy |

Cyfansoddion y Ferf *Ebu*, sef *ateb*, *gwrtheb*, a *gohebu*, a dreiglir yn gyflawn.

### *Byw* a *Marw*.

Nid oes un amrywiad yn perthyn i'r Berfau hyn. Gofynant wasanaeth y Ferf Bod i nodi y gwahanol Amserau. Pan y mae y Ferf *Marw* yn dylyn Amser Gorphenol neu Ddyfodol y Ferf Bod, y mae yn cymeryd ffurf Atenw; ac felly y mae y Ferf Byw weithiau, yr un modd; megys,

Amser Gorphenol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 3. Bu farw *neu* fyw* | 3. Buont farw† *neu* fyw |

Amser Dyfodol.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Byddaf farw *neu* fyw | 1. Byddwn farw *neu* fyw |
| 2. Byddi farw *neu* fyw | 2. Byddwch farw *neu* fyw |
| 3. Bydd farw *neu* fyw | 3. Byddant farw *neu* fyw |

Yr un modd ar ol *Byddwn* a *Buaswn*.

#### SYLWADAU AMRYWIOL AR Y BERFAU.

I. Pan flaenorir terfyniadau yn dechreu âg *a*; megys, *asom*, *asoch*, *asant*, âg *w* yn flaenoredig âg unseiniad, yr *a* a adewir allan; megys, *addawasom*, *clywsom*, *drewsant*, *gadawsom*, *gwrandawsom*, *tawsom*. Ond pan flaenorir yr *w* â chydsain, yr *a* a ddefnyddir; megys, *berwasom*, *cadwasom*, *galwasom*. Deolir yr *a* hefyd yn gyffredin ar ol *l*; megys *gwelsom*, *gofalsom*, *gafaelsant*, *&c*.

II. Y mae arferiad wedi dwyn ychydig afreoleiddwch i mewn yn nhreigliad rhai o'r Berfau Rheolaidd. Y canlynol sydd engreifftiau:—

| | |
|---|---|
| Yn lle Parhasom, &c. | arferir Parhawsom, &c. |
| ——— Ysgwydodd, &c. | ——— Ysgydwodd, &c. |
| ——— Bwrwais, &c. | ——— Bwriais, &c. |
| ——— Cloasom, ffoasom, rhoddasom, &c. | ——— Cloisom, ffoisom, rhoisom, &c. |

III. Er fod y trydedd person unigol o'r Amser Dyfodol yn y Ferf Weithredol yn cael ei ffurfio y rhan amlaf o wreiddyn y Ferf, neu trwy chwanegu *a* neu *ia* at y gwreiddyn, fe'i ffurfir yn fynych trwy newidiad unseiniadol yn y gwreiddyn; megys. 1.

* Yn y Beibl cedwir y llythyren flaenaf o'r geiriau *byw* a *marw* yn gyffredin yn ddigyfnewid ar ol y Ferf Bod; megys, "Byddant marw, byddant byw."

† Arferir yn gyffredin luosogi y Ferf *marw* yn y rhif luosog; megys, Buont feirw; ond nid yw hyn yn gyson â threfn y Gymraeg.

Trwy newid *a* i *ai*; megys *tafl*, *teifl*; *cadw*, *ceidw*; *galw*, *geilw*. 2. Trwy newid *a* i *e* yn y sill nesaf i'r olaf, ac *a* neu *e* i *y* yn y sill olaf; megys, *ateb*, *etyb*; *attal* *ettyl*. 3. Trwy newid *a* i *e* yn y sill nesaf i'r olaf, ac *o* neu *aw* yn y sill olaf i *y*; megys, *gwrandaw*, *gwrendy*; *taraw*, *tery*; *aros*, *erys*. Hefyd, newidir *a* i *y* yn y sill olaf o'r gair *para*; fel hyn, *pery*. 4. Trwy newid *o* yn unig i *y* mewn geiriau unsill, neu y sill olaf o wreiddyn geiriau amrysill; megys, *tro*, *try*; *tor*, *tyr*; *ffo*, *ffy*; *golch*, *gylch*; *rhodda*, *rhydd*; *colla*, *cyll*; *llosga*, *llysg*; *cyfod*, *cyfyd*; *deffro*, *deffry*; *diffodd*, *diffydd*. 5. Trwy newid *a* i *ai*; megys, *saf*, *saif*; *par*, *pair*.

IV. Traethir yn gyffredin yn y Gramadegau Cymreig ar yr hyn a elwir *Cyfraniadau*; ond nid oes yn y Gymraeg namyn *un* Cyfraniad, yr hwn sydd yn terfynu âg *edig*, ac a arferir yn lle yr Amser Presenol o'r Ffurf Oddefol. Fe'i gelwir yn gyfraniad am ei fod yn cyfranogi o anian Enw a Berf, fel y gwelir yn y siamplau canlynol:—"Y mae y dyn *yn garedig* i bawb;" "Y mae y dyn *yn garedig* gan bawb." Yn y siampl flaenaf y mae yn cyflawni swydd Atenw, am ei fod yn dangos priodoledd perthynol i'r dyn; yn yr olaf, y mae yn cyflawni swydd Berf, sef yr Amser Presenol o'r Ffurf Oddefol—*yn cael ei garu.*

V. Heblaw a nodasom o'r Berfau a arferir ddwy ffordd, gallwn nodi y canlynol, fel rhai a arferir fynychaf:—

Gellir arferyd Cymerodd neu Gymerth
————— —Clywodd —— Clybu
——————Clywwyd —— Clybuwyd
————— —Rhoddodd —— Rhoddes *neu* rhoes
——————Rhoddwyd —— Rhoed
——————Rhydd ——Dyry

## ADCHWILIAD I'R DRYDEDD BENNOD AR UGAIN.

1. Ar ol pa lythyrenau y gadewir allan yr *a* yn y terfyniadau *asom*, *asoch*, *asant*, &c.?—Ar ol *w* ac *l*.

2. A adewir hi allan bob amser ar ol *w*?—Na wneir.

3. Pa bryd y gadewir hi allan?—Pan y mae *w* yn cael ei blaenori âg unseiniad.

4. Rhoddwch siampl.—Clywsom a gwrandawsom.

5. A arferir *a* rywbryd ar ol *l*?—Gwneir.

6. Rhoddwch siampl.—Dylasem.

7. Pa un ai *parhausant* ai *parhasant* sydd fwyaf priodol?—Parhasant.

8. Dangoswch hyny trwy engraifft.—Caniatasant, nesasant; nid caniatausant, nesausant.

9. A oes genych ryw reswm arall dros beidio arferyd yr *u* o flaen y terfyniadau uchod?—Oes.

10. Pa beth ydyw?—Nid yw yn cael ei harferyd yn y rhif unigol.

11. Pa un ai *ffoasom* ai *ffoisom* yw y mwyaf priodol?—Ffoasom.

12. Pa fodd y dangoswch hyny?—Am nad oes un rheswm dros arferyd yr *i* yn y lluosog mwy nag yn yr unigol. Dylid naill ai ei dileu hi yn y lluosog, i fod yn gyfunddull â'r unigol, neu ynte ysgrifenu yr unigol yn *ffoiais*, *ffoiodd*, &c., i fod yn gyfunddull â'r lluosog; a phed ei harferid yn yr Amser Gorphenol, dylid ei harferyd yn yr holl Amserau; megys, *ffoiaf*, *ffoiwn*, &c.

13. Pa fodd y ffurfir y trydedd person o'r Amser Dyfodol?—Weithiau o wreiddyn y Ferf,; megys, *rhed*; weithiau trwy chwanegu *a* neu *ia* at y gwreiddyn; megys *penderfyna*, *cilia*; ac weithiau trwy newidiad unseiniadol yn y gwreiddyn: megys, *a* tro, *try*.

## PENNOD XXIV.

### Am Atferfau.—*Of Adverbs.*

Atferf sydd air a chwanegir at Ferf i nodi y cyffwr o le, amser, dull, neu ryw amgylchiad arall perthynol i'r weithred adroddedig gan y Ferf; megys, Daethym *yma;* daethym yma *ddoe;* daethym yma *yn annysgwyliadwy.* Arferir un dosbarth o'r Atferfau weithiau o flaen Atenwau ac Atferfau i ddynodi graddau; megys, *pur* gall, *tra* chyflym, *mwy* cyflym, *go* araf, *mwyaf* araf.

Mae rhyw debygolrwydd rhwng Atferfau ac Atenwau; ond y gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt yw hyn,—y mae Atenw, fel Berf, yn dangos priodoledd Enw, ac Atferf yn dangos yn unig briodoledd priodoliaethau. Y mae Atenwau ac Atferfau yn y

Gymraeg yn fynych yr un fath o ran eu ffurfiad, ac wrth sylwi ar yr amgylchiad uchod, sef, pa un ai dangos priodoleddau Enwau, ai ynte dangos priodoleddau priodoliaethau y maent, y gellir gwybod y gwahaniaeth rhyngddynt. Er engraifft; yn y frawddeg, "Y mae y dyn hwn yn cerdded *yn dda*, yn siarad *yn ddoeth*, ac yn ysgrifenu *yn hardd*," y mae y geiriau Italig yn Atferfau, am eu bod yn darlunio y Berfau *yn cerdded*, *yn siarad*, *yn ysgrifenu*, y rhai sydd weithrediadau perthynol i'r dyn. Ond yn y froddeg, "Mae'r ddynes hon *yn dda*, *yn ddoeth*, ac *yn hardd*," y mae y geiriau Italig yn Atenwau, am eu bod yn darlunio yr Atenw dynes. Yn y Seisneg y mae gwahaniaeth bron bob amser rhwng ffurfiad yr Atenwau a'r Atferfau. Cyfieithid y flaenaf o'r siamplau uchod fel hyn,—"*This man walks* well, *speaks* wisely, *and writes* beautifully; a'r olaf fel hyn,—"*This woman is* good, wise, *and* beautiful."

Rhai Atferfau a gymharir fel Atenwau, sef trwy olddodi *ach* ac *af*, neu trwy arferyd yr Atferfau *mwy* a *mwyaf* o'u blaen.

Rhestrir Atferfau o dan wahanol ddosbarthau, o ba rai y canlynol ydynt y prif rai:—

1. *Atferfau o Rif.*

Unwaith, dwywaith, teirgwaith, pedair gwaith, pum waith, &c.

2. *Atferfau o Drefn.*

Yn gyntaf, yn ail, yn flaenaf, yn olaf, yn ddiweddaf, &c.

3. *Atferfau o Le.*

I fyny, i lawr, yn mlaen, yn ol, yma, yna, yno, acw, fry, obry, isod, uchod, oddiyma, oddiyna, oddiyno, oddifewn, oddiallan, i waered, allan, adref, draw, yn mhell, yn agos, &c.

4. *Atferfau o Amser.*

Yn, wedi, yn* awr, weithiau, heddyw y fory, ddoe,† gynt, beu·

* Mae'r ferf bod, fel berf cynorthwyol, yn wastad yn gofyn cynorthwy *yn* neu *wedi* i nodi amser y brif ferf; megys, Yr wyf yn, yr wyf wedi; yr oeddwn yn, yr oeddwn wedi; byddaf yn, byddaf wedi.

† Rhestrwyd *heddyw*, *y fory*, a *doe*, gyda'r Atferfau, yn ol y drefn gyffredin, er eu bod yn fwy priodol yn Enwau.

nydd, eisoes, eto, erioed, byth, weithiau, yn ddiweddar, yn fuan, toc, rhagllaw, o hyn allan, yn aml, bellach, drachefn, yn uniawn, mwy, mwyach.

5. *Atferfau o Ddognedd.*

Cymaint, llawer, mwy, llai, prin, braidd, i gyd, &c.

6. *Atferfau o Briodoledd.*

Yn ddoeth, yn ddrwg, yn dda, &c.

Cynwysa y dosbarth hwn y rhan fwyaf o'r Atferfau. Y maent o'r un ffurfiad a'r Atenwau, ond eu bod, fel y nodwyd o'r blaen, bob amser yn dangos priodoleddau priodoliaethau. Y rhanau ymadrodd ag sydd yn arwyddo priodoliaethau, ydynt, Atenwau, Berfau, ac Atferfau, ac o ganlyniad â'r rhai hyn y mae gan Atferfau i ymwneyd.

7. *Atferfau o Amheuad.*

Hwyrach, fe allai, odid, ond odid, ysgatfydd, &c.

8. *Atferfau o Nacâd.*

Na, nad, nas, nid, nis, nage, mo, &c.

9. *Atferfau o Sicrhâd.*

Yn ddiau, yn sicr, yn ddilys, do, ïe, yr, y, a, &c.

10. *Atferfau o Holiad.*

A, ai, pa, beth, oni, onid, onis, paham, pa un ai, pa fodd, pa sut, &c.

11. *Atferfau o Gymhariad.*

Cyn, mor, agos, bron, tra, pur rhy, gwell, goreu, yn hytrach, yn fwy, yn llai, go, chwaithach, &c.

---

## ADCHWILIAD I'R BEDWAREDD BENNOD AR UGAIN.

1. Beth yw Atferf?—Gair a chwanegir at Ferf i nodi y cyflwr o le, amser, dull, neu ryw amgylchiad arall, perthynol i'r Ferf, ac fe'i harferir weithiau o flaen Atenwau ac Atferfau ereill i ddynodi gradd.

2 Pa un yw yr Atferf yn y frawddeg, "Y mae y dyn yn siarad yn groew?"—Yn groew.

3. Pa fodd y gwyddoch?—Am ei fod yn dangos y dull neu y modd yn mha un y mae y dyn yn siarad.

4. Pa un yw yr Atferf yn y froddeg, "Y mae y dyn yn bur ddiwyd?"—Pur.

5. Pa fodd y gwyddoch?—Am ei fod yn mawrhau ystyr yr Atenw *diwyd.*

6. Pa un yw yr Atferf yn y froddeg, "Y mae y dyn yn darllen yn dra chywir?"—Y mae y froddeg yna yn cynwys dwy Atferf, sef, *yn gywir* a *thra.*

7. Pa fodd y mae *yn gywir* yn Atferf?—Am ei fod yn dangos y modd y mae y dyn yn darllen.

8. Pa fodd y mae *tra* yn Atferf?—Am ei fod yn mawrhau ystyr yr Atferf *yn gywir.*

9. Pa fodd y cymharir Atferfau?—Fel Atenwau, sef trwy olddodi *ach* neu *af*, neu trwy arferyd *mwy* neu *mwyaf* o'u blaen.

10. Rhoddwch siampl.—Y mae y dyn hwn yn rhedeg yn *gyflymach*, neu yn *fwy cyflym.* Y dyn hwn a red *gyflymaf*, neu *fwyaf cyflym.*

---

## PENNOD XXV.

### Am Arddodiaid.—*Of Prepositions.*

Arddodiad sydd air a arddodir neu a osodir o flaen geiriau i ddangos eu perthynas â geiriau ereill; megys, "Aeth *o* Gaerlleon *mewn* llong *tros* y môr *i* yr Iwerddon." Yma *o, mewn, tros,* ac *i*, sydd Arddodiaid.

Y mae dau fath o Arddodiaid; sef, Arddodiaid Unigol ac Arddodiaid Cyfansawdd.

#### Arddodiaid Unigol.

Wrth Arddodiaid Unigol y meddylir, y cyfryw a gyfansoddir yn unig o un gair.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| A, ag * | Erbyn | Heibio | O | Trwy |
| Am | Gan | Hyd | Rhag | Tua |
| Ar | Ger | I | Rhwng | Wedi |
| At | Gerfydd | Mewn | Tan | Wrth |
| Cyn | Heb | Myn | Tros | Yn |
| Er | | | | |

* Arferir *a* o flaen cydsain, ac *ag* o flaen unseiniad. Yr un rheol a berthyn i'w cyfansoddion *gyda* a *gydag*.

### ARDDODIAID CYFANSAWDD.

Wrth Arddodiad Cyfansawdd y meddylir, y cyfryw a gyfansoddir o ddau air neu chwaneg.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Ar hyd | O barth | Oddi wrth | Uwch ben |
| Ar led | O blaid | Tu blaen i | Uwch law |
| Ar ol | O blegid | Tu cefn i | Yn erbyn |
| Ar draws | O ddeutu | Tu draw i | Yn nghyda |
| Er ys | O fewn | Tu hwnt i | Yn nghylch |
| Ger bron | O flaen | Tu isaf i | Yn mhlith |
| Ger llaw | O gylch | Tu mewn i | Yn mysg |
| Heb law | O herwydd | Tu ol i | Yn ymyl |
| Is law | Oddi ar | Tu uchaf i | |
| O amgylch | Oddi dan | Tu yma i | |

Y mae amryw o'r Arddodiaid Unigol, fel Berfau Personol, yn cymeryd terfyniadau Rhagenwol o flaen Enwau, a thrwy hyny fe'u gelwir yn Arddodiaid Rhagenwol.

A ganlyn sydd restr ohonynt, gyda'r modd y ffurfiant y person cyntaf unigol:—

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Am | Amdanaf | Heb | Hebof | Tan* | Tanaf |
| Ar | Arnaf | Hyd | Hydof | Tros | Trosof |
| At | Ataf | O | Ohonof | Trwy | Trwyof |
| Er | Erof | Rhag | Rhagof | Wrth | Wrthyf |
| Gan | Genyf | Rhwng | Rhyngof | Yn | Ynof |

Wrth sylwi ar y rhestr uchod canfyddir fod rhai yn diweddu âg *af*, ereill âg *of*, ac ereill âg *yf*.

Y rhai a ddiweddant âg *af* a dreiglir fel y canlyn:

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Amdanaf | 1. Amdanom |
| 2. Amdanat | 2. Amdanoch |
| 3. Amdano, amdani | 3. Amdanynt |

Y rhai a ddiweddant âg *of*, a dreiglir fel y canlyn:—

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Erof | 1. Erom *neu* erddom |
| 2. Erot | 2. Eroch *neu* erddoch |
| 3. Erddo, erddi† | 3. Erddynt |

Y rhai a ddiweddant âg *yf*, a dreiglir fel y canlyn:—

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Genyf | 1. Genym |
| 2. Genyt | 2. Genych |
| 3. Ganddo, ganddi | 3. Ganddynt |

* Y mae *tanodd, trosodd, trwyodd*, yn Atferfau.

† Nid yw y gair *honof* yn chwanegu yr *dd* fel y gwneir yma; a'r gair *trosof* a ddefnyddia *t* yn lle *dd*.

Mewn perthynas i'r Arddodiad *i* dymunem nodi, tra y mae y trydydd person, unigol a lluosog, yn meddu rhagenw Cynglyn, fod y person cyntaf a'r ail yn amddfad o un. Pa un ai i anofalwch ffurfwyr yr iaith, ai ynte i lygriad amser, yr ydys i briodoli y bai hwn, nis gallwn ddywedyd; eithr ei fod yn fai sydd amlwg, canys y mae yn achos o afreoleidd-dra yn yr iaith, trwy dori egwyddor a berthyn yn hanfodol iddi, sef yr arferiad o Ragenwau dwbl. Nodwyd genym fel rheol, *os na fydd Rhagenw yn cael ei flaenori gan Ragenw Cynglyn neu Ragarweiniol, y rhaid iddo fod yn ddwbl*; ond y mae yr arferiad o ysgrifenu *i mi*, *i ti*, *&c.*, yn drosedd iad o'r rheol hon. Hefyd, y mae afreoleidd-dra arall yn perthyn i'r arferiad yma, sef gadael cydseiniaid cyfnewidiol yn ddigyfnewid ar ol *i*, yr hyn sydd yn groes i ddeddfau yr iaith. Y mae rhai wedi canfod yr afreoleidd-dra yma, ac wedi ysgrifenu *i fi*, ond nid ydym yn gwybod ddarfod iddynt ysgrifenu *i di*, er fod yr un rheswm dros wneyd hyn ag sydd dros wneyd y llall. Modd bynag, i symud pob anhawsder, ac i wneyd y defnyddiad o'r Arddodiad hwn yn fwy unffurfiol âg eiddo y lleill, nyni a gynygiem y dull canlynol o'i dreiglo :—

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Im* mi | 1. In ni |
| 2. It ti | 2. Ich chwi |
| 3. Iddo ef *neu* iddi hi | 3. Iddynt hwy |

Y mae o bwys fod i air ag sydd yn cael ei ddefnyddio mor fynych o flaen Rhagenwau, gael ei arferyd yn rheolaidd mewn cysylltiad â'r cyfryw.

Pan y mae Rhagenw yn dylyn Arddodiad Cyfansawdd, arferir naill ai Rhagenw Rhagarweiniol neu yr Arddodiad *i* o'i flaen.† Nodwn ychydig fel engreifftiau :—

| | | | |
|---|---|---|---|
| Uwchlaw | Uwchlaw *im* mi | Ger bron | Ger *fy* mron |
| Islaw | Islaw *im* mi | Yn erbyn | Yn *fy* erbyn |
| Gerllaw | Gerllaw *im* mi | O blegid | O'*m* plegid |

* Arferir *im*, *it*, *in*, ac *ich* yn achlysurol mewn barddoniaeth; megys,

"Cariad mor fawr sy'n gofyn im
Roi f'enaid, f'einioes, a phob dim."

† Y gair *heblaw* a ffurfia eithriad i'r rheol hon. Y mae y Rhagenw dwbl i'w arferyd bob amser ar ei ol; megys, "Heblaw myfi," &c.

Yr Arddodiaid Cyfansawdd a darddant o'r Arddodiaid Rhagenwol, a dreiglir fel yr Arddodiaid Unigol; megys,

| | |
|---|---|
| Tuag at | Tuag ataf |
| Oddi ar | Oddi arnaf |
| Oddi dan | Oddi danaf |
| Oddi wrth | Oddi wrthyf |

Mae amryw o'r Arddodiaid Unigol yn gwasanaethu fel Cysylltiaid, ac amryw o'r Arddodiaid Cyfansawdd yn gwasanaethu fel Atferfau.

---

## ADCHWILIAD I'R BUMED BENNOD AR UGAIN.

1. Beth yw Arddodiad?—Gair a ddodir o flaen geiriau i ddangos eu perthynas â geiriau ereill.

2. Pa sawl math o Arddodiad sydd?—Dau.

3. Pa rai ydynt?—Unigol a Chyfansawdd.

4. Beth a feddyliwch wrth Arddodiad Unigol?—Arddodiad a ffurfir o un gair.

5. Beth a feddyliwch wrth Arddodiad Cyfansawdd?—Arddodiad a ffurfir o ddau air neu chwaneg.

6. Beth a feddylir wrth Arddodiad Rhagenwol?—Arddodiad a gymer derfyniad Rhagenwol o flaen Rhagenwau.

7. Pa sawl math ohonynt sydd?—Tri.

8. Pa rai ydynt?—1. Y rhai a ffurfiant y person cyntaf unigol âg *af*. 2. Âg *of*. 3. Âg *yf*.

9. Pa fodd y gwneir pan y mae Rhagenw yn dylyn Arddodiad Cyfansawdd?—Arferir weithiau Ragenw Rhagarweiniol, ac weithiau yr Arddodiad *i*.

10. Rhoddwch siampl.—Pe deuai y Rhagenw *myfi* ar ol *ar draws*, dywedid, "Ar *fy* nhraws;" a phe deuai ar ol *islaw*, dywedid, "Islaw *im* mi."

11. A oes rhai o'r Arddodiaid Cyfansawdd yn gwasanaethu fel Arddodiaid Rhagenwol?—Oes; y cyfryw a darddant o'r Arddodiaid Unigol.

12. Pa rai o'r Arddodiaid sydd yn gwasanaethu fel Cysylltiaid yn fynych?—Yr Arddodiaid Unigol.

13. Pa rai sydd yn gwasanaethu fel Atferfau?—Yr Arddodiaid Cyfansawdd.

## PENNOD XXVI.

### AM GYSYLLTIAID.—*Of Conjunctions.*

CYSYLLTIAD sydd air ag sydd yn cysylltu geiriau neu froddegau; megys, "Yr ydych yn ddedwydd *o herwydd* eich bod yn dda;" "Fe â John *neu* James yno;" "Mae dau *a* dau yn gwneyd pedwar."

Y gwahaniaeth rhwng Cysylltiad ac Arddodiad yw, nad yw Cysylltiad yn dangos perthynas rhwng y geiriau a gysyllta, ond yn unig eu cyfuno, fel yn meddu cydberthynas â rhywbeth arall; megys, "Ni wnaeth *na* llwyddiant *na* thlodi eu diwygio." Yma y mae *llwyddiant* a *thlodi* yn dal yr un berthynas â *eu diwygio.*

Y mae Cysylltiaid yn byrhau ymadrodd trwy ddangos lle nad oes gair llywodraethol yn cael ei fynegi, fod yr olaf a adroddwyd yn *ddealledig;* megys, "Canmolodd ef dydi *a* myfinau."

Gellir dosbarthu Cysylltiaid i ddau fath; sef, Cysylltiaid Israddol a Chysylltiaid Cyfraddol.

Mae Cysylltiad Israddol yn gwneyd i'r adfrawdd fo yn ei ddylyn wasanaethu fel Enw neu Atferf i'r adfrawdd gysylltiol; megys, "Gwn *y bydd ef yn foddlon;*" "*Pan gwyd yr haul* cychwynaf i'm taith." Yn yr engraifft flaenaf mae'r Cysylltiad *y* yn gwneyd i'r adfrawdd *bydd ef yn foddlon* wasanaethu fel Enw yn cael ei lywodraethu gan y Ferf *gwn;* ac yn yr olaf, mae'r Cysylltiad *pan* yn gwneyd i'r adfrawdd *cwyd yr haul* wasanaethu fel Atferf i'r adfrawdd ddylynol. Gwelir hyn yn amlwg wrth ofyn y cwestiynau pa *beth*, a pha *bryd*; fel hyn, "Pa *beth* a wyddost ti?" "Gwn (*hyn; sef*) *y bydd ef yn foddlon.*" "Pa *bryd* y cychwyni di i'th daith?" "Cychwynaf *pan gwyd yr haul.*"

Cysylltiad Cyfraddol a gysyllta haeriadau cydraddol ac annibynol â'u gilydd; megys, "Cerddodd y dyn *a* rhedodd y bachgen." "Yr wyf yn bwriadu myned; *ond* nid af heddyw."

#### CYSYLLTIAID ISRADDOL.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| y | trwy | cyhyd | os | oblegid | na |
| yr | cyn gynted | bryd bynag | oddieithr | od | rhag |
| cyn | ar ol | megys | oni | pe | neu |
| fel | pan | nag | er | taw | |
| gan | tra | am | mal | wrth | |

### CYSYLLTIAID CYFRADDOL.

| | | |
|---|---|---|
| a | ond | canys |
| ac | gan hyny | eithr |
| hefyd | o ganlyniad | pa fodd bynag |
| yn mhellach | felly | drachefn |
| yn gystal | o herwydd | yna |

Mae gan rai Cysylltiaid eu Cysylltiaid atebol yn perthyn iddynt; hyny yw, bydd yr olaf, yn aelod dylynol y froddeg, yn ateb i'r blaenaf; fel hyn,—

*Er—eto.* "*Er* ei fod yn gyfoethog, *eto* er ein mwyn ni efe a ddaeth yn dlawd."

*Pa un bynag a* neu *ai**—*ai.* "*Pa un bynag a* aeth efe yno *ai* peidio;" "*Pa un bynag ai* tydi *ai* efe."

*Pa un a* neu *ai—ai.* "*Pa un a* aeth efe yno *ai* peidio;" "*Pa un ai* tydi *ai* efe."

*Naill ai—neu* (neu, *neu ynte*). *Naill ai* hwn *neu* ei frawd."

*Fel—felly.* "*Fel* y bydd dy ddydd, *felly* y bydd dy nerth."

Mae rhai Cysylltiaid Cyfansawdd, cyn gystal ag Arddodiaid Cyfansawdd: megys, *yn gystal a*, *o herwydd paham*, *pa un bynag a* neu *ai*, *yn gymaint ag*.

Defnyddir yr un gair yn achlysurol fel Atferf ac fel Cystylltiad, ac weithiau fel Arddodiad. "Efe *a* aeth;" yma y mae *a* yn Atferf. Yn y froddeg ganlynol y mae yn Gysylltiad; "Aeth fy mrawd *a* minau yno." Yn y froddeg ddylynol y mae yn Arddodiad; "Efe a aeth yno *â'i* holl egni." "Yr wyf yn gofidio *oblegid* dy frawd." Yn y froddeg hon y mae *oblegid* yn Arddodiad; yn y nesaf y mae yn Gysylltiad: "Buasai yn dda genyf ei weled, *oblegid* yr wyf yn bur hoff ohono." Yn y froddeg nesaf y mae *tra* yn Atferf; yn yr ail, yn Gysylltiad; "Dyn *tra* diwyd ydoedd efe;" "Y ffol *tra* tawo a ystyrir yn gall."

---

## ADCHWILIAD I'R CHWECHED BENNOD AR UGAIN.

1. Beth yw Cysylltiad?—Gair ag sydd yn cysylltu geiriau neu froddegau.

2. Beth yw y gwahaniaeth rhwng Cysylltiad ac Arddodiad?—Mae Arddodiad yn dangos y berthynas rhwng y geiriau a gy-

* A a arferir o flaen Berfau terfynol, hyny yw, Berfau yn meddu rhif a pherson. Yn mhob sefyllfa arall *ai* a ddefnyddir.

sylltu; eithr nid yw Cysylltiad ond yn dwyn y geiriau a gysyllta i feddu yr un berthynas â rhywbeth arall.

3. Dangoswch hyny trwy siampl.—Yn y frawddeg, "Y mae y cwch *ar* yr afon *wrth* y bont," y mae yr Arddodiad *a* ac *wrth* yn dangos perthynas y cwch i'r afon a'r bont. Yn y frawddeg, "Nid yw *na* llwyddiant *na* thlodi yn ei ddiwygio," y mae y Cysylltiad *na* yn dwyn y geiriau *llwyddiant* a *thlodi* i feddu yr un berthynas i *ei ddiwygio;* yr hyn a welir wrth gyflenwi y diffyg; "Nid yw llwyddiant yn ei ddiwygio, ac nid yw tlodi yn ei ddiwygio."

4. Pa fodd y rhenir Cysylltiaid?—I ddau fath; sef, Cydiadol a Gwahaniadol.

5. Paham eu gelwir yn Gysylltiaid Cydiadol?—Am eu bod yn cysylltu mewn ffurf ac ystyr.

6. Paham eu gelwir yn Gysylltiaid Gwahaniadol?—Am eu bod yn gwahanu mewn ystyr, er yn cysylltu mewn ffurf.

7. Pa Gysylltiad y mae *er* yn ei ofyn ar ei ol?—Eto.

8. Pa Gysylltiad y mae *pa un bynnag a* neu *ai* yn ei ofyn?—Ai.

9. Pa Gysylltiad y mae *naill ai* yn ei ofyn?—Neu, *neu* neu ynte.

10. A ydyw yr un gair yn gwasanaethu yn achlysurol fel Atferf, Cysylltiad, ac Ardoddiad?—Ydyw.

---

## PENNOD XXVII.

### Am Gyfryngiaid.—*Of Interjections.*

**Cyfryngiad** sydd air a amlyga ryw gyffroad neu deimlad yn y meddwl; megys, O! och! ow!

A ganlyn sydd restr o Gyfryngiaid:—A! Dyt! Ffei! Gwae! Ha! Hai! Henffych! Ho! Holô! O! Och! Ow! Twt! Ust! Wel! Wele!

Y mae amryw Gyfryngiaid, yn gynwysedig o Enwau, Atenwau, neu Ferfau, yn cael eu defnyddio o dan ddylanwad cyffroad y meddwl i ddynodi yr hyn a ofynai yn naturiol fwy o eiriau i'w adrodd; megys, "Syndod!" am, "Y mae yn syndod." "Rhyfedd!" am, "Rhyfedd yw." "Croesaw!" am, "Y mae i ti groesaw."

## ADCHWILIAD I'R SEITHFED BENNOD AR UGAIN.

1. Beth yw Cyfryngiad?—Cyfryngiad sydd air a amlyga ryw gyffroad neu deimlad yn y meddwl.

2. Enwch rai obonynt.—O! och! ha!

3. A ffurfir Cyfryngiaid o Enwau, Atenwau, a Berfau, weithiau? —Gwneir.

4. Pa fodd?—Trwy eu harferyd o dan ddylanwad cyffroad y meddwl heb eiriau ag sydd yn perthyn yn hanfodol iddynt er gwneyd y froddeg yn gyflawn.

5. Rhoddwch siampl.—"Gwae fi!" yn lle, "Gwae sydd i mi."

---

# PENNOD XXVIII.

## Am Darddiad Geiriau.—*Of Derivation.*

Mae geiriau naill ai yn Wreiddiolion neu Darddedigion.

Y Gwreiddiolion sydd eiriau nad ellir eu olrhain i eiriau mwy syml fel eu gwraidd; megys, *tân*, *môr*, *llaw*.

Fel y nodasom o'r blaen, y mae Dr. O. Puw, ac awdwyr ereill, yn haeru bod yr holl eiriau Cymreig wedi eu ffurfio o nifer penodol o fân-wreiddiau; ac y mae y blaenaf, yn ei Eiriadur, yn nodi y gwreiddiau o ba rai y mae pob gair yn gyfansoddedig. Ond nid ydym yn argymhell ein hefrydwyr ieuainc i dreulio eu hamser i olrhain geiriau i'r gwreiddiau dychymygol yma. Os yw gwybodaeth yn werthfawr yn ol fel y mae yn arwain i ddefnyddioldeb ymarferol, nid yw hon o ddim gwerth, trwy nad yw yn ein galluogi i gael allan ystyron geiriau, nac i ffurfio rhai newydd. Yn wir, ar ol ystyried y gyfundraeth yn fanwl a diduedd, fel ei gosodir allan gan yr enwog Dr. O. Puw ac ereill, fe'n tueddir ni i gredu ei bod yn fwy dychymygol na gwirioneddol.

Y Tarddedigion a ffurfir trwy gyfymlyniad, rhagddodiaid, a therfyniadau.

### *Cyfymlyniad.*

Wrth gyfymlyniad y meddylir uniant gwahanol eiriau fel ag i ffurfio un gair; megys, gweith-dy.

Mae'r Gymraeg yn gyfoethog o eiriau o'r natur yma. Nid oes neb yn meddwl am ffurfio gair newydd o wreiddiau yr iaith, er cymaint a sonir am ei hyalledd i ffurfio gair at bob delfryd; ac nid yw y Cymry yn hoff o fenthyca geiriau estronol, hyd y gallant, er fod amryw wedi llithro i mewn i'n hiaith. Gan hyny, pan y mae angen am air newydd, fe'i ffurfir yn gyffredin trwy gyfymlyniad.

*Rhagddodiaid.*

Rhoddwyd cofrestr o'r rhagddodiaid, gyda'u gwahanol alluoedd, yn 38 tudal., a thrwy hyny ni chwanegwn yma, ond yn unig sylwi fod Atenwau yn deilliaw o Enwau weithiau, trwy roddi rhagddodiad wrth yr olaf; megys, o gwerth, diwerth; o diwedd, diddiwedd; o parch, hybarch.

*Terfyniadau.*

Rhoddwyd hefyd gofrestr o wahanol derfyniadau geiriau yn y 39—41 tudal.

Mae'r naill ran-ymadrodd yn fynych yn deilliaw o'r llall trwy chwanegu terfyniadau, fel y canlyn:—

1. Deillia Enwau o Ferfau; megys, *galwad*, o *galw*; *maddeuant*, o *maddeu*; *casgliad* o *casglu*, &c.

2. Deillia Berfau o Enwau; megys, *cospi*, o *cosp*; *ysgrifenu*, o *ysgrif*, &c.

3. Deillia Berfau o Atenwau; megys, *meddwi*, o *meddw*; *tywyllu*, o *tywyll*, &c.

4. Deillia Atenwau o Ferfau; megys, *canlynol*, o *canlyn*; *agored*, o *agor*, &c. Deilliant yn fynych o'r Ferf trwy chwanegu *edig* neu *adwy*. Dynoda y blaenaf *dderbyniad* y weithred a ddynodir gan y Ferf, a'r olaf, *hyalledd*; megys, pethau creedig, ysgrif ddarllenadwy.

5. Deillia Atenwau o Enwau yn y modd a ganlyn:—Atenwau yn dynodi *cyffelybrwydd* a ddeilliant o Enwau trwy chwanegu *aidd*; megys, o plentyn, plentynaidd; o haf, hafaidd, &c.

Atenwau yn dynodi *hynawsedd* neu *ymserchiad yn*, a ddeilliant o Enwau trwy chwanegu *gar*; megys o llety, lletengar; o

gwin, gwingar; o cyfaill, cyfeillgar, &c. Weithiau y mae y terfyniad hwn yn gwasanaethu yn unig yr un dyben a'r terfyniadau a enwir nesaf.

Atenwau yn arwyddo *cyfranogiad o anian y gwreiddyn* a ddeilliant o Enwau trwy chwanegu *ig*, *ol* neu *iol*, neu *us*; megys, o gwenwyn, gwenwynig; o bonedd, boneddig; o synwyr, synwyrol; o bendith, bendithiol; o cariad, cariadus; o poen, poenus, &c.

Atenwau yn dangos *sylwedd* peth a ddeilliant o Enwau trwy chwanegu *llyd*, neu *lyd*; megys, o dwfr, dyfrllyd; o pridd, pridlyd; o daear, daearllyd; o tywod, tywodlyd; o gwaed, gwaedlyd; o gwenwyn, gwenwynllyd. Mae'r terfyniadau hyn hefyd yn dynodi priodoleddau *ofnadwy* neu *annymunol*; megys, dychrynllyd, taranllyd, rheglyd, cynhenllyd, drewllyd, &c.

Atenwau yn arwyddo *amlder* neu *cyflawnder* a darddant o Enwau trwy chwanegu *awg*, *og*, neu *iawg*, *iog*: megys, o brwyn, brwynog; o craig, creigiog; o cyfoeth, cyfoethog, &c.

Atenwau yn dynodi *helaethder*, *cyflawnder*, neu *feddiant o anian y gwreiddyn*, a ddeilliant o Enwau trwy chwanegu *fawr*, *llawn*, neu *lawn*; megys, o gwerth, gwerthfawr; o clod, clodfawr; o heddwch, heddychlawn; o pryd, prydlawn; o gras, graslawn; o dig, digllawn, &c.

Mae rhai Atenwau yn tarddu o Atenwau ereill.

Mae'r Atenwau tarddedig weithiau yn gyfystyr â'r Atenwau gwreiddiol; megys, hyfryd, hyfrydol; oer, oerllyd; cras, craslyd; santaidd, santeiddiol; boddlon, boddlonus; amryw, amrywiol; afiach, afiachus; tebyg, tebygol.

Weithiau y maent yn wahanol yn eu hystyr; megys, marw, marwol; cyffredin, cyffredinol.

Mae'r terfyniad *aidd* ar ol enw yn fynych yn lleihau yr ystyr; megys, prudd, pruddaidd; tlawd, tlodaidd; gwan, gwanaidd; marw, marwaidd; glas, glasaidd; per, peraidd; manwl, manylaidd.

Deillia Enwau o Atenwau; megys, henaint, o hen; glendid, o glân.

Mae rhai Enwau yn tarddu o Enwau ereill. Mae rhai yn parhau i feddu yr un ystyr a'r Enwau gwreiddiol, megys—

adeilad—adail
angenrheidrwydd—angenrhaid
blwyddyn—blwydd
coffadwriaeth—coffâd
dechreuad—dechreu
enwawd—enw
gwirionedd—gwir
gwobrwy—gwobr
hanesiaeth—hanes
heddwch—hedd
hiliogaeth—hil
perchenog—perchen
ysgrifen—ysgrif

Y mae rhai eto yn newid eu hystyr, fel y gwelir yn yr engreifftiau canlynol:—

athrawiaeth—athraw
cenedlaeth—cenedl
cenadwri—cenadwr
cyfeillach—cyfaill
llythyreg—llythyr
merthyrdod—merthyr
profiad—prawf
teyrnas—teyrn

---

## ADCHWILIAD I'R WYTHFED BENNOD AR UGAIN

1. Pa sawl math o eiriau sydd?—Dau; sef, Gwreiddiol a Tharddiadol.

2. Beth a feddyliwch wrth eiriau gwreiddiol?—Geiriau nad ellir eu olrhain i eiriau mwy syml.

3. Rhoddwch siamplau.—Pren, tŷ, ci, oen, ceffyl.

4. Beth a feddyliwch wrth eiriau tarddedig?—Geiriau a ffurfir trwy Gyfymlyniad, Rhagddodiaid, a Therfyniadau.

5. Beth yw Cyfymlyniad?—Uniant gwahanol eiriau fel ag i ffurfio un gair.

6. Rhoddwch siamplau.—Boreu-fwyd, mawr-wych, angenrhaid.

7. Rhoddwch siamplau o eiriau tarddedig trwy Ragddodiaid.—An-noeth, cyf-iawn, cy-wir.

8. A ydyw y Rhagddodiaid weithiau yn newid Enwau i Ateuwau?—Ydynt.

9. Rhoddwch siampl.—Bywyd, difywyd; car, hygar.

10. Rhoddwch siamplau o eiriau tarddedig trwy Derfyniadau.—Pen-aeth, gwlad-ol, rhed-eg.

11. Rhoddwch siamplau o Enwau yn tarddu o Ferfau.—Agoriad, o agor; cynaliaeth, o cynal; gwybodaeth, o gwybod.

Gofyned yr Athraw am siamplau o ddeilliad pob un o'r rhanau ymadrodd deilliedig ereill a nodir yn y bennod dan sylw, yn aghydag ystyr y terfyniadau a feddant arwyddocâd.

# PENNOD XXIX.

## CYNLLUN O EIRDDREIGLIADAETH.—*Specimen of Etymological Parsing.*

GAN ein bod wedi gorphen ein heglurhâd o'r gwahanol ranau-ymadrodd, y mae yn briodol yn awr roddi rhai siamplau o'r dull yn mha un y dylai y gramadegwyr ieuainc fyned yn mlaen er profi eu gwybodaeth, a gwneyd eu hunain yn hyddysg ynddi.

### Y CANFED SALM.

Adn 1. "*Cenwch yn llafar i'r Arglwydd yr holl ddaear.*"

*Cenwch*—Berf weithredol, modd gorchymynol, amser presenol, ail berson lluosog. (Tudal. 116.)
*yn llafar*—Atferf, yn perthyn i'r Ferf *cenwch*. Y mae yn perthyn i'r Atferfau o Briodoledd. (Tudal. 130.)
*i'r*—Arddodiad bannodol, yn cael ei ffurfio o *i* ac *yr*. (Tudal. 88.)
*Arglwydd*—Enw priodol. (Tudal. 63.)
*yr*—Bannod, yn rhagflaenu unseiniad ac *h*. (Tudal. 88.)
*holl*—Atenw annhenodol, yn perthyn i'r Enw *daear*. (Tudal. 89.)
*ddaear*—Enw (cyffredinol), rhif unigol, cenedl fenywaidd. Tudal. 64.)

Adn. 2. "*Gwasanaethwch yr Arglwydd mewn llawenydd: deuwch o'i flaen ef â chân.*"

*Gwasanaethwch*—Berf weithredol, modd gorchymynol, amser presenol, ail berson lluosog.
*yr*—Bannod, fel o'r blaen.
*Arglwydd*—Enw, fel o'r blaen.
*mewn*—Arddodiad.
*llawenydd*—Enw (dansoddol), rhif unigol, (ni pherthyn iddo rif lluosog, tudal. 72,) cenedl wrywaidd. (Tudal. 68.)
*deuwch*—Berf gynolig afreolaidd, modd gorchymynol, amser presenol, ail berson lluosog. (Tudal. 123.)
*o'i flaen*—Arddodiad cyfansawdd, gyda'r Rhagenw rhagarweiniol *ei*, i ddangos fod rhagenw yn dylyn. (Tudal. 137.)
*ef*—Rhagenw personol, trydydd person unigol, cenedl wrywaidd. (Tudal. 92.)
*â*—Arddodiad, a arferir o flaen cydsain. (Tudal. 137.)
*chân*—Enw (dansoddol), rhif unigol, cenedl fenywaidd.

Adn. 3. "*Gwybyddwch mai yr Arglwydd sydd Dduw: efe a'n gwnaeth, ac nid ni ein hunain: ei bobl ef ydym, a defaid ei borfa.*"

*Gwybyddwch*—Berf weithredol, modd gorchymynol, fel o'r blaen.
*mai*—Cysylltiad. (Tudal. 135.)

*yr*—Bannod, fel o'r blaen.
*Arglwydd*—Enw, fel o'r blaen.
*sydd*—Y Ferf bod, modd mynegol, amser presenol, trydydd person unigol. (Tudal. 111.)
*Dduw*—Enw, fel Arglwydd.
*Efe*—Rhagenw personol, fel *ef*; ond trwy nad oes Rhagenw Rhagarweiniol na Chynglyn o'i flaen, fe'i gosodir yn ddwbl.
*a'n*—Rhagferf, yn gysylltedig â'r Rhagenw rhagarweiniol *ein*.
*gwnaeth*—Berf weithredol afreolaidd, modd mynegol, amser gorphenol, trydydd person unigol. (Tudal. 123.)
*ac*—Cysylltiad, a arferir o flaen unseiniaid, ac o flaen rhai cydseiniaid. (Tudal. 136.)
*nid*—Atferf o nacâd. (Tudal. 130.)
*ni*—Rhagenw personol, person cyntaf lluosog. (Tudal. 93.) Dylasai fod *nyni*.
*ein hunain*—Rhagenw personol cyfansawdd, person cyntaf lluosog. (Tudal. 94.)
*ei*—Rhagenw rhagarweiniol i'r rhagenw *ef* sydd yn dylyn, trydydd person unigol. (Tudal. 94.)
*bobl*—Enw (cynulledig). (Tudal. 73.)
*ef*—Rhagenw personol, fel o'r blaen.
*ydym*—Y Ferf bod, modd mynegol, amser presenol, person cyntaf lluosog. (Tudal. 111.)
*a*—Cysylltiad. (Tudal. 136.)
*defaid*—Enw (cyffredinol), rhif lluosog, cenedl fenywaid. (Tudal. 69.)
*ei*—Rhagenw rhagarweiniol i'r rhagenw *ef* sydd yn ddealledig ar ol *borfa*.
*borfa*—Enw (cyffredinol), rhif unigol, cenedl fenywaidd.

Adn. 4. "*Ewch i mewn i'w byrth ef â diolch, ac i'w gynteddau â mawl: diolchwch iddo, a bendithiwch ei enw.*"

*Ewch*—Berf ganolig afreolaidd, fel *deuwch*. (Tudal. 123.)
*i mewn i'w*—Arddodiad cyfansawdd, gyda'r Rhagenw rhagarweiniol *ei* yn gysylltedig, ond ei fod wedi ei droi yn *w*. Am ba reswm edrycher ar tudal 95.
*byrth*—Enw (cyffredinol), rhif lluosog, cenedl wrywaidd.
*ef*—Rhagenw, fel o'r blaen.
*a*—Arddodiad, fel o'r blaen.
*diolch*—Enw (dansoddol), rhif unigol, cenedl wrywaidd.
*ac*—Cysylltiad, fel o'r blaen.
*i'w*—Arddodiad ac *ei*, fel o'r blaen.
*gynteddau*—Enw (cyffredinol), rhif lluosog, cenedl wrywaidd.
*â*—Arddodiad, fel o'r blaen.
*mawl*—Enw (dansoddol), rhif unigol, (ni pherthyn iddo rif lluosog,) cenedl wrywaidd.

*diolchwch*—Berf ganolig.
*iddo*—Arddodiad rhagenwol, trydydd person unigol, cene ŕ wrywaidd.
*a*—Cysylltiad, a arferir o flaen cydsain.
*bendithiwch*—Berf weithredol.
*ei*—Rhagenw rhagarweiniol, fel o'r blaen.
*enw*—Enw (dansoddol), rhif unigol, cenedl wrywaidd.

Adn. 5. "*Canys da yw yr Arglwydd: ei drugaredd sydd yn dragywydd: a'i wirionedd hyd genedlaeth a chenedlaeth.*"

*Canys*—Cysylltiad. (Tudal. 136.)
*da*—Atenw, o'r radd gysefin, ac o gymhariad afreolaidd, yn perthyn i'r Enw Arglwydd. (Tudal. 82.)
*yw*—Y Ferf bod, modd mynegol, amser presenol, trydydd person unigol. (Tudal. 11 k.)
*yr*—Bannod, fel o'r blaen.
*Arglwydd*—Enw, fel o'r blaen.
*ei*—Rhagenw rhagarweiniol, fel o'r blaen.
*drugaredd*—Enw (dansoddol), rhif unigol, cenedl fenywaidd.
*sydd*—Y Ferf bod, fel o'r blaen.
*yn dragywydd*—Atenw, yn perthyn i'r Enw *drugaredd*.
*a'i*—Cysylltiad wedi ei gyfuno â'r Rhagenw *ei*. Yn gyflawn fe'i hysgrifenid *ac ei*. (Tudal. 94.)
*wirionedd*—Enw (dansoddol), rhif unigol, cenedl wrywaidd.
*hyd*—Arddodiad. (Tudal. 132.)
*genedlaeth*—Enw (cyffredinol), rhif unigol, cenedl fenywaidd.
*a*—Cysylltiad, fel o'r blaen.
*chenedlaeth*—Enw, fel o'r blaen.

Er hyfforddiad pellach i'r efrydydd ieuanc, nyni a chwanegwn rai adnodau eto o'r Beibl, gan nodi pa ran ymadrodd yw pob gair, a gadael iddo ef fanylu yn ol y drefn uchod.

EPISTOL CYNTAF IOAN, PEN. IV.

*Adn.* 1.

| | |
|---|---|
| Anwylyd ...... | Enw |
| na............... | Atferf |
| chredwch .. .. | Berf |
| bob............. | Atenw |
| ysbryd.......... | Enw |
| eithr ............ | Cysylltiad |
| profwch.. ..... | Berf |
| yr ....... ....... | Bannod |
| ysbrydion...... | Enw |
| ai ............... | Cysylltiad |
| o ........... .... | Arddodiad |
| Dduw ........... | Enw |
| y maent ........ | Berf |
| oblegid ....... | Cysylltiad |
| y mae . ........ | Berf |
| gau ........... .. | Atenw |
| broffwydi...... | Enw |
| lawer ......... | Atenw |
| wedi myned... | Berf |
| allan............ | Atferf |
| i'r................ | Arddodiad, &c. |
| byd .......... . | Enw |

*Adn.* 4.

| | |
|---|---|
| Chwychwi...... | Rhagenw |
| ydych........... | Berf |
| o.................. | Arddodiad |
| Dduw ........... | Enw |
| blant ............ | Enw |
| bychain......... | Atenw |
| ac ............... | Cysylltiad |
| a'u............... | Atferf, &c. |
| gorchfygasoch. | Berf |
| hwy ............ | Rhagenw |
| oblegid ........ | Cysylltiad. |
| mwy............ | Atenw |
| yw .............. | Berf |
| yr hwn......... | Rhagenw |
| sydd.. ......... | Berf |
| ynoch ......... | Arddodiad |
| chwi............ | Rhagenw |
| na............... | Cysylltiad |
| yr hwn......... | Rhagenw |
| sydd............ | Berf |
| yn............... | Adroddiad |
| y byd .......... | Ban, a ac Enw. |

# RHAN III.

## CYSTRAWIAETH.—SYNTAX.

**CYSTRAWIAETH *yw y rhan hono o Ramadeg ag sydd yn traethu ar iawn drefniad a chysylltiad geiriau mewn broddegau.***

### PENNOD ARWEINIOL.

**AM NATUR A FFURFIAD BRODDEGAU.**—*Of the Nature and Structure of Sentences.*

BRODDEG yw cynulliad o eiriau yn ffurfio cyflawn synwyr.

Mae dau fath o froddegau, *unigol* a *chyfansawdd*.

Broddeg unigol ni chynwys ond un testyn ac un Ferf derfynol ;* megys, "Byr yw amser."

Mae broddeg gyfansawdd yn gynwysedig o ddwy neu chwaneg o froddegau unigol wedi eu cydgysylltu ; megys, "Byr yw amser, ond maith yw tragwyddoldeb." "Segurdod a gynyrcha angen, drygioni, ac annedwyddwch."

Fel y mae broddegau eu hunain yn cael eu dosbarthu i ddau yw, felly hefyd gellir dosbarthu aelodau broddegau i aelodau unigol

* Berfau *terfynol* yw y cyfryw ag y perthyn iddynt rif a pherson. Nid oes i Ferf yn y modd annherfynol na rhif na pherson.

a chyfansawdd; oblegid dichon broddegau cyfain, pa un bynag ai unigol ai cyfansawdd, ddyfod yn aelodau i froddegau ereill, trwy gymhorth rhyw gysylltair chwanegol; fel yn y siampl ddylynol: "Yr ŷch a edwyn ei feddianydd, a'r asyn breseb ei berchenog; ond Israel nid edwyn, fy mhobl ni ddeallant." Mae'r frodd̲eg hon yn gynwysedig o ddau aelod cyfansawdd, pob un o ba rai sydd wedi ei adranu i ddau aelod unigol, y rhai a elwir yn Seisneg *clauses*.

Y mae tri math o froddegau unigol, y *mynegol*, y *gofynol*, a'r *gorchymynol*.

Gall broddeg *fynegol* fod naill ai yn gadarnhaol neu naccaol; megys, "Yr wyt yn ddedwydd," "Nid wyt yn ddedwydd."

Broddeg *holiadol* a arferir i ofyn cwestiwn; megys, "A wyt ti yn ddedwydd?"

Broddeg *orchymynol* a arferir i orchymyn. Gall broddeg orchymynol fod yn gynwysedig o un gair yn unig; megys, "Dos."

Prif ranau broddeg unigol ydynt y testyn (neu yr enwedigydd), y dyhaeriad, a'r gwrthddrych.

Ni chynwys rhai broddegau ond dwy ran, sef y testyn a'r dyhaeriad.

Y *testyn* yw'r person neu'r peth am (neu wrth) yr hwn y llefarir; megys, "Mae'r *bachgen* yn rhedeg." "Yr wyt *ti* yn oe " *Y bachgen* a *ti* ydynt y testynau."

Y *dyhaeriad* yw'r peth neu'r weithred a gadarnheir neu a wadir amdano; megys, "Mae'r bachgen yn ddiog." *Y bachgen* yw'r testyn, ac *y mae yn ddiog* yw'r dyheiriad. Felly "Mae y bachgen yn rhedeg," *Y bachgen* yw'r testyn; *y mae yn rhedeg* yw'r dyhaeriad.

Y *gwrthddrych* yw'r peth ag yr effeithir arno gan y cyfryw weithred; megys, "Y bachgen a deifl y gareg." *Y gareg* yw'r gwrthddrych ag yr effeithir arno.

Gall pob rhan o froddeg gael geiriau cynglynol, os bydd angenrheidrwydd. Fel hyn, gellir chwanegu at y froddeg, "Y bachgen a deifl y gareg," yn y modd a ganlyn, "Y bachgen *cryf yma* a deifl *yn rhwydd* y gareg *fawr*."

Y mae o bwys mawr i'r efrydydd allu rhannu pob brawddeg i'w phrif ranau, a dylai ymarferyd â'r gorchwyl hwn nes dyfod yn dra hyddysg ynddo. Fe allai y byddai yn beth hyfforddiant iddo i ni nodi y gall y testyn neu'r gwrthddrych fod yn gynwysedig,—

1. O enw.—Y mae *amser* yn darfod—gwerthfawrogwch *amser*.
2. O atenw.—Yr *ynfyd* a ddywed—na ddos gyda'r *ynfyd*.
3. O ragenw personol.—Dywedodd *efe*—yr wyf yn ei gredu *ef*.
4. O ferf annherfynol.—*Darllen* sydd fuddiol—yr wyf yn hoffi *darllen*.
5. O ran o frawddeg.—*Eich bod wedi fy nhwyllo* sydd amlwg—yr wyf yn credu *eich bod wedi fy nhwyllo*.

Pan fyddo enw neu air a fyddo yn ei gynddrychioli yn ffurfio testyn berf, bydd yn ei *gyflwr testynol;* a phan y byddo yn ffurfio gwrthddrych berf neu arddodiad, bydd yn ei *gyflwr gwrthddrychol.* Dau *gyflwr* arall sydd yn perthyn i enwau; sef, y *cyflwr meddianol*, a'r *cyflwr galwedigol.* Pan fyddo enw neu ei gynddrychiolydd na fyddo yn ffurfio testyn berf, na gwrthddrych berf nac arddodiad, yn cael ei ragflaenu gan enw arall, dywedir ei fod yn ei *gyflwr meddianol*, trwy ef fod mewn meddiant o'r gwrthddrych a'i blaenora; megys, "Enaid dyn." Yma y mae *dyn* yn y cyflwr meddianol, trwy ei fod yn dynodi meddianiad o'r peth a'i blaenora. Y mae'r *cyflwr galwedigol* yn dynodi gwrthddrych a gyferchir neu y gelwir arno: megys, "Foneddigion." Mewn un o'r pedwar cyflwr a nodwyd y mae pob enw, yn mhob brawddeg.

Gall brawddegau unigol fod naill ai yn uniongyrch neu yn wrthdröedig. Y blaenaf a arferir mewn ymddyddanion cyffredin, a'r olaf mewn barddoniaeth ac areithyddiaeth hedegog.

Y mae trefn geiriau mewn brawddegau uniongyrch yn gwahaniaethu mewn gwahanol ieithoedd. Y Gymraeg a'r Seisneg, er engraifft, a wahaniaethant oddiwrth eu gilydd yn y peth hwn. Yn y Seisneg y testyn sydd yn cymeryd y lle blaenaf; y ferf yr ail le; a'r gwrthddrych y trydydd; megys, "*The boy threw a stone.*" Ond yn y Gymraeg cymer y ferf y lle blaenaf, y testyn yr ail, a'r gwrthddrych yr olaf; megys, "Taflodd y bachgen gareg." Hon yw trefn naturiol y Gymraeg, a hon hefyd, yn enwedig ar ol gair cysylltiol, yw trefn gyffredin yr Hebraeg, pa un sydd yn tebygoli

i'n hiaith ni mewn amrywiol bethau. Ond er mai hon yw trefn gynenid y Gymraeg, arferir y drefn Seisnig yn llawn mor fynych, sef hono o osod y testyn yn flaenaf, y ferf yn ail, a'r gwrthddrych yn olaf; megys, "Y bachgen a dafiodd gareg." Y mae'r drefn hon wedi cael ei mabwysiadu yn y Beibl, hyd yn nod pan y mae trefn yr iaith wreiddiol yn cyduno âg eiddo y Gymraeg. Yn Gen. ii. 7, er engraifft, y mae trefn y Seisneg wedi cael ei dylyn, fel y canlyn ;—

"A'r Arglwydd Dduw a luniasai y dyn o bridd y ddaear, ac a anadlasai yn ei ffroenau ef anadl einioes ; a'r dyn a aeth yn enaid byw."

Ond pe cyfieithid yr adnod hon gan gadw trefn y geiriau yn gymhwys fel y mae yn yr Hebraeg, safai fel hyn,—

"A lluniasai yr Arglwydd Dduw y dyn o bridd y ddaear. ac anadlasai yn ei ffroenau ef anadl einioes ; ac aeth y dyn yn enaid byw."

Yn y cyfieithiad blaenaf canfyddir bob y berfau *lluniasai*, *anadlasai*, ac *aeth*, yn cael eu *blaenori* gan eu priodol destynau, yn ol trefn y Seisneg ; yn yr olaf, eu bod yn cael eu *dylyn*, yn ol trefn yr Hebraeg a'r Gymraeg.

Wrth wneyd y sylwadau uchod ni fynem i'r darllenydd dybied ein bod yn condemnio yr arferiad o ddefnyddio y drefn Seisnig, mewn un modd ; na, yr ydym yn barnu yn hytrach, fod defnyddiad achlysurol ohoni gydag eiddo y Gymraeg yn dwyn amrywiaeth ddymunol i'n hiaith, ac yn ei gwneyd yn fwy eglur a grymus. Ar yr un pryd rhaid i ni rybuddio ein darllenwyr i beidio dylyn y drefn Seisnig yn ormodol. Y mae cyfieithwyr yn dueddol iawn i syrthio i'r bai hyn, ac felly yn gwneyd i'w hysgrifau ddarllen yn anystwyth ac annaturiol. Er rhoi eglurhâd pellach i'n gosodiadau, nyni a ddyfynwn rai engreifftiau o gyfieithiad y diweddar Mr. Jones o waith Dr. Clarke. Yr oedd Mr. Jones yn gyfieithwr gwych ; ond pe na fuasai wedi mabwysiadu y drefn Seisnig mor fanwl tybiwn y buasai yn welliant.

"*Some of the ancients were of opinion.*"
"Rhai o'r henafiaid oeddent o'r farn."

"*The word* àlmah *comes from* àlam."
"Y gair *àlmah* sydd yn dyfod oddiwrth *àlam*."

*"Another root will cast light on this subject."*

"Gwreiddair arall a deifl oleuni ar y pwnc hwn."

Buasai y cyfieithiadau uchod yn fwy naturiol fel y canlyn:—"Yr oedd rhai o'r henafiaid o'r farn;" "Y mae 'r gair *âlmah* yn dyfod oddiwrth *âlam;*" "Bydd i wreiddair arall daflu goleuni ar y pwnc hwn."

ENGREIFFTIAU O FRODDEGAU UNIONGYRCH A GWRTHDROEDIG.

*Gwrthdroedig.* Olrhain yr oeddwn y delfrydau hyn.
*Uniongyrch.* Yr oeddwn yn olrhain y delfrydau hyn.

*Gwrthdroedig.* Da i anian dy eni,
Dedwydd o'th herwydd aeth hi.
*Uniongyrch.* Y mae yn dda i anian i ti gael dy eni,
Aeth hi yn ddedwydd o'th herwydd.

*Gwrthdroedig.* Twrf magnelau eu dyfodiad a fynegent.
*Uniongyrch.* Mynegai twrf magnelau eu dyfodiad.

*Gwrthdroedig.* Rhyfedd ac ofnadwy y'm gwnaed.
*Unioagyrch.* Fe'm gwnaed yn rhyfedd ac yn ofnadwy.

Y rhanau-ymadrodd ag sydd yn cysylltu broddegau unigol yn nghyd fel ag i wneyd broddeg gyfansawdd, ydynt, *rhagenwau perthynol* a *chysylltiaid.* Gyda'r rhai hyn rhaid rhestru ffurf gysylltiadol y ferf *bod.*

Dylai yr efrydydd ymarfer â'r gorchwyl o ddadansoddi broddegau cyfansawdd i'r broddegau unigol a'u cyfansoddant, ac o ddosbarthu y rhai hyn drachefn i'r prif ranau a'u cyfansoddant hwythau.

Mae Geiryddiaeth yn sylwi ar eiriau yn unigol; ond Cystrawiaeth sydd yn traethu ar eu perthynas i'w gilydd mewn broddeg.

Gellir rhanu perthynasau geiriau i'w gilydd i dri phrif ddosbarth; sef,

1. Y berthynas rhwng y testyn a'r dyhaeriad. (Perthynas ddyhaeriadol.)

2. Y berthynas rhwng y dyhaeriad a'i amrywiol chwanegiadau. (Perthynas wrthddrychol.)

3. Y berthynas rhwng yr enw a'i briodoleddau. (Perthynas briodoleddol.)

## ADCHWILIAD I'R BENNOD ARWEINIOL.

1. Beth yw Cystrawiaeth?—Y rhan hono o Ramadeg ag sydd yn traethu ar iawn drefniad a chysylltiad geiriau mewn bròddegau.

2. Beth yw broddeg?—Cynulliad o eiriau yn ffurfio cyflawn synwyr.

3. Pa sawl math o froddegau sydd?—Dau.

4. Pa rai ydynt hwy?—Unigol a chyfansawdd.

5. Beth a feddylir wrth froddeg unigol?—Broddeg na chynwys ond un testyn, ac un ferf derfynol.

6. Beth a feddylir wrth froddeg gyfansawdd?—Bróddeg a fyddo yn gynwysedig o ddwy neu chwaneg o froddegau unigol.

Rhodder siamplau o froddegau unigol a chyfansawdd, neu noder hwy allan mewn llyfr.

7. Pa sawl math o froddegau unigol sydd?—Tri; sef, y mynegol, yr holiadol, a'r gorchymynol.

8. Pa rai ydynt brif ranau broddeg unigol?—Y testyn, y dyhaeriad, a'r gwrthddrych.

9. A ydyw pob broddeg unigol yn cynwys y tair rhan hyn?—Nac ydyw; ni chynwys rhai ond dwy, sef y testyn a'r dyhaeriad.

10. Beth yw'r testyn?—Y person neu'r peth am neu wrth yr hwn y llefarir.

11. Beth yw'r dyhaeriad?—Y peth neu'r weithred a gadarnheir neu a wadir am y testyn.

12. Beth yw'r gwrthddrych?—Y peth ag yr effeithir arno.

13. Pa sawl cyflwr sydd yn perthyn i enwau?—Pedwar.

14. Pa rai ydynt hwy?—Y testynol, y meddianol, y gwrthddrychol, a'r galwedigol.

15. Beth a feddyliwch wrth enw yn y cyflwr testynol?—Enw a fyddo yn ffurfio testyn berf.

16. Beth a feddyliwch wrth enw yn y cyflwr gwrthddrychol?—Enw a fyddo yn cael ei lywodraethu gan ferf weithredol neu arddodiad.

17. Beth a feddyliwch wrth enw yn y cyflwr meddianol?—Enw a lywodraethir gan enw arall.

18. Beth a feddyliwch wrth enw yn y cyflwr galwedigol?—Enw a ddynoda wrthddrych ag y gelwir arno.

19. Pa sawl dull sydd yn bod o drefnu geiriau mewn broddeg?—Dau; sef yr uniongyrch a'r gwrthdröedig.

20. Pa eiriau sydd yn cysylltu broddegau unigol, fel ag i wneyd broddeg gyfansawdd?—Rhagenwau perthynol, cysylltiaid, a'r ferf bod.

## PENNOD I.

AM GYDWEDDIAD Y TESTYN A'R FERF.—*Of the Agreement of the Nominative Case and the Verb.*

### 1. *Y dynion a ddywedasant.*

Y mae'r ferf yn cydweddu â'i thestyn mewn rhif a pherson; megys, "Y dynion a ddywedasant;" "Yr wyf fi yn ofni."*

*Sylw* 1.—Bai a gyflawnir yn dra chyffredin, hyd ynn od gan yr ysgrifenwyr goreu, yw hwnw o luosogi y ferf *sydd;* megys, "Yr ymadroddion hyn ydynt wirioneddau pwysig." Y lluosog o *ydyw* yw *ydynt*, ac nid o sydd. Felly dylai y froddeg uchod fod, "Yr ymadroddion hyn sydd," &c.

2. Y mae y rheol uchod mewn perthynas i luosogiad y ferf wedi ei seilio ar arferiad yr ysgrifenwyr Cymreig goreu yn y dyddiau presenol, er mai barn yr awdwr ydyw na fwriedid yn wreiddiol i'r ferf gael ei lluosogi mewn un achos oddieithr pan ei dylynir gan ragenw, crybwylledig neu ddealledig. Ei reswm dros ei farn yw hwn, fod terfyniadau y ferf, yn mhob modd ac amser, oddieithr eiddo y trydedd person unigol, yn gynwysedig o ragenwau cynglyn, pa rai, fel y rhai hyny o eiddo yr ardoddiad rhagenwol, ac fel y rhagenwau rhagarweiniol, a ddynodant fod rhagenwau yn dylyn. Os caniateir hyn, y mae yn amlwg nad yw y froddeg, "Y dynion a ddywedasant," yn dda, canys arwydda yn llawn, "Y dynion a ddywedasant hwy."

Gellir nodi yn mhellach, fod gan ferfau ragenwau cynglyn perthynol i bob person, fel sydd gan arddodiad rhagenwol, oddieithr y trydedd person unigol, fel y gwelir wrth gymharu y rhai isod:—

| *Berfau.* | *Arddodiaid.* |
|---|---|
| 1. Gwelais | 1. Trosof |
| 2. Gwelaist | 2. Trosot |
| 3. Gwelodd | 3. Tros, trosto, trosti |

* EITHRIAD.—Pan fyddo'r testyn yn enw, ac yn dylyn y ferf, y mae'r ferf i fod bob amser yn unigol, er i'r testyn fod yn lluosog; megys, "Gwelodd y dynion oleuni mawr;" "Bydded goleuadau.'

| | |
|---|---|
| 1. Gwelsom | 1. Trosom |
| 2. Gwelsoch | 2. Trosoch |
| 3. Gwelsant | 3. Trostynt |

Yma y gwelwn fod gan arddodiaid dri math o drydydd person unigol, tra nad oes gan ferfau ond un. Arferir *tros* o flaen enwau, megys, "Tros ddynion;" ac arferir *trosto* o flaen *ef*, a *throsti* o flaen *hi*. Nid yw'r ferf yn meddu y neillduolion hyn, eithr arferir *gwelodd* o flaen enwau, a rhagenwau o'r ddwy genedl, megys, "Gwelodd dynion," "gwelodd ef," "gwelodd hi." Onid yw yn dra thebyg gan hyny ddarfod ffurfio y trydydd person unigol heb ragenw cynglyn mewn trefn iddo gysylltu âg enwau o'r ddau rif, yn gystal a rhagenwau o'r ddwy genedl; a bod trydydd person lluosog berfau, trwy ei fod yn meddu rhagenw cynglyn, i'w arferyd fel hwnw o eiddo arddodiad, bob amser o flaen rhagenw personol?

Un ystyriaeth arall sydd yn cadarnhau ein gosodiad. Yn ol trefn gynenid y Gymraeg y mae'r testyn yn *dylyn* y ferf, ac nid yw'r drefn hon yn caniatau lluosogi y ferf, os na fydd ei thestyn yn ragenw lluosog. Trefn y Seisneg yw gosod y testyn o flaen y ferf; ac ar ol efelychu y Seisneg yn hyn, yr oedd yn naturiol ei hefelychu hefyd yn y drefn o osod y ferf yn lluosog pan fyddai y testyn felly.

Yr ydys yn gwneyd y sylwadau hyn nid er mwyn cefnogi yr anarferiad o'r dull ag sydd wedi derbyn nawdd yr ysgrifenwyr mwyaf enwog, ond i foddhau cywreinrwydd y sawl a ddichon ymholi pa beth yw yr achos fod y ferf a'i thestyn yn cydweddu mewn rhif pan y mae'r testyn yn blaenori y ferf, ac nad ydynt yn cydweddu pan y mae'r testyn yn ei dylyn.

3. Pan gysylltir rhagenwau o wahanol bersonau gan *neu* rhaid i'r ferf a'u dylyno fod yn y trydydd person; megys, "Naill ai ti neu fi a'i tarawodd ef."

4. Y mae enw casgliadol weithiau, sef pan gynwysa y delfryd o luosogedd, yn gofyn i'r ferf a'r rhagenw a'i dylynont fod yn lluosog; megys, "Y dyrfa a aethant ymaith;" "Llwyth o'r Cymru a sylfaenasant Gaerdroia;" "Plaid y Saduceaid oeddent ganlynwyr un Sadoc;" "Disgynodd barn ar y genedl Iuddewig am *eu* drygioni."

5. Y mae enw unigol cysylltedig âg atenw rhifol neu'r gair *llawer*, yn gofyn berf luosog ar ei ol; megys, "Tri dyn a ddywedasant wrthyf;" "Llawer un a ddywedasant wrthyf." Y rheswm am hyn yw, fod *tri dyn*, a *llawer un*, yn meddu yr un ystyr a *tri o ddynion*, a *llawer o rai*. Ond y mae y gair *pob*, yr hwn na chaniatâ enw lluosog ar ei ol, yn gofyn cael ei ddylyn gan ferf unigol; megys, "Pob dyn a ddywed yr un peth."

CYNLLUNIAU.

Rhai o'r sawl *oeddent* yn dystion o'r creulonderau.—Carnhuanawc. Eu swyddau *oeddent* luosog.—I. Jones. Ereill *a ysgrifenant* acen.—Caledfryn. Amrai ddysgedigion tra enwog a *olygant* nad ydyw iaith y cynddiluwiaid mewn bod yn bresenol. —S. Roberts. Y *mae* rhanau ohonynt mor hawdd i'w deall a llyfrau ereill y Beibl; ond y *mae* rhanau ereill yn anhawdd iawn, yn neillduol y proffwydoliaethau *sydd* heb eu cyflawni.—J. Mills.

GWALLAU.

Geiriau Tacitus *ydynt* bron yn gyffelyb. Y prawfiadau mwyaf cedyrn *ydynt* eto yn ol. Y mae yn ymddangos i ni, fod hwn yn ymresymiad llawn mor *gongclusive* a'r eiddo y sawl a *gasglai* fod ystyr i bob llythyren. Y bechgyn a'i *digiodd* ef. Iuddewon *oedd* y gwŷr hyn. Amrywiol ereill a *ddygodd* iddo yr un wybodaeth. Lluniau gwrolion ac amherawdwyr *oedd* ar fwnai y Rhufeiniaid. Bydd yn un o'r perlau godidocaf a *berthyn* i'r Gymraeg. Y mae y flwyddyn ddiweddaf wedi bod yn un o'r blynyddoedd rhyfeddaf a *ddygwyddodd* erioed. Fe'i perchid gan bawb a'i *hadwaenai* ef. Hwynt-hwy *yw* y gwir berchenogion. Ymddengys oddiwrth y daflen hon yr *hanent* y Sacsoni o'r cyff Scythaidd neu Gothaidd. Y dadleuon mwyaf anhyblyg a *fu* erioed. Gwrywaidd *yw* yr holl enwau â'r rhai y cysylltir *hwn* neu *ef*. Fe'u gelwir felly oddiwrth yr awduron a'u *llefarodd*. Os nyni a *geidw* ein hyder a gorfoledd ein gobaith yn sicr hyd y diwedd. Rhaid i bob dyn a *feddyliant* y fath beth fod yn wallgofus. Pob peth sydd *oeddent* yn Nuw.

II. *Y mae yn ddyledswydd ar bob un goleddu ei iaith.*

Pan fyddo berf yn y modd annherfynol yn destyn berf rhaid gofalu am beidio dodi *i* o'i blaen; megys, "Y mae yn ddyledswydd arno *i* goleddu ei iaith gysefin." Wrth drawsosod y froddeg gwelir yn union na ddylai *i* ddim bod; megys, "Y mae goleddu ei iaith gysefin yn ddyledswydd arno."

### CYNLLUNIAU.

Felly y mae yn destyn o lawenydd *gweled* moddion gwybodaeth ysgrythyrol yn cynyddu o flwyddyn i flwyddyn.—J. MILLS. Y mae yn beth anhygoel *feddwl* bod niferi yn Nghymru yn cymeryd yr enw o fod yn awdwyr, er ar yr un pryd na fedrant silladu braidd un gair yn ei le, nac ysgrifenu mewn iaith bur.—TEGID. Aflesol fyddai yma *fyned* i eglurhâd o holl gyfeiliornadau y blaid hon.—CARNHUANAWC. Pa rai y dichon ei bod yn angenrheidiol *eu* crybwyll.—I. JONES.

### GWALLAU.

Nid oedd yn beth annghyffredin yn mhlith yr Iuddewon *i gael* amrai blant o'r un enw. Y mae yn rhinwedd *i fod* yn dda mewn lle da, ond *i fod* yn dda mewn lle drwg sydd yn fwy rhinwedd. Nid yw yn gymaint rhyfeddod *i weled* Solomon â daioni ynddo yn nhŷ Dafydd. Y mai yn anrhydedd *i gael* ei wasanaethu ef. Nid yw yn angenrheidiol *i fyned* yn mhellach na'r cyd-destyn. Byddai yn anmherthynasol i'n testyn *i nodi* allan y tebygolrwydd sydd rhyngddynt. Pa rai y dichon ei bod yn angenrheidiol *i'w* crybwyll. Ar ba rai y byddai yn anhawdd, a bron yn analluadwy *i'w* tori yn gylchaidd. Hyn oedd dyben ac amcan cyfraniad cymwynasau Duw i'r Iuddewon, sef, *i'w* rhwymo i ddyledswydd ac ufudd-dod. Y mae yn hynod *i weled* pa fath faes eang o wybodaeth a gynwysodd efe. Llawer anrhydeddusach fuasai i chwi gynyg gwrthbrofi fy rhesymau—addef eu grym—neu, ynte, *i fod* yn fud.

## III. *Tydi yw y doethaf o'r cwbl.*

Pan fyddo y ferf bod yn cael ei dylyn gan ragenw neu enw, crybwylledig neu ddealledig, yn y cyflwr testynol, na chaniatâ y rhagferf *yn* o'i flaen, dodir y ferf yn y trydydd person, er iddi gael ei blaenori gan destyn yn y person cyntaf neu yr ail; megys, "*Tydi yw* y doethaf o'r cwbl." Ond os caniatâ *yn*, rhaid i'r ferf gydweddu â'r testyn a'i blaenora; megys, "*Tydi wyt* ddoeth."

*Sylw.* Y rheswm am y rheol hon yw, bod y person cyntaf a'r ail o'r ferf *bod* yn gofyn *yn* ar ei hol; a thrwy na chaniatâ enwau blaenoredig gan y, neu a fyddont yn llywodraethu geiriau yn y cyflwr medrianol, a rhagenwau, y rhagenw yn o'u blaen, rhoddir y *ferf*, pan ddygwyddo i'r cyfryw eiriau ei dylyn, yn y trydydd person.

CYNLLUNIAU.

*Myfi yw* y ffordd, y gwirionedd, a'r bywyd.—Y GYF. SANTAIDD. *Myfi wyf* Arglwydd.—ETO. *Tydi wyt* ofnadwy.—ETO. *Myfi yw* efe.—ETO. Canys *ti yw* ein tad ni.—ETO. Os wyt yn meddwl mai *fi yw* yr awdwr.—S. EVANS. *Ninau ydym* ddynion.—D. R. STEPHENS. Chwi *oedd* y rhai a garaswn.—DR. O. PUW.

GWALLAU.

*Tydi sydd* ddysgybl iddo ef. Ond *tydi sydd* yn parhau. Canys ti *wyt* ein tad ni. Chwychwi *ydych* y dynion dewraf.

## IV. *Y mae hi yn bwrw gwlaw.*

Arferir y rhagenw *hi* yn fynych fel testyn berf heb fod un gwrthddrych wedi ei nodi o'r blaen; megys, 1. Pan sonir am weithrediadau anian, a'r cyfnewidiadau a gymerant le ynddi; megys, "Y mae *hi* yn taranu;" "Y mae *hi* yn rhewi:" neu, "Yr wyf yn meddwl *ei bod* yn taranu;" "Yr wyf yn meddwl *ei bod* yn rhewi." 2. Pan osodir allan gyflwr un; megys, "Y mae *hi* yn dlawd arno;" neu, "Yr wyf fi yn meddwl *ei bod* yn dlawd arno." 3. Pan ddynodir amser; megys, "Y mae *hi* yn hwyr;" neu, "Yr wyf yn meddwl *ei bod* yn hwyr." 4. I gynddrychioli rhan o frawddeg a fyddo yn ffurfio testyn i'r un ferf; megys, "Dywedodd *ei bod* yn debyg *na ddeuai ef ddim adref heddyw.*"

*Sylw.* Gellir gadael allan y rhagenw *hi* pan ewyllysier, ond ni ddylid gadael allan y rhagenw rhagarweiniol.

CYNLLUNIAU.

A oedd *hi* yn afreidiol am hyny iddynt fod yn ufudd?—I. JONES. Gan *ei bod* yn debygol na fuasai un apostol ar waith yn sylfaenu eglwys Rhufain.—ETO. Yn gyffelyb y gellir honi *ei bod* yn rheidiol i'r fath weithredu.—MINOS.—Er *ei bod* yn debyg y parhawn efelly hyd ddiwedd amser.—EINION MON. Dygir cymhwylliou ereill gan yr ysgrifenwyr dros dragwyddol barhâd yr ysbryd; megys, *ei bod* yn grediniaeth gyffredinol yn mysg holl genedloethau y ddaear, fod dyn i *fyw* wedi i'r corff farw.—W. JONES.

GWALLAU.

Rhaid *ei fod* mor gytunol â'i fawredd ef ymdrechu eu diwygio. *Er fod* yn amlwg oddiwrth 1 Cron. vi. 7—9, fod chwech o'i hiliogaeth ef rhyngddynt hwy. Llawer a gredent *fod* yn gynwysedig yn hen lyfrau eu hoffeiriaid, y llwyddai y Dwyrain yr amser hwnw. Efe a benderfynodd *ei fod* yn angenrheidiol iddo gael rhyw dduw. Dichon *fod* yn angenrheidiol gwneyd hyn o grybwylliad. Dywedir *fod* yn angenrheidiol medru darllen ysgrifeniadau yr awdwyr boreuaf. Gwyddoch *ei fod* yn arferiad gan y beirdd, er ys blynyddau yn ol gynal eu cymdeithasau.

V. *Paul a Barnabas a gynghorasant iddynt aros yn ngras Duw.*

Y mae dau neu chwaneg o destynau unigol cysylltedig gan *a* neu *ac*, yn gofyn i'r ferf a'u dylyno fod yn lluosog: megys, "Paul a Barnabas a gynghorasant iddynt aros yn ngras Duw."

*Sylw.* Pan y mae *gyda* yn cysylltu geiriau gan ddangos eu cydberthynas â'r ferf, y mae yn gofyn berf luosog: megys, Matthew, *gydag* Andreas, Pedr, a dau fab Zebedeus, *ydynt* yr unig ddysgyblion ag y crybwyllir yn neillduol am eu galwad.

CYNLLUNIAU.

Yr afr, a'r epa, a'r ci, *oeddent* hefyd yn greaduriaid cysegredig yn mhlith yr un bobl.—I. JONES. Mair Magdalen, a Mair mam Iago, a Salome, a *brynasant* ber-aroglau.—Y GYF. SANTAIDD. A Phaul a Barnabas a *arosasant* yn Antiochia.—ETO.

GWALLAU.

Anwybodaeth, annghrediniaeth, a chaledwch calon, a *wna* eiriau gweddi yn watwargerdd a ffieidd-dra. Moses ac Elias a *ymddangosodd* iddynt. Efe, yn nghyda'i frodyr, a *adeiladodd* y bont. Naill ai y dyn neu y ddynes a *ddywedasant* felly.

---

## ADCHWILIAD I'R BENNOD GYNTAF.

1. Mewn beth y mae berf a'i thestyn yn cydweddu?—Mewn rhif a pherson.
2. A ydynt hwy bob amser yn cydweddu felly?—Nac ydynt.
3. Pa bryd y maent hwy yn cydweddu?—Pan fyddo'r testyn yn blaenori'r ferf.
4. Pa bryd y maent hwy yn annghydweddu?—Pan fyddo'r testyn, os yn enw, yn dylyn y ferf.

5. Pa fodd y gwneir pan fyddo i'r ferf destynau o wahauol bersonau?—Dodir y ferf yn y trydydd person.

6. Beth yw gair casgliadol?—Gair yn y rhif unigol yn arwyddo lluosogedd.

7. Pa un ai berf unigol ai lluosog y mae y gair casgliadol yn ei ofyn?—Os ystyriwn y lluosogedd yn un cryuswth berf unigol a arferir; ond os yn amgen, berf luosog.

8. Rhoddwch siampl.—"Yr eglwys a alara." Yma dodir y ferf yn unigol trwy fod yr eglwys yn cael ei hystyried fel un peth; ond yn y froddeg, "Y bobl a wylant," dodir y ferf yn lluosog, trwy fod y gair bobl yn cyfleu y delfryd o luosogedd.

9. A ydyw yn anmhriodol arferyd yr arddodiad *i* o flaen berf yn y modd annherfynol pan fo yn ffurfio testyn berf?—Ydyw.

10. A ydyw y ferf *bod* bob amser yn cydweddu mewn person â'r testyn a'i blaenora?—Nac ydyw.

11. Pa bryd y maent hwy yn annghydweddu?—Pan na oddef y testyn dylynol i'r ferf y rhagferf *yn* o'i flaen.

12. Pan fydd dau neu chwaneg o destynau unigol cysylltedig gan *a* yn blaenori berf, yn mha rif y dodir hi?—Yn y rhif lluosog.

---

## PENNOD II.

**Am gydweddiad yr Enw a'r Atenw.**—*Of the agreement of the Noun and Adjective.*

### *Y dyn hwn.*

Y mae rhai atenwau yn cydweddu â'u henwau mewn rhif a chenedl; megys, "Y dyn hwn;" "Y dynion hyny;" "Dynes gall;" "Dillad gwŷnion."

*Sylw* 1. Yn ngwyneb diffyg y rheol hon gallwn sylwi, na fyddai yn un golled i'r iaith, o ran sain nac eglurder, beidio â lluosogi yr atenwau cyffredin mewn un achos. Y mae rhai ysgrifenwyr enwog wedi mabwysiadu y drefn yma.*

2. Nid yw yn briodol arferyd rhagenw rhagarwiniol a rhagenw dangosol gyda'r un enw; megys, "I'w reol hon."

* Ceir sylwadau ar rif a chenedl atenwau yn nhudal. 78.

3. Anmhriodol yw arferyd *rhai'n* fel atenw yn lle *hyn*; megys, "Y dynion rhai'n." Y talfyriad o *rhai hyn* yw *rhai'n*.

4. Arferir y rhagenw perthynol weithiau fel atenw gan yr ysgrifenwyr mwyaf enwog; megys, "Yr hwn berson."

5. Lluosogir yr atenw dangosol *hwn* ar ol enw unigol pan fyddo yn flaenoredig gan atenw rhifol yn arwyddo mwy nag un; megys, "Y tair cenedlaeth hyn."

6. Y mae yr atenwau rhifol, a'r atenwau ammhenodol *llawer* a *pob*, yn gofyn eu cysylltu âg enwau unigol; megys, "Tri dyn, pob dyn, llawer dyn." Gellir arfer enw lluosog ar ol yr enwau rhifol a *llawer* trwy roddi yr arddodiad *o* rhyngddynt; megys, "Tri o ddynion, llawer o ddynion:" a gellir arfer enw lluosog o'u blaen heb yr arddodiad, trwy feddalu eu cyn-lythyrenau; megys, "Ellyllon fil, pobloedd lawer."

7. Er mai priodol le atenw cyffredin yw *ar ol* ei enw, fe'i harferir yn achlysurol o *flaen* yr unrhyw. Cymer atenw yn y radd gymharol ei le o flaen enw mor naturiol ag ar ei ol; megys, "Y mae hon yn lanach gwraig; ac y mae hwn yn gallach dyn."

8. Y mae yr atenw *gwahanol*, pan o flaen enw, a'r atenw *amryw*, yn dynodi lluosogedd; ond y mae rhai yn eu cysylltu weithiau âg enwau unigol; megys, "Amryw fath;" "Gwahanol arwyddocâd."

9. Pan arferir atenw ar ol enw priodol, dodir yr atenw yn fenywaidd, er i'w enw fod o'r genedl wrywaidd; megys, "Dafydd dduwiol."

CYNLLUNIAU.

Anogaethau *taer* ac addewidion *teg*.—Arfon Wyson. Haerfadau *croes* a dadleuon *tyn*.—J. Mills. Ei fwriadau uchel a *mawr*.—I. Jones. Darnau *melynion* neu *wynion*.*—Caerfallwch. Y ddau frawd *hyn*.—Tegid. Y ddau fynydd *hyn*.—Caledfryn. Y pryd *hwnw*.—Carnhuanawc. Gan fod weithiau yn lled anhawdd gwybod i ba un o'r ddwy genedl *hyny* y bydd ambell enw cadarn yn perthyn.—J. Parry. Am y ddau *arall* nid oes genyf un awdurdod am eu cyfrif yn mhlith y saint.—

* Atenwau yn dynodi lliwiau a luosogir bron yn ddieithriad ar ol enwau lluosog.

7. A ydyw pob atenw unsill yn cydweddu?—Nac ydyw.

8. Pa rai sydd? Nid oes un drefn reolaidd wedi ei ffurfio: lluosogir y gair *budr*, er engraifft, ond ni luosogir *glân*; lluosogir *ieuanc*, ond ni luosogir *hen*; lluosogir *doeth*, ond ni lluosogir *ffol*.

9. Pa fodd y gwyddys ynte pa atenwau sydd i'w lluosogi?—Ddim ond trwy sylwi ar arferiad.

10. A fyddai rhyw niwaid pe peidid â'u lluosogi?—Na fyddai.

11. Pa un ai enw unigol ai lluosog a arferir ar ol atenw rhifol, llawer, a pob?—Enw unigol.

12. Pa un ai enw unigol ai lluosog a arferir ar ol *gwahanol* ac *amryw*?—Arferir y ddau yn achlysurol.

---

## PENNOD III.

**AM GYDWEDDIAD Y RHAGENW NEU YR ARDDODIAD RHAGENWOL A'R ENW NEU RAGENW AM BA UN Y SAIF.**—***Of the agreement of the Pronoun or the Pronominal Preposition and the Noun or Pronoun for which it stands.***

*Y pethau hyn yr wyf fi yn eu llefaru.*

Y mae 'r rhagenwau a'r arddodiaid rhagenwol yn cydweddu â'r enwau neu ragenwau am ba rai y safant, mewn cenedl, rhif, a pherson; megys, "Y mae y *dyn* wedi dyfod. *Efe* a ddaeth oddeutu awr yn ol." "Gwelodd y *bachgen* hwn *ei* dad ddoe." "Yr ydych *chwi* yn cael *eich* credu." "Dyma y *bwrdd* ag y bum i yn ysgrifenu *arno*."

*Sylw* 1. Dodir rhagenw lluosog ar ol enw unigol cysylltedig âg atenw rhifol yn arwyddo mwy nag un, a *llawer*; megys, "Y mae *tri pherson* yn cael *eu* henwi." Ond y mae enw cysylltedig â'r cyfenw *pob*, yn gofyn rhagenw unigol; megys, "Y mae yn naturiol i bob cenedl hoffi *ei* hiaith."

2. Y mae dau neu fwy o enwau unigol, neu eiriau a arferir yn eu lle, wedi eu cysylltu gan *a* neu *ac*, yn gofyn rhagenw lluosog; megys, "Y mae y tad a'r mab wedi *eu* dienyddio."

3. Pan fyddo y blaenorydd yn y sefyllfa wrthddrychol, y mae rhai ysgrifenwyr enwog yn gadael allan y rhagenw rhagarweiniol o flaen y ferf; megys, "Y pethau hyn wyf fi yn lefaru." Ond tybiwn nad oes rheswm da tros yr arferiad.

CYNLLUNIAU.

Am fod *pob gair* yn cael *ei* lywodraethu gan yr agosaf *ato*.—S. ROBERTS. Nid ellir penderfynu yn bresenol pa sawl *iaith* oedd yn gael *ei* siarad gynt yn nyffryn Sinar.—ETO. Y mae *yr hyn* a ganlyn yn haeddu cael *ei* ystyried.—I. JONES. Bod *tri phersan* gwahaniaethol yn cael *eu* gosod allan yma, nis gall fod amheuaeth.—ETO. Gan wrthod pob peth ffugiol neu annymunol a myned heiblo *iddo* yn ddisylw.—CARNHUANAWC.

GWALLAU.

Tu hwnt i bob peth yr ydym yn *eu* dymuno neu yn *eu* meddwl. Y mae efe wedi penderfynu beth *i* wneyd, ac arfaethu beth *i* roddi. Ni ddygaf yn awr ond un engraifft i brofi fy haeriad o blith ugeiniau a ellir nodi. Am y ffaith a geisia brofi. Yr unig gasgliad a allaswn dynu. Er bod brodoriaeth wedi trefnu i *bawb ei* orchwyl *ei* hun. Bydd foddlon yn mha *sefyllfa* bynag y dichon i ragluniaeth dy osod *ynddo*. Y fath gyffelybiaethau isel y mae yn ddefnyddio. Pa beth oedd arno eisieu? Y fendith dymorol uwchaf a all dyn feddianu. Pa gamrau y mae yn *ei* gymeryd. Fel y mae defaid yn colli llawer *o'i* gwlan wrth fyned trwy y drain a'r mieri, felly, yn rhy gyffredin, y mae dynion da yn colli llawer *o'i* daioni wrth gymysgu gydag annuwiolion. Harddwch neillduol ar bawb yw medru *ei* iaith *ei hun* yn rheolaidd. Am hyny cymerai arno nad oedd ei ddymuniad i osod neb i farwolaeth am *eu* crefydd. Y mae efe neu hi yn cael *eu* hannghredu. Yr oedd darllen y gwahanol awduron, a chymharu yr amrywiol bynciau er cadw cysondeb, a dethol a chyfleu yr holl faterion i'w lleoedd priodol, yn cael *ei* ystyried genyf yn orchwyl trymach o lawer. Yn siampl deilwng i bawb sydd yn caru *ei* genedl. Dengys yn amlwg fod galwad y Cenedloedd, a gwrthodiad yr Iuddewon o herwydd eu hannghrediniaeth, wedi *ei* ragfynegu.

---

## ADCHWILIAD I'R DRYDEDD BENNOD.

1. Mewn pa beth y mae rhagenw a'r enw neu ragenw am ba un saif yn cydweddu?—Mewn cenedl, rhif, a pherson.

2. Pa un ai unigol ai lluosog y dodir y rhagenw a ddylyno enw unigol cysylltedig âg atenw rhifol?—Lluosog.

3. Pa un ai unigol ai lluosog y dodir y rhagenw a ddylyno enw unigol cysylltedig â *pob?*—Unigol.

4. Pa un ai unigol ai lluosog y dodir y rhagenw a ddylyno ddau neu chwaneg o enwau unigol cysylltedig gan *a* neu *ac?* —Lluosog.

## PENNOD IV.

AM GYDWEDDIAD Y RHAGENW PERTHYNOL A'I FLAENORYDD.—*Of the agreement of the relative Pronoun and its antecedent.*

### *Tydi yr hwn wyt yn darllen.*

Y mae'r rhagenw perthynol yn cydweddu â'i flaenorydd mewn rhif, cenedl, a pherson; megys, "Tydi, yr hwn wyt yn darllen."

*Sylw* 1. Y mae'r rhagferf *a* yn fynych yn cyflawni swydd rhagenw perthynol; megys, "Myfi yw yr un *a* ddyoddefodd."

2. Pan fyddo'r rhagenw perthynol yn y sefyllfa feddianol neu wrthddrychol, dodir y gair llywodraethol naill ai o flaen neu ar ol y rhagenw perthynol; megys, "Y dyn *at yr hwn* yr wyf yn ysgrifenu," neu, "Y dyn *ag* yr wyf yn ysgrifenu *ato*." "Y gwragedd enwau pa rai a goffeir," neu, "Y *gwragedd y rhai* y coffeir eu henwau."

3 Bai a gyflawnir yn fynych yw gadael y rhagenw perthynol a'i lywodraethydd allan; megys, "Yn mhob cyflwr y byddom," yn lle, "Yn mhob cyflwr *ag* y byddom *ynddo*"

4. Arferir *pryd, pan*, a *lle*, weithiau yn lle rhagenwau perthynol; megys, "Y maent wedi eu trefnu yn ol yr amser *pryd* yr ysgrifenwyd hwynt."

5. Pan fyddo rhagenw perthynol yn cyfeirio at ddau neu chwaneg o enwau unigol cysylltedig gan *a* neu *ac*, rhaid ei ddodi yn y rhif lluosog; megys, "Gwelais y tad a'r fam, y rhai a ddychwelasant adref neithiwr."

CYNLLUNIAD.

Myfi yw yr Arglwydd eich Duw, *yr hwn* a'ch neillduais chwi oddiwrth bobloedd ereill.—Y GYF. SANTAIDD. Tadau a mamau *pa rai* oeddent yn hollol anadnabyddus.—I. JONES. *Y rhai* yr oedd eu tadau a'u mamau yn hollol anadnabyddus.—IDRISYN. A symud i wlad bell i'r *hon* y byddai iddo ef ei gyfarwyddo a'i arwain.—ETO.

GWALLAU.

Tydi, yr hwn *sydd* yn darllen mor annghywir. Y mae y dull goleu ac effeithiol yr ymdrinir â'r pynciau hyn yn gwneyd y llyfr yn dra difyr. A'u dwyn i'r rhyddid a'r cyflwr dedwydd i'r *hwn* y bwriadai efe eu dyrchafu hwynt.

---

## ADCHWILIAD I'R BEDWAREDD BENNOD.

1. Mewn beth y mae rhagenw perthynol yn cydweddu â'i flaenorydd?—Mewn rhif, cenedl, a pherson.

2. Pa air sydd weithiau yn cyflawni swydd rhagenw perthynol?—Y rhagferf *a*.

3. A ydyw y gair a fyddo yn llywodraethu y rhagenw perthynol i fod bob amser o'i flaen?—Na; gellir yn fynych ei osod ar ei ol.

---

## PENNOD V.

AM GYDWEDDIAD BERFAU, A CHYDWEDDIAD ENWAU A RHAGENWAU.—*Of the agreement of Verbs, and the agreement of Nouns and Pronouns.*

*Gwnewch ddaioni, a cheisiwch heddwch.*

Y mae cysylltiaid yn cydio berfau yn yr un moddau ac amserau, ac enwau a rhagenwau yn yr un cyflyrau; megys, "*Gwnewch* ddaioni, a *cheisiwch* heddwch;" "Gwelais *ef* neu ei *frawd*."

*Sylw* 1. Gall cysylltiaid gydio berfau o wahanol foddau ac amserau; ond yn y cyfryw amgylchiadau y mae yn angenrheidiol yn gyffredin ail-adrodd y testyn; megys, "Efe a'u *creodd*, ac efe a'u *ceidw*."

2. Pan fyddo y berfau yn yr un moddau ac amserau, rhaid gofalu am gadw yr un ffurf; megys, "Yn fuan *yr ymdyr* y dymhestl yn ei chynddeiriogrwydd eithaf, ac *y gwna* ddinystr ar bawb;" neu, "Yn fuan y dymhestl *a ymdyr* yn ei chynddeiriogrwydd eithaf, ac *a wna* ddinystr ar bawb;" neu, "Yn fuan *ymdyr* y dymhestl yn ei chynddeiriogrwydd eithaf, a *gwna* ddinystr ar bawb."

3. Pan fyddo cysylltiaid yn cydio enwau a ofynant y bannod neu'r rhagenwau rhagarweiniol o'u blaen, rhaid i'r rhai hyn gael eu defnyddio o flaen pob un o'r enwau; megys, "Gwelais i *y* tad, *y* fam, *a'r* teulu oll;"* "Gwelais i *eich* tad, *eich* mam, *a'ch* teulu oll." Yr un modd y rhaid i ragenwau rhagarweiniol gael eu hailadrodd o flaen berfau; megys, "Y mae efe gyda ni, *i'n* cysuro, *i'n* goleuo, *a'n* hamddiffyn."†

CYNLLUNIAU.

I'r teulu hwn efe *a* ddatguddiodd ei hun yn neillduol, *a* ymweliodd â hwynt âg amrywiol oruchwyliaethau cyhoeddus a hynod o ragluniaeth, ac o'r diwedd *a'u* ffurfiodd hwy yn genedl dan ei nodded neillduol, ac *a'u* llywodraethodd hwynt trwy gyfreithiau wedi eu traddodi oddiwrtho ef ei hun.—I. JONES. Y mae Duw gyda ni, *i'n* cysuro, *i'n* goleuo, *i'n* diogelu, *a'n* hamddiffyn.—ETO. Synais lawer tro wrth feddwl am *y* cyfnewidiad, *yr* helynt, ac *y* dyfysgi, sydd dros wyneb yr holl fyd.—CAERFALLWCH. Rhaid eu bod yn trosglwyddo yr un drychfeddyliau o'n cyflwr, *ein* haelodaeth, *ein* hanrhydedd, *a'n* perthynas â Duw.—IDRISYN.

GWALLAU.

Canys fe'i dygwyd oddiwrthynt hwy, ac *a'i* rhoddwyd i ni. Gwel yn eglur fod yr holl ragorfreintiau, anrhydedd, addysgiadau, noddiant, &c., a roddwyd iddynt hwy fel corff neillduol o bobl, wedi eu bwriadu fel anogaethau i ufudd-dod. Ac yn gytunol â hyn gofynid i'r Israeliaid ddangos pob ewyllys da i'r Cenedloedd neu y dyeithriaid; *i* ymattal oddiwrth bob triniaeth niweidiol; *i* ganiatau iddynt drigo yn heddychlawn a chysurus yn eu plith; *i* gyfranogi o'u bendithion; *i* gydgorffori â'r un corff dedwydd os barnent yn addas; ac *i* ymuno yn eu huchel-wyliau crefyddol. Am hyny y meddaf i chwi, y dygir teyrnas Dduw oddiarnoch chwi, ac *a'i* rhoddir i genedl a ddygo ei ffrwythau. Meddylddrychau cyffredinol o'n cyflwr, aelodaeth, anrhydedd, a pherth-

* Pan fyddo'r enwau a gydir yn arwyddo yr un person neu beth, nid yw'r bannod i gael ei hailadrodd; megys, "Y pwnc neu fater;" "Yr ysgrifenydd a thrysorydd."

† Trwy fod y bannod a'r rhagenwau rhagarweiniol yn gofyn cael eu hailadrodd mor fynych, ymddengys rheswm da am eu cyfuno â'r arddodiaid a'r cysylltiaid ag sydd mor aml yn eu blaenori. Y mae'r frawddeg uchod yn swnio yn bereiddiach na phe dywedid, "Y mae efe gyda ni, i ein cysuro, i ein goleuo, ac i ein hamddiffyn."

ynasau presenol ni. Ond pan y'n goresgynwyd trwy ryfeloedd, *a pherchenogi* ein gwlad gan estroniaid, ein hiaith hefyd a gollodd dir. Oddiwrth yr holl sylwadau a rhesymau blaenorol, gallwn weled yn eglur beth a arwyddir wrth bregethu Crist. Ni chanfyddent fod hyd yn nod eu gweithredoedd neu drefniadau crefyddol gorchymynedig wedi eu bwriadu i arwain i ffydd yn y Cyfryngwr gogoneddus. Y mae Duw yn Hollalluog, a gall wneyd yr hyn a fyno, ac a gyflawna ei addewid. Rhyngodd bodd i Dduw yn rasol gyfrif ei ffydd arno ef, ac *i* ganiatau ei hyder ffyddiog. I ganiatau ei hyder ffyddiog ar y dwyfol ddaioni, gallu, a ffyddlondeb, fel hawl i'r ddwyfol fendith.*

## ADCHWILIAD I'R BUMED BENNOD.

1 Mewn beth y mae berfau a gydir gan gysylltiaid yn gyffredin yn cydweddu?—Mewn moddau ac amserau.

2. Mewn beth y mae enwau a gydir gan gysylltiaid yn cydweddu?—Mewn cyflyrau.

3. A all cysylltiaid gydio berfau heb fod yn cydweddu â'u gilydd?—Gallant.

## PENNOD VI.

AM GYDWEDDIAD GOFYNION AC ATEBION.—*Of the agreement of Questions and Answers.*

*A wyt ti yn myned yno? Ydwyf.*

Gofynir cwestiwn mewn amrywiol ffyrdd; megys âg *a* o flaen berf derfynol a goddefol; âg *ai* o flaen enw, atenw, rhagenw, berf annherfynol, &c.; ac âg *oni, onid, ai nid, pwy, pa, pa sawl, &c.*

1. Ag *a* o flaen berf derfynol neu oddefol.

Os rhoddir gofyniad yn yr *amser presenol,* gwneir yr ateblad â'r un amser o eiddo'r ferf, ond gwneuthur priodol gyfnewidiad yn ei pherson hi; megys, "A wyt ti yn gweled?" Atebiad, "Yd

* Dylasai y frawddeg hon fod fel hyn,—"I ganiatau ei hyder ffyddiog ar y daioni, y gallu, a'r ffyddlondeb dwyfol," &c.

wyf," neu, "Nac ydwyf." Atebir yn fynych âg amser presennol y ferf *gwneuthur;* megys, "A gredir y dyn hwn ar ei air?" Ateb., "Gwneir."

Os rhoddir y gofyniad yn yr *amser gorphenol,* gwneir yr atebiad yn gyffredin, os yn gadarnhaol, â *do;* os yn negyddol, â *naddo;* megys, "A welaist ti ef?" Ateb., "Do," neu "Naddo." Ond weithiau atebir trwy ail adrodd y ferf; megys, "A welaist ti ef?" Ateb., "Gwelais," neu "Na welais."

Os bydd y gofyniad yn yr *amser dyfodol,* atebir trwy naill ai ail-adrodd y ferf, neu trwy ddefnyddio amser dyfodol *gwneuthur;* megys, "A gerddwch chwi yno?" Ateb., "Cerddwn," neu "Gwnawn;" neu yn negyddol, "Na cherddwn," neu "Na wnawn."

## 2. Ag *ai* o flaen enw, &c.

Pan wneir gofyniad âg *ai,* atebir, os yn gadarnhaol, âg *ie,* ac os yn negyddol, â *nage* (neu *nac ie);* megys, "Ai Ioan yw hwna?" Ateb., "Ie," neu "Nage." "Ai uniawn y gwnaeth efe?" Ateb., "Ie," neu "Nage." "Ai myned sydd raid?" Ateb., "Ie," neu "Nage." "Ai fel hyn y dywedaist?" Ateb., "Ie," neu "Nage." "Ai tros yr afon yr aeth?" Ateb., "Ie," neu "Nage."

## 3. Ag *oni* ac *onid* o flaen berf.

Y mae'r gofynion a wneir â'r rhagferf hwn yn dwyn cyffelybrwydd i'r rhai a wneir âg *a,* a chânt yr un fath atebiad.

## 4. Ag *onid* ac *ai nid.*

Y mae'r gofynion a wneir â'r rhagferfau hyn yn dwyn cyffelybrwydd i'r rhai a wneir âg *ai,* a chânt yr un fath atebiad.

## 5. A *pwy.*

Gofynion a wneir â *pwy* (gydag *a* yn gyffredin rhwng *pwy* a'r ferf, oddigerth y ferf *bod)* a atebir âg enw neu rageuw yn yr un cyflwr; megys; "Pwy a wnaeth hyn?" Ateb., "Myfi," neu "Ioan." Yma y mae *pwy,* a *myfi* neu *Ioan,* yn y cyflwr testynol. "Llyfr pwy yw hwn?" Ateb., "Fy llyfr i," neu "Llyfr Ioan." Y mae *pwy,* ac *i* neu *Ioan,* yn y cyflwr meddianol. "Pwy ydych

chwi yn ei garu?" Ateb., "Tydi," neu "Ioan." Yma y mae *pwy*, a *tydi* neu *Ioan*, yn y cyflwr gwrthddrychol.

6. A *pa*.

Y mae gan *pa* bob amser enw ar ei ol, ac fe'i hatebir âg enw neu ferf annherfynol; megys, "Pa beth yw hwnacw?" Ateb., "Llyfr." "Pa beth a wnaeth ef?" Ateb., "Llatrata." Y mae arddodiad yn aml yn ddealledig o flaen *pa*, ac o flaen yr atebiad; megys, "Pa le yr wyt yn myned?" hyny yw, "I ba le," &c. Ateb., "I Lundain." "Pa le yr wyt ti yn byw?" hyny yw, "Yn mha le," &c. Ateb., "Yn Llanidloes." "Pa hyd yr arosi di yno?" hyny yw, "Am ba hyd," &c. Ateb., "Am fis."

*Sylw*. Beius yw arfer *pa faint* mewn ymholiad a gyfeiria at *rif* gwrthddrychau. Yn lle *pa faint*, dyweder *pa nifer*; megys, "Pa nifer o gnau sydd genych?" Gwneler yr un gwahaniaeth rhwng cyfansoddion y geiriau hyn; megys, yn lle, "Y mae genyf fi *gymaint* o gnau ag sydd genyt ti;" dyweder, "Y mae genyf fi *gynifer* o gnau ag sydd genyt ti."

7. A *pa sawl*.

Y mae gan *pa sawl* naill ai y gair *un* neu enw unigol yn union-gyrchol ddylyn, ac fe'i hatebir âg atenw rhifol; megys, "Pa sawl un sydd yno?" Ateb., "Tri, pedwar," &c. "Pa sawl milldir sydd i'r fan a'r fan?" Ateb., "Deuddeg, ugain," &c.

CYNLLUNIAU.

A elwir y bedd yn dy? *Gwneir*.—T. Jones. A sonia y Beibl am rai yn gwadu yr adgyfodiad? *Gwna*.—Eto. Pa *nifer* o amserau a berthyn i'r parwyddiaid?—I. Jones.

GWADDAW.

Pa sawl *llythyrenau* sydd yn yr egwyddor? Pwy *ddyn* a welsoch chwi? *A cerdded* a wneist ti? *Ai ydyw* ef yn myned yno? Pa *faint* o bennodau sydd yn y Beibl?

---

## ADCHWILIAD I'R CHWECHED BENNOD.

1. Beth yw y gwahaniaeth rhwng *a* ac *ai* mewn gofyniad?—Arferir *a* o flaen berf derfynol a goddefol, ac *ai* yn mhob achos arall.

2. Pa fodd yr atebir gofyniad a wneir gan *a* o flaen berf yn yr amser presenol?—Naill ai trwy ail-adrodd y ferf, neu trwy ddefnyddio amser presenol y ferf *gwneuthur*.

3. Pa fodd yr atebir yn yr amser gorphenol?—Naill ai trwy ail-adrodd y ferf, neu trwy ddefnyddio *do* neu *naddo*.

4. Pa fodd yr atebir yn yr amser dyfodol?—Naill ai trwy ail-adrodd y ferf, neu trwy ddefnyddio amser dyfodol y ferf *gwneuthur*.

5. Pa fodd yr atebir gofyniad a wneir gan *ai?*—Os yn gadarnhaol, âg *ie;* os yn nacaol, â *nage.*

6. Pa fodd yr atebir gofynion a wneir gan *oni?*—Yr un fath ag yr atebir y rhai a wneir gan *a.*

7. Pa fodd yr atebir gofynion a wneir gan *onid* ac *ai nid?*—Yr un fath ag yr atebir y rhai a wneir gan *ai.*

8. At beth y mae *pwy* yn cyfeirio?—At bersonau.

9. Beth yw y gwahaniaeth rhwng *pa faint* a *pa nifer?*—Y mae *pa faint* yn cyfeirio at *faint*, a *pa nifer* at *rif.*

10. At beth y mae *pa sawl* yn cyfeirio?—At rif.

11. Beth yw y gwahaniaeth rhwng *pa sawl* a *pha nifer?*—Y mae *pa sawl* yn gofyn enw unigol ar ei ol, a *pa nifer*, enw lluosog.

12. Rhoddwch siampl.—Pa sawl *cneuen* sydd genyt? Pa nifer o *gnau* sydd genyt?

---

## PENNOD VII.

### AM LYWODRAETH ENWAU.—*Of the Government of Nouns.*

### I. *Coron y frenines.*

Pan fyddo dau enw yn arwyddo gwahanol bethau yn dyfod yn nghyd, bydd yr olaf yn y cyflwr meddianol; megys, "Ty Dafydd;" "Dedwyddwch dyn;" "Coron y frenines."

*Sylw* 1. Pan fyddo dau enw yn dyfod yn nghyd gan arwyddo yr un peth, byddant yn yr un cyflwr: hyny yw, byddant yn cydweddu â, neu yn cael eu llywodraethu gan yr un gair; megys, "Yr efengylwr Ioan a ddywed yr un peth;" "Gyrwyd deiseb at y frenines Victoria." Gellir dodi yr enw cyffredinol, gyda'r bannod o'i flaen, naill ai o flaen neu ar ol yr enw priodol; megys, "Yr apostol Paul—Paul yr apostol;" "Yr efengylwr Ioan—Ioan yr efengylwr." Pan fyddo enw cyffredinol yn dechreu â *b* neu *m* yn dylyn yr enw priodol, gellir gadael y bannod allan trwy feddalu y gynlythyren grybwylledig; megys, "Dafydd frenin, Arthur filwr, Rhys fardd, Mair forwyn, Ioan Fedyddiwr."

2. Y mae enwau yn llywodraethu rhagenwau yn gystal ag enwau yn y cyflwr meddianol; megys, "Fy llyfr i yw hwna;" yr hyn sydd yr un peth a phe dywedid, "Llyfr myfi yw hwna." Felly y mae *fy* ac *i* yn y cyflwr meddianol, yn cael eu llywodraethu gan yr enw *llyfr*.

3. Pan arferir yr enw olaf fel atenw, nid oes gan yr enw blaenaf un llywodraeth arno, ond trinir ef yn gymhwys fel atenw; megys, "Tŷ coed, ysgubor goed, sarff bres, canwyll gŵyr, fflam dân, pont bren, yr elfen dân, yr elfen ddwfr."

4. Nid yw enw llywodraethol yn caniatau bannod o'i flaen; felly os bydd amryw enwau yn dylyn eu gilydd, yr olaf yn unig a oddef y bannod o'i flaen; megys, "Sŵn traed march gwas y brenin." Os bydd yr enw llywodraethol yn gofyn cael ei nodi allan gan y bannod, rhaid defnyddio rhyw eiriau, megys, *o* neu *o eiddo*, i ddynodi y berthynas rhwng yr enwau. Er engraifft, pe byddai eisieu nodi allan yr enw llywodraethol yn y froddeg, "A welaist ti ddarlun y frenines?" byddai yn rhaid dywedyd, "A welaist ti y darlun hwn o'r frenines?" neu, "A welaist ti y darlun hwn o eiddo y frenines?"

5. Dynodir meddiant weithiau â'r arddodiad *i*; megys, "O'r naill gwr *i'r* ddaear hyd y cwr arall *i'r* ddaear.

6. Defnyddir y bannod o flaen y rhagenw *yr eiddo*, er ei wahaniaethu oddiwrth yr enw; megys, "Y llyfr hwn o'r eiddof."

CYNLLUNIAU.

Eithr pan ymddangosodd daioni a chariad Duw ein Hachubwr tuag at ddyn.—*Tit.* iii. 4. Canys daeth yr amser i ddechreu o'r farn o dŷ Dduw*—1 *Pedr* iv. 17. Efe a ddaeth yn dad, yn ben, a chynrychiolwr mawr *pawb* a gredant.— I. Jones. Rhwng ein hamgylchiadau ni a'r *eiddynt* hwy.—J Mills. Mor *gonclusive* a'r *eiddo* y sawl a gasglent fod ystyr i bob llythyren.—J. Williams. Parodd hyn esgeuluso Ffranceg Lloegr, tra y cabolid ac arddunid *yr* eiddo Ffrainc.—D. E. Jones. Nid mawr yr amrywia cydgylymiad broddegau yn Seisoneg oddiwrth *yr* eiddo y Gymraeg.—Eto.

* Pan fyddo gair yn y cyflwr meddianol, y mae ei flaenlythyren i fod yn un wreiddiol. Ond y mae y gair Duw yn ffurfio eithriad i hyn, trwy fod y D n troi i'r sain eddal ar ol rhai enwau; sef, *teyrnas, teml, tŷ, eglwys, pobl.*

-iau ar gyfrif eu gwahanol gyflyrau, oddieithr
dreigliad y blaenlythyrenau. Y mae berfau
d yn rhoddi i'w gwrthddrychau y sain leisiol.
-fau yn llywodraethu dau air yn y cyflwr
ys, "Yr wyf yn ei ystyried *ef* yn *ddyn* doeth."
bob amser yn dangos fod yr enw a fyddo ar
ng enw neu ragenw a fyddo o'i flaen; megys,
da." Yma y mae *dyn* yn y cyflwr testynol,
r testynol. Eto, "Yr wyf yn ei galw hi yn
mae *boneddiges* yn y cyflwr gwrthddrychol,
gwrthddrychol. Y gair *fel* hefyd weithiau
un cyflwr; megys, "Yr wyf yn ei ystyried

-ithiau fel berf weithredol, megys, "Paid
-awdd gweled bod yr arferiad yma yn an-
berf weithredol yn gofyn meddalu blaen-
-ch; megys, "Gochel *dyngu*." Dylid ar-
bob amser ar ol y ferf *peidio;* megys, "Paid

feiau yn fynych gyda golwg ar yr ar-
-ryd mwy nag un arddodiad gyda'r un
"I'r rhai a eisteddent yn mro a chysgod
-ni *iddynt*." 2. Gadael yr arddodiad allan;
-fwr y byddom." 3. Arferyd arddodiad
"Yr wyt yn sefyll mewn angen *ohono.*
-, atenwau, ac enwau, yn gofyn arddod-
, fel y gwelir yn y rhestr ganlynol:—

| | |
|---|---|
| Cymharu *â*, *i* | Gwybodaeth *o* |
| Cymhwyso *at*, *i* | Hysbys *o* |
| Cysylltu *wrth*, *â* | Hyshysiad *am* |
| Chwant *i* | Math *o* |
| Derbyn *gan*, *oddiwrth* | Parch *i* |
| Dylyn *â* | Perthynas *â*, *i* |
| Dylynedig *gan* | Tarddu *o*, *oddiwrth* |
| Dywedyd *wrth* | Tosturio *wrth* |
| Gobaith *am* | Trugarhau *wrth* |
| Gwahanol *i* | Ymadael *â* |
| Gweddi *ar* | Ymlyniad *wrth** |

-aethu y rhestr hon, ond ni chaniatâ ein terfynau

GWALLAU.

Y mae trefn eu cyfnewidiad yn eangach a chywreinach *nag* eiddo y Gryw na'r Hebraeg. Nis gallwn obeithio ei gystadlu trwy unrhyw gyfansoddiad *o'm heiddio* fy hun. Gofyna gydweithrediad eu ffydd hwy, yn gystal *a'i* eiddo ei hun. Hyn a wnai i'w gân ragori yn ddirfawr ar eiddo ei gydymgeisydd.

---

## ADCHWILIAD I'R SEITHFED BENNOD.

1. Pan fyddo dau enw yn arwyddo gwahanol bethau yn dyfod yn nghyd, pa lywodraeth a fydd gan y blaenaf ar yr olaf?—Peri iddo fod yn y cyflwr meddianol.

2. A oes gan enw lywodraeth ar un arall pan yn arwyddo yr un gwrthddrych?—Nac oes; bydd y ddau yn yr un cyflwr.

3. A arferir enw weithiau fel atenw?—Gwneir.

4. Oni ellir gosod bannod o flaen enw llywodraethol?—Nac ellir.

5. A ellir gosod bannod o flaen enw yn y cyflwr meddianol?—Gellir.

6. Beth os bydd eisieu nodi allan yr enw llywodraethol?—Rhaid defnyddio rhyw eiriau i ddangos y berthynas rhwng yr enwau.

7. Pa eiriau a ddefnyddir yn gyffredin?—*O* ac *yr eiddo.*

8. A ydyw y bannod i'w arferyd bob amser o flaen y rhagenw *yr eiddo*?—Ydyw.

---

## PENNOD VIII.

AM LYWODRAETH BERFAU AC ARDDODIAID.—*Of the government of Verbs and Prepositions.*

### I. *Had y wraig a ysiga ben y sarff.*

**Y mae pob berf weithredol ac arddodiad yn llywodraethu enw neu ragenw yn y cyflwr gwrthddrychol; megys, "Had y wraig a ysiga ben y sarff;" "Efe a leddir â chleddyf."**

*Sylw* 1. Fel y mae geiriau yn cael eu hamrywio yn y Gymraeg i ddynodi gwahaniaeth rhyw, rhif, a pherson, felly mewn rhai ieithoedd fe'u hamrywir hefyd i nodi gwahaniaeth cyflwr. Felly bydd gair yn y cyflwr testynol, er engraifft, yn cael ei amrywio pan ei gosodir yn y cyflwr gwrthddrychol. Ond nid yw y Gym-

raeg yn amrywio geiriau ar gyfrif eu gwahanol gyflyrau, oddieithr yr hyn a wneir trwy dreigliad y blaenlythyrenau. Y mae berfau terfynol ac arddodiaid yn rhoddi i'w gwrthddrychau y sain leisiol.

2. Y mae rhai berfau yn llywodraethu dau air yn y cyflwr gwrthddrychol; megys, "Yr wyf yn ei ystyried *ef* yn *ddyn* doeth." Y mae'r rhagferf *yn* bob amser yn dangos fod yr enw a fyddo ar ei ol yn yr un cyflwr ag enw neu ragenw a fyddo o'i flaen; megys, "Y mae ef yn ddyn da." Yma y mae *dyn* yn y cyflwr testynol, trwy fod *ef* yn y cyflwr testynol. Eto, "Yr wyf yn ei galw hi yn foneddiges." Yma y mae *boneddiges* yn y cyflwr gwrthddrychol, trwy fod *hi* yn y cyflwr gwrthddrychol. Y gair *fel* hefyd weithiau a gysyllta eiriau yn yr un cyflwr; megys, "Yr wyf yn ei ystyried *ef* fel *brenin*."

3. Arferir *peidio* weithiau fel berf weithredol, megys, "Paid tyngu." Y mae yn hawdd gweled bod yr arferiad yma yn annghywir, canys y mae berf weithredol yn gofyn meddalu blaenlythyren ei gwrthddrych; megys, "Gochel *d*yngu." Dylid arferyd yr arddodiad *â* bob amser ar ol y ferf *peidio;* megys, "Paid *â* thyngu."

4. Gwneir tri math o feiau yn fynych gyda golwg ar yr arddodiaid; sef, 1. Arferyd mwy nag un arddodiad gyda'r un gwrthddrych; megys, "I'r rhai a eisteddent yn mro a chysgod angeu y cyfododd goleuni *iddynt*." 2. Gadael yr arddodiad allan; megys, "Yn mhob cyflwr y byddom." 3. Arferyd arddodiad anmhriodol; megys, "Yr wyt yn sefyll mewn angen *ohono.*

5. Y mae rhai berfau, ateuwau, ac enwau, yn gofyn arddodiaid penodol ar eu hol, fel y gwelir yn y rhestr ganlynol:—

| | | |
|---|---|---|
| Adnabyddiaeth *o* | Cymharu *â, i* | Gwybodaeth *o* |
| Angen *am* | Cymhwyso *at, i* | Hysbys *o* |
| Angenrheidrwydd *am* | Cysylltu *wrth, â* | Hysbysiad *am* |
| Anfon *i, at* [*o* | Chwant *i* | Math *o* |
| Annibynol *ar* | Derbyn *gan, oddiwrth* | Parch *i* |
| Boddhaol *i* | Dylyn *â* | Perthynas *â, i* |
| Cael *gan* | Dylynedig *gan* | Tarddu *o, oddiwrth* |
| Cariad *at* | Dywedyd *wrth* | Tosturio *wrth* |
| Coffadwriaeth *am* | Gobaith *am* | Trugarhau *wrth* |
| Cyfartal *i* | Gwahanol *i* | Ymadael *â* |
| Cyhuddo *o* | Gweddi *ar* | Ymlyniad *wrth** |

* Byddai yn fuddiol helaethu y rhestr hon, ond ni chaniatâ ein terfynau i ni wneyd hyny.

Y rhai uchod a roddwyd fel engreifftiau. Caniatâ amryw ohonynt arddodiaid ereill ar eu hol i adrodd perthynasau gwahanol. Lle y dodwyd dau arddodiad ar ol gair nid ydys i dybied y gellir defnyddio y naill neu'r llall ohonynt yn ddiwahaniaeth. Y mae gwahanol arddodiaid yn arwyddo gwahanol berthynasau ac ystyriaethau, er mewn cysylltiad â'r un gair. Er engraifft: Derbyn *gan* yw derbyn beth y mae y rhoddwr ei hun yn ei estyn i ni; derbyn *oddiwrth* yw derbyn beth y mae y rhoddwr yn ei anfon i ni. Cymharu *â* yw chwilio i briodoleddau gwrthddrychau i edrych mewn beth y maent yn ymdebygoli neu yn ymwahaniaethu; cymharu *i* yw cyffelybu y naill beth i beth arall.

CYNLLUNIAU.

Wedi dangos y cyfeiliornad *o barth* trefn a geiriau yn y cyfieithiad cyffredin, iawn dangos y gwellâd.—ARFONWYSON. Ni ellir arddangos ardderchogrwydd iaith heb ei chymharu *âg* ereill. —S. ROBERTS. Ni feiddiaf, ac ni fedraf chwaith ddywedyd *wrth* neb o'm cymydogion—ETO. Llawenhaem yn fawr pe gwnelem ein cydwladwyr yn fwy hyddysg a chyfarwydd yn y lythyraeth Gymreig; yn fwy eu hawydd am iawn wybodaeth *ohoni*.—TEGID. Yn gyfatebol i ddefnyddiad iaith fel moddion addysg a gwybodaeth y dylai fod ein hymdrech *am* gael adnabyddiaeth *ohoni*, ac y deillia yr angenrheidrwydd *o*'i choleddu.—R. MILLS. Gellir dywedyd yn ddilys fod y Gymraeg yn dal perthynas agaws *â* hi.—ETO. Ond eich bod yn cysylltu amod *wrth* yr addewid.—S. EVANS.

GWALLAU.

Rhag un amser i'th wrthwynebwr dy roddi di yn llaw y barnwr, ac i'r barnwr dy roddi at y swyddog a'th daflu *yn* ngharchar. Gwnaethym bob ymgais *o* helaethu a rhwyddhau y gwaith. Bannod yw gair a ddodir o flaen enw cadarn, i benodi ei ystyr neillduol ef, yn wahanol *oddiwrth* ei ystyr cyffredinol. Yn arwyddo yn gyffredin bob math *ar* fendith. O'r drygau ffiaidd *ag* y mae yr apostol yn cyhuddo y Cenedloedd yn yr adnod hon a'r un ganlynol, gallwn ddwyn lluaws o brofion. Y mae y dull goleu ac effeithiol yr ymdrinir â'r pynciau hyn, yn gwneyd y llyfr yn dra difyr. Am ei bod yn chwenych gadael coffadwriaeth tragwyddol *ohoni* ei hun. Efe a ddangosodd i'r Iuddewon gyfeiliornad hyd yn nod y goreu o'u cenedl trwy ddywedyd *iddynt*, "nad oedd Israel wedi cyraedd deddf cyfiawnder." Cyflawnai weithred y gwyddai y byddai yn dra boddhaol

*ganddynt* hwy. Yr oedd wedi ei lenwi *o* ddedwyddwch. Y mae yn gwbl gyfartal *â* dybenion ei sefydliad. Nid oes achos myned tros y tir hwnw drachefn. Gweinydda yn goffadwriaeth *ohono* i'r oes a ddel. Y mae modd dynwared prydyddiaeth. Y mae y nod yn peri fod y cyfryw benill yn anhawddach ei ddarllen i rai annghynefin â barddoniaeth. Cymhara dithau y ddau *gyda'u* gilydd. Y mae yn amlwg i'r rhai sydd yn arfer *â* darllen* gwahanol argraffiadau o'r Beibl. Gwelir ein bod wedi unioni ambell *i* benelin. Ni ddywedir dim o barth *i'w* gymeriad. Er i bechod fel mynydd *i* wasgu'r pechadur. Tyllwch hwn *gydag* ebill.

## II. *Yr wyf yn bwriadu myned.*

Y mae berf weithredol yn llywodraethu berf a fo yn ei dylyn, neu yn ymddibynu arni, yn y modd annherfynol; megys, "Yr wyf yn bwriadu myned yno."

*Sylw.* Rhaid gofalu am beidio rhoddi *i* o flaen berf pan ei llywodraethir gan ferf arall. Ceir ei greifftiau o'r bai hwn yn fynych; megys, "Ymdrechais *i*'w ddiwygio." Ond pan fyddo berf ganolig, neu un ag y bydd iddi wrthddrych, yn cael ei dylyn gan ferf yn y modd annherfynol, rhaid i'r olaf gael arddodiad o'i blaen; megys, "Cynghoraf chwi *i* ymdrechu adnabod eich hunan." Pan fyddo gwrthddrych berf yn ffurfio testyn modd annherfynol, weithiau dodir arddodiad o flaen y gwrthddrych, a gadewir y ferf annherfynol heb un; megys, "Yr wyf yn dymuno *i* ti ei gospi ef."

CYNLLUNIAU.

Tueddasent *i* gyffroi yn y meddwl deimladau gwrthwynebol.—TRAETHODYDD. Perafi *i* ti dewi rhag y canlyniad.—DR. O. PUW. Ar hyn Gregorius a benderfynodd fyned ei hun i Brydain.—CARNHUANAWC.

GWALLAU.

Penderfynodd o'r diwedd *i'w* adael. Yr wyf yn herio un dyn ddadlu âg ef. Ymdrechaf hyd y gallwyf *i* ochelyd eithafoedd, ac ymegnïaf i ymryddhau o gadwynau dallbleidiaeth, ac i ymddattod o lyffetheiriau rhagfarn. Anogwyf bawb sydd yn deall yr iaith brynu y llyfryn yna. Ni chymerodd neb arno, yn y dyddiau hyny, *i* ddatguddio unrhyw annghywirdeb yn ei adroddiad. Ar waith Ahaz yn nacau yn ostyngedig *i* ofyn arwydd, chwanegir yn ddiatreg, &c. Gwelodd Duw yn dda, yn ei anfeidrol ddoethineb

* Dylai fod naill ai "arfer darllen," neu "ymarfer â darllen."

a daioni, *i'w* neillduo ef i fod yn ben y teu'u hwnw, neu y genedl a fwriadai efe *i'w* gwahanu iddo ei hun. Gan iddo ef farnu yn addas *i* ddethol un genedl o'r byd.

---

## ADCHWILIAD I'R WYTHFED BENNOD.

1. Yn mha gyflwr y mae enwau a lywodraethir gan ferfau ac arddodiaid ?—Yn y cyflwr gwrthddrychol.

2. Pa ranau-ymadrodd sydd yn llywodraethu enwau yn y cyflwr gwrthddrychol ?—Berfau ac arddodiaid.

3. Ai enwau yn unig a lywodraethir ganddynt ?—Nage; llywodraethir rhagenwau yr un modd.

4. Beth y mae y rhagenw *yn* o flaen enw yn ei ddangos ?—Fod yr enw yn yr un cyflwr ag enw neu ragenw a'i blaenora.

5. Pa air arall a gysyllta geiriau yn yr un cyflwr ?—Y gair *fel*.

6. Pa ranau-ymadrodd sydd yn gofyn arddodiaid penodol ar eu hol ?—Berfau, atenwau, ac arddodiaid.

7. Pa arddodiad y mae y ferf *peidio* yn ei ofyn ar ei ol ?—Yr arddodiad *â*.

---

# PENNOD IX.

## SYLWADAU AMRYWIOL.—*Miscellaneous Observations.*

### I. *Am y rhagferfau cadarnhaol* A *ac* Y *neu* YR.

PAN fyddo berf yn cael ei *blaenori* gan ei thestyn neu ei gwrthddrych, bydd *a* bob amser, mewn broddegau cadarnhaol, yn cyfrynga rhyngddynt ; megys, " Y bobloedd (testyn) *a* ofnasant ;" " Y dynion (gwrthddrych) *a* welodd efe yn rhyfela.* Ond pan flaenorir berf gan ragferf, cysylltiad, neu air a lywodraethir gan arddodiad, y rhagenw *y* a gyfrynga rhyngddynt ; megys, " Da *y* dywedaist ;" " Fel *y* bydd y ddydd, felly *y* bydd dy nerth ;" " Mewn heddwch *y* dymunwn fyw."

*Sylw* 1. Arferir rhai cysylltiaid heb y rhagferf rhyngddynt a'r ferf; megys, " *Os* myni glod, bydd farw." Arfera rhai y rhagferf ar ol y cysylltiaid *pan, tra,* a *pe,* ac ereill a'i gadawant allan.

* EITHRIAD. Pan fyddo prif ferf yn cyfryngu rhwng y rhagenw *ag* (pa un bynag ai crybwylledig ai dealledig) a'r gair a'i llywodraetha, dodir *y* ar ol *ag*; megys, "Dyma'r dyn ag *y* dymunwn ei weled ;" neu, "Dyma'r dyn *y* dymunwn ei weled."

2. Nid yw yr amser presenol a'r gorphenol o'r ferf *bod* yn caniatau *a* o'u blaen.

3. Y mae'r rhagenwau rhagarweiniol yn fynych yn cael eu cysylltu âg *a* ac *y* o flaen berfau; megys, a'm, y'm; a'th y'th; a'i, y'i; a'm, y'm; a'ch, y'ch; a'u, y'u. Yn awr nid oes ond un dull o ddefnyddio y rhagferf *a* mewn cysylltiad â'r rhagenwau; ond arferir y rhagferf *y* a'r rhagenwau mewn tri o wahanol ddulliau fel hyn:—

*Unigol.*

| Person 1. | | Person 2. | | Person 3. |
|---|---|---|---|---|
| *Dull* 1. Y dysgir fi | — | Y dysgir di | — | Y dysgir ef |
| —— 2. Y'm dysgir | — | Y'th ddysgir | — | Y'i dysgir |
| —— 3. Ym dysgir | — | Yth ddysgir | — | Ei dysgir |

*Lluosog.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| *Dull* 1. Y dysgir ni | — | Y dysgir chwi | — | Y dysgir hwynt |
| —— 2. Y'n dysgir | — | Y'ch dysgir | — | Y'u dysgir |
| —— 3. Ein dysgir | — | Eich dysgir | — | Eu dysgir |

Y dull cyntaf a'r trydydd a arferir gan yr ysgrifenwyr goreu, oddieithr y person cyntaf a'r ail o'r rhif unigol. Arferir yn gyffredin yr ail ddull gyda golwg ar y rhai hyn; ond i fod yn gyson dylid deoli y sillgoll. Y mae yn ddiddadl mai y dull mwyaf cydunaol â ieithwedd y Gymraeg yw arferyd rhagenw rhagarweiniol o flaen y ferf, i'r dyben i wneyd y rhagenw yn *ddwbl*. Mewn broddegau negyddol nis gellir arfer rhagenw rhagarweiniol o flaen y ferf, ond gwneir y diffyg i fyny yn y rhai hyn trwy ddwyn rhagenw cynglyn i fewn trwy gyfrwng yr arddodiad rhagenwol *mohono* (talfyriad, y mae yn debyg, o *ddim ohono)*; megys, yn lle, "Ni welais i ef," dywedir, "Ni welais i mohono."

CYNLLUNIAU.

Y mae llawer o bethau ereill *a* ddylid eu nodi.—TEGID. Yr unig beth *a* ellir ei ddywedyd yn erbyn y cyfryw haeriad, yw, nad ydyw yr amseriad ddim yn cytuno â'r eiddo Aneurin.—CARNHUANAWC. Gwelodd Duw yn dda, yn ei anfeidrol ddoethineb a daioni, ei neillduo ef i fod yn ben neu wreiddyn y teulu hwnw neu y genedl hono ag *y* bwriadai efe ei neillduo iddo ei hun.—J. JONES. Os nad oedd syniadau Moses yn ei gân ar foddiad yr Aifftiaid, yn fwy ardderchog mewn gwisg farddonaw nag *y* buasent mewn iaith rydd, pa fodd y goddefwyd iddo eu

gosod allan yn y dull hwnw?—CALEDFRYN. Hanes achyddiaeth Crist, fel *ei* manwl adroddir isod.—I. JONES. Pan *eu* cymhwyser at lythyren.—JOHN WILLIAMS. Er y gelwir hwy.—J. MILLS. Er pan y cyfansoddwyd ef.—ETO. Cysylltiad yn yr hwn *eu* defnyddir.—D. R. STEPHENS. Yr oeddent wedi eu gwrthod a'u gadael gan y Duw hwnw ag *y* proffesent eu bod yn ymddiried ynddo.—I. JONES.

GWALLAU.

Y mae genyf un gair pellach *a* ddymunwn ei grybwyll. Ac y mae hyn mor eglur oddiwrth yr unig lyfr hwn, fel nad raid i mi bentyru yn nghyd y dyfyniadau lluosog ag *y* gellid eu casglu. Yr unig un ag *y* gellir ei ddwyn yn mlaen gydag unrhyw debygolrwydd. Pawb a bechasant, ac *a* ydynt yn ol am ogoniant Duw. Y rhai oll yn eu tro a fuont yn dal amherodraeth y byd, ac *a* oeddent, gyda mawr uchelgais, yn arglwyddi dynolryw. Yr hwn pan ddifenwyd, ni ddifenwodd drachefn. Fel y cydnabyddom ei ofal amdanom, ac *i'n* cynhyrfer i gofio ei addewidion. Ac felly fu. Byddai yr un mor resymol i bryfyn y llwch geisio gosod deddf i'r gwlaw, a ffordd i fellt y taranau, ag *a* fyddai iddo geisio llywodraethu meddwl ei gydgreadur.

## II. *Am yr arddodiaid* MEWN *ac* YN.

*Yn* a arferir o flaen enw priodol, neu un a ragflaenir gan y bannod, a'r geiriau *pa, pwy, pob,** neu a fyddo yn llywodraethu gair arall yn y cyflwr meddianol, ac hefyd o flaen rhagenwau personol; megys, "Bum *yn* Llundain, bum *yn y* tŷ, bum *yn* nhŷ fy ewythr, bum *yn* mhob tŷ yn y pentref, *ynot* ti y mae y drwg." Bron yn mhob amgylchiad arall *mewn* a arferir.

*Sylw.* Gellir sylwi yn mhellach am *mewn* ac *yn*, fod y blaenaf yn cael ei arferyd o flaen geiriau sydd i'w cymeryd mewn ystyr cyffredinol, a'r olaf o flaen geiriau o ystyr mwy penodol. Nid oedd y Dr. Puw wedi ystyried y gwahaniaeth hwn pan y gosododd *mewn y sail* ar gyfer *yn y sail* yn nhudalen 39 o'i ramadeg.

CYNLLUNIAU.

Dyfrig a giliodd i'r fonachlog *yn* ynys Enlli, *yn* Môn, i dreulio y gweddill o'i einioes *mewn* llonyddwch.—CARNHUANAWC. Dylai nid yn unig fod yn gydnabyddus â'r rhai hyny, ond hefyd

* *Yn* hefyd a arferir o flaen y gair *pawb*.

yn hysbys o bob peth sydd fawreddog *yn* mhob gwlad arall.—CALEDFRYN. Y mae hyn yn ormod *mewn* un gân.—ETO. Ni ryda arian *yn* yr awyren nac *mewn* lleithder.—CAERFALLWCH.

GWALLAU.

Bum yn glaf ac *yn* ngharchar, ac ni ymwelsoch â mi. *Yn* mheryglon gan y cenedloedd; *yn* mheryglon yn y ddinas; *yn* mheryglon yn yr anialwch; *yn* mheryglon ar y môr; *yn* mheryglon yn mhlith brodyr gau. Byddai cymuno unwaith bob mis *yn* rhai o'r eglwysi. Dywedodd y Parch. James Hervey felly *yn* un o'i lythyrau. Rhodiaf *mewn* perffeithrwydd fy nghalon o fewn fy nhŷ. I lewyrchu i'r rhai sydd yn eistedd mewn tywyllwch a chysgod angeu.* Y mae efe gyda ni i'n cysuro *mewn* pob amser o hudoliaeth. *Mewn* pa ddull y gweinyddwyd bedydd yn ddechreuol sydd wedi cael ei gyfrif yn bwnc teilwng o ddadl.

## III. *Am y rhagferfau* NI, NA, *a* NID, NAD.

*Ni* a *na* a arferir o flaen berfau terfynol yn unig. Y mae'r olaf yn rhagferf cysylltiadol, trwy ei fod bob amser naill ai yn cyflawni swydd cysylltiad, neu yn cael ei ragflaenu gan gysylltiad; megys, "Y mae yn debyg *na* ddeui di ddim yno; *os na* ddeui di af fi."

Fel y mae *na* yn ffurf gysylltiadol i *ni*, felly y mae *nad* yn ffurf gysylltiadol i *nid*. Nid yw'r rhai hyn, sef *nid* a *nad*, i'w harferyd o flaen berfau terfynol, oddieithr y ferf *bod;* ond fe'u defnyddir o flaen yr holl ranau-ymadrodd ereill.

*Sylw* 1. Y mae *na* yn ffurfio negydd i *y*, a *nad* yn ffurfio negydd i *mai*; megys, yn lle, "Y mae yn debyg *y* bydd ef yno," dywedir, yn negyddol, "Y mae yn debyg *na* fydd ef yno." Yn lle, "Y mae yn debyg *mai* hwn yw y dyn," dywedir, yn negyddol, "Y mae yn debyg *nad* hwn yw y dyn."

2. Arferir *nis* a *nas* yn fynych yn lle *ni* a *na* o flaen berfau yn dechreu â chydsain; megys, "*Nis* gallaf ddyfod."

3. *Na* a arferir bob amser yn y modd gorchymynol pan fyddo y ferf a'i dylyno yn dechreu â chydsain, a *nac* o flaen berf yn dechreu âg unseiniad; megys, "Na ladd; nac oedwch."

* Trwy fod y gair *cysgod* yn llywodraethu gair yn y cyflwr meddianol y mae yn gofyn *yn* o'i flaen.

4. Y mae *na* weithiau yn sefyll am ragenw perthynol; megys, yn lle, "Dyna'r peth yr hwn nis gallem ei gael," dywedir "Dyna'r peth *nas* gallem ei gael."

5. Arferir *na* a *nad* yn fynych yn anmhriodol ar ol y gair *ameu*; megys, "Nid oes genyf un amheuaeth *na* fuost ti yno." Arwydda hyn fod gan y llefarwr amheuaeth ddarfod i'r person a gyferchir fod yn y lle ag y cyfeiria yr arddodiad rhagenwol ato. Dylai fod, "Nid oes genyf un amheuaeth dy fod ti wedi bod yno."

CYNLLUNIAU.

Ac *ni* esgynodd neb i'r nef, oddieithr yr hwn a ddisgynodd o'r nef.—*Ioan* iii. 13. Y mae genym yn y Gymraeg ddosbarth o berwyddiaid y rhai *ni* ellir eu cyfieithu i'r Seisneg heb gryn gylchymadrodd.—S. ROBERTS. *Ni* oddefir iddi gael ei chollfarnu mor fyrbwyll.—ETO. Ymddengys oddiwrth pen. xvi. 22, *na* ysgrifenodd Paul yr epistol hwn â'i law ei hun.—I. JONES. Nid wyf yn ameu *fod* yr apostol yn cadw hyn mewn golwg.—J. JONES.

GWALLAU.

Canfyddir iddi gael ei chadw mor bur ag un iaith arall, os *nid* yn burach. Digon i mi yw gallu dywedyd yn ddibetrus, *mai nid* tlysau perthynol na dychymygol ydyw addurn y Gymraeg. Os hoffem feddianu rhai o weddillion anrhydeddus y cynoesoedd, *nid* allwn lai nag ymhyfrydu yn ein hen iaith ardderchog. Ac yno *nid* arosasant nemawr o ddyddiau. Gwyn ei fyd y gwr *ni* rodia yn nghynghor yr annuwiolion; ac *ni* saif yn ffordd pechaduriaid, ac *nid* eistedd yn eisteddfa gwatwarwyr. A wyddom ni am un man ar yr holl ddaear lle *nad* yw gweithredoedd Duw yn ymddangos mewn mil o wahanol ddulliau, a lle *nas* gall dyn deimlo y boddlonrwydd gwynfydedig ag sydd yn deilliaw oddi wrth fywyd santaidd a christionogol?—Nid ydym wrth ddywedyd hyn yn ameu *nad oes* priodoldeb naturiol mewn rhoch y mochyn a gweryriad y march. Nid oes lle i ameu heddyw *na* thrig yr iaith Gymreig yn Nghymru hyd na byddo amser mwyach.

## IV. *Am y cysylltiaid* AC, NAC, *ac* AG, NAG.

AC sydd gysylltiad o'r un defnydd ag *a*, ond fod y blaenaf yn cael ei arferyd o flaen unseiniaid, a'r olaf o flaen cydseiniaid; megys, Dyn *a* dynes, corff *ac* enaid. NAC sydd gysylltiad o'r un defnydd a *na*, y naill yn cael ei arferyd o flaen unseiniaid, a'r llall o flaen cydseiniaid,

fel *a* ac *ac.* Y maent bob amser yn gofyn negydd o'u blaen; megys, "*Nid* oedd ef yn wylo *nac* yn ocheneidio." AG sydd gysylltiad o'r un defnydd ag *a*, ond fod y blaenaf yn cael ei arferyd o flaen unseiniad, a'r olaf o flaen cydsain. Y maent bob amser yn arwyddo cystadledd neu unrhywiaeth, ac yn ateb i ryw gysylltiad, rhagferf, neu atenw a'u blaenora; megys, "*Mor* ddysglaer *ag* angel; y mae ef *gystal ag* oeddit ti; gwnaethym ef yr *un fath ag* y darfu i ti. NAG sydd gysylltiad o'r un defnydd a *na*, y naill yn cael ei arferyd o flaen unseiniad, a'r llall o flaen cydsain, fel *a* ac *ag*. Fe'u harferir bob amser ar ol y radd gymhariaethol; megys, "Y mae aur yn *ddrutach nag* arian."

*Sylw* 1. Gwelir oddiwrth y sylwadau blaenorol fod *na* yn cyflawni amryw swyddau. O dan wahanol amgylchiadau fe'i harferir yn lle *ni*, yn lle *nac* rhagferfol, yn lle *nac* cysylltiadol, ac yn lle *nag*.

2. Y cysylltiad *ac* neu *a* a ddylid ei arferyd ar ol yr arddodiad *rhwng*, ac nid *âg* neu *â*; megys, "Y mae cryn wahaniaeth rhyngom *ac* ef."

3. Ni ddylid arferyd *ag* ar ol y radd gymharol, na *nag* ar ol y geiriau a ofynant *ag*; megys, "Canfyddir iddi gael ei chadw *mor* bur, os nad yn burach, *nag* un iaith arall." Dylai fod, "Cynfyddir iddi gael ei chadw *mor* bur *ag* un iaith arall, os *nad* yn burach."

4. Arferir *ac*, *nac*, *ag*, a *nag*, ac nid *a* a *na*, o flaen rhagferfau, arddodiaid, a chysylltiaid, yn dechreu âg *f*, *m*, neu *n*; megys, *ac fe*, *ac nid*, *ac megys*, *nac mor*, *ag mewn*, *nac fel*, &c.

5. *A* a arferir o flaen *h* oddieithr *heb*, *heblaw*, *hefyd*, ac *hyd*.

6. Arfera rhai *no* a *nog* yn lle *na* a *nag* ar ol y radd gymharol.

7. Y mae yn anmhriodol arferyd *ag* ar ol *mor* pan fyddo yn dynodi gradd anmhenodol. Yn y cyfryw amgylchiad *fel* a arferir.

CYNLLUNIAU.

Harddwch iaith yw bod ei geiriau yn dangos eu defnydd cysefin yn amlwg; a chan hyny iawn yw ysgrifenu pob gair yn null ei ddefnydd, heb *na* mwy *na* llai o lythyrenau *nog* a fyddo yn ei ranau cysefin ar wahan.—DR. O. PUW. *Ac* nid oes achaws

am yr ail *n* i gadw lle yr acen, yr hon sydd yn ol y rheol ar y sill gyntaf.—TEGID. Wrth sylwi ar yr amrywiol ysgrifau o Hanes Caradawc, canfyddir gwahaniaeth mawr rhyngddynt *a'u* gilydd, yn gystal mewn helaethrwydd, a thraethiad am ddygwyddiadau, *ag* mewn dull ymadrodd.—CARNHUANAWC.

GWALLAU.

Y mae gwahaniaeth dirfawr rhwng iaith weledig *âg* iaith lafaredig. Y mae amryw byrth i dderbyn meddylddrychau nad oes un berthynas athronyddol rhyngddynt *â* swn. Nid oedd hyn yn un cam *neu* niwaid i'r lleill o ddynolryw. Heb gau allan Socrates, Plato, *neu* Seneca. Y mae trefn eu cyfnewidiad yn eangach a chywreiniach na'r eiddo y Gryw *na'r* Hebraeg. Nis gallasai hyn byth gydweddu *naill ai* â diogelwch *neu* â gweddusrwydd. Y mae efe yn fwy tirion, ond nid mor ddeallus a William. Dros dair blynedd na pheidiais i nos *a* dydd â rhybuddio pob un ohonoch â dagrau. Ni welais erioed ddwy linell gynghaneddol yn yr iaith, *nag* hyd yn nod gymaint ag un. Ond y mae llawer ohono mor ddistadl *ag* na haedda le mewn gwaith hanesyddol.

## V. MAE, SYDD, YW, *ac* OES.

Un o neillduolion y Gymraeg ydyw, fod y trydydd person o'r amser presenol o'r ferf *bod* yn amrywio, o dan wahanol amgylchiadau, i *mae*, *yw*, *sydd*, ac *oes*. Nid oes amrywiaeth cyffelyb yn perthyn i'r amserau ereill. Arferir *oedd*, er engraifft, yn yr amser gorphenol, i wneyd yr hyn a gyflawnir gan y pedair ffurf ragenwedig yn yr amser presenol.

1. *Mae.* Arferir *mae* i ffurfio gosodiad cadarnhaol, ac ni odddefun negydd i fod yn gysylltiedig âg ef; megys, "Y mae yr hin yn oer." Fe'i harfeir hefyd mewn broddeg ofynol, ar ol *pa* neu *pwy;* megys, "Pa le y mae dy frawd?"

2. *Sydd.* Arferir *sydd*, fel *mae*, i ffurfio gosodiad cadarnhaol, ac ni chaniatâ un negydd i fod yn gysylltedig âg ef; megys, "Yr hin sydd oer." Fe'i harferir hefyd mewn broddeg ofynol, yn flaenoredig gan *pa* neu *pwy;* megys, "Pwy sydd yn myned yno?"

Y gwahaniaeth rhwng *sydd* a *mae*, mewn broddeg gadarnhaol, yw, fod y testyn bob amser yn *blaenori* y blaenaf, ac yn *dylyn* yr olaf. Y gwahaniaeth rhyngddynt mewn gofyniad yw, fod *pa*,

gyda'i enw cysylltiol, a *pwy* yn y cyflwr testynol o flaen *sydd*, ac yn y cyflwr gwrthddrychol o flaen *mae*.

3. *Yw*. Arferir *yw*, 1af. I ffurfio gosodiad cadarnhaol, ac y mae trefn y geiriau yn hollol groes i'r hyn ydyw gyda *mae* a *sydd*; megys, "Oer yw yr hin." 2il. I ffurfio gosodiad nacaol; megys, "Nid yw yr hin yn oer." 3ydd. I ffurfio gofyniad; megys, "A ydyw y cerbyd yn dyfod?" 4ydd. I ffurfio y modd amodol; megys, "Os yw efe yn dyfod, &c."

Gwelir bod *yw* yn ffurfio gosodiad cadarnhaol, a gofyniad ar ol *pa* a *pwy*, fel *mae* a *sydd*; ond y mae yn gwahaniaethu oddiwrthynt yn hyn, nas gellir ei arferyd yn y ferf gynorthwyol yn y cyfryw amgylchiadau. Yn mhob achos arall gellir ei arferyd fel berf gynorthwyol.

4. *Oes*. Arferir *oes*, 1af. I ffurfio gosodiad nacaol; megys, "Nid oes neb yn dyfod." 2il. I ffurfio gofyniad; megys, "A oes rhywun yn dyfod?" 3ydd. I ffurfio y modd amodol; megys, "Os oes rhywun yn dyfod, &c."

Nid yw *oes* yn ffurfio gosodiad cadarnhaol, na gofyniad ar ol *pa* na *pwy*, fel y lleill. Pob swydd arall ag y mae *yw* yn ei chyflawni a gyflawnir gan *oes*. Y gwahaniaeth rhyngddynt yw, bod testyn *oes* yn meddu ystyr annhenodol, tra y mae eiddo *yw*, i'r gwrthwyneb, yn meddu ystyr penodol; megys, "A *oes rhywun* yn dyfod?" "a *ydyw ef* yn dyfod?" "Nid *oes neb* yn dyfod;" "nid *yw efe* yn dyfod." "Os *oes rhyw ddyn* yn dyfod, &c.;" "os *yw y dyn* yn dyfod, &c."

Gwelir oddiwrth y sylwadau blaenorol fod gan bob un o'r ffurfiau a enwyd ei lle priodol ei hun, ac nas gellir arferyd y naill yn lle y llall; a chanfyddir hefyd, ond gwneuthur cyfnewidiad yn ffurf y froddeg, y gellir mynegi yr un peth trwy gyfrwng y gwahanol ffurfiau. I ba ddyben y gwnaed y gwahanol ffurfiau hyn yn wreiddiol nis gallwn amgyffred: ymddengys i ni y gwnaethai un gair ateb y dyben yn llawn gystal. Yn mhob engraifft a ddygwyd yn mlaen o ddefnyddiad *mae*, *yw*, *sydd*, ac *oes*, gellir defnyddio *oedd* yn yr amser gorphenol.

Y mae *sydd* yn ymdebygoli i *mae* o ran ei wasanaeth, ac *oes* i *yw*. Gwelwn oddiwrth hyn mor anmhriodol yw defnyddio yr un gair

yn y rhif lluosog i *yw* a *sydd*, *y* rhai, yn mhob modd, sydd yn gwahaniaethu gymaint oddiwrth eu gilydd.

---

## ADCHWILLIAD I'R NAWFED BENNOD.

1. Pa fodd y gwyddoch pa un ai *a* ai *y* i'w harferyd o flaen berf?—Pan fyddo y ferf yn cael ei blaenori gan ei theetyn neu ei gwrthddrych, *a* a arferir: yn mhob amgylchiad arall *y* a arferir.

2. Beth yw y gwahaniaeth rhwng *mewn* ac *yn*?—Arferir *mewn* o flaen geiriau sydd i'w cymeryd mewn ystyr cyffredinol, a'r olaf o flaen geiriau o ystyr mwy penodol.

3. Beth yw y gwahaniaeth rhwng *ni*, *na*, a *nid*, *nad*?—*Ni* a *na* a arferir o flaen cydseiniaid a *nid* a *nad* o flaen unseiniaid.

4. Beth yw y gwahaniaeth rhwng *ni* a *na*, a *nid* a *nad*?—Y mae *na* a *nad* yn ffurfiau cysylltiadol i *ni* a *nid*.

5. Rhoddwch engraifft.—"*Ni* fydd ef yno;" "y mae yn debyg *na* fydd ef yno." "*Nid* hwn yw y dyn;" "y mae yn debyg *nad* hwn yw y dyn."

6. Oni fyddai yn briodol dywedyd yn yr engraifft olaf, "Y mae yn debyg *mai nid* hwn yw y dyn?"—Na fyddai; buasai hyny yn gymhwys yr un fath a phe dywedid yn yr engraifft flaenaf, "Y mae yn debyg *y ni* fydd ef yno."

7. Yn mha fath froddeg yr arferir *mae*?—Mewn brodded gadarnhaol a gofynol.

8. Yn mha fath froddeg yr arferir *sydd*?—Mewn brodded gadarnhaol a gofynol, fel *mae*.

9. Beth yw y gwahaniaeth rhwng *mae* a *sydd* mewn brodded gadarnhaol?—Y mae testyn *mae* yn ei ddylyn, a thestyn *sydd* yn ei flaenori.*

---

# PENNOD X.

## AM GYFNEWIDIADAU CYDSEINIAID DECHREUOL.—*Of the Mutation of Initial Consonants.*

UN o'r prif anhawsderau ag sydd yn ymgyfarfod âg estron yn ei efrydiad o'r iaith Gymreig, yw yr egwyddor o gyfnewidiad cydseiniaid yn nechreu geiriau. Fe allai bod hyn yn fwy o rwystr nag y dylai fod trwy nad yw'r drefn wedi ei holrhain yn ddigon manwl, a'i gosod allan gyda'r eglurder hwnw ag y mae'r pwnc yn ei ganiatau. Ymdrechwn yn y fan yma gyflenwi ychydig o'r diffyg sydd yn bodoli, trwy wneuthur dynoethiad mwy cyflawn ac eglur o egwyddorion y gyfundraith nag a wnaed hyd yn hyn.

* Ni chaniatâ ein terfynau i ni fod yn fanwl yn yr adchwiliad.

Y mae yr egwyddor o gyfnewidiad y cydseiniaid yn rhanedig i ddau ddosbarth; sef, y *rheolaidd* a'r *afreolaidd*. *Y* mae'r rhan reolaidd wedi ei ffurfio gyda'r fath drefn fel y gellir olrhain dyben gosodiad y cyfnewidiadau a berthynant iddi. Ond y mae'r rhan afreolaidd wedi ei gwneyd mor ddidrefn fel y gall y cyfnewidiadau, yn ol dim a wyddom ni, fod yn lygriadau a ymlusgasant i fewn i'n hiaith o dro i dro.

Y CYFNEWIDIADAU RHEOLAIDD.

Y mae'r rhai hyn eto yn rhanadwy i ddau fath; sef, y cyfnewidiadau *presenol*, a'r cyfnewidiadau *cystrawenol*.

1. *Y cyfnewidiadau personol.*—Unig ddyben y rhai hyn yw nodi gwahaniaeth person, a gellir canfod eu trefn ar un olwg yn y daflen ganlynol:—

| | | *Ein*, *eich*, *eu*, ac *ym*.* | *Dy*, *yth*, ac *ei* (gwryw.) | *Fy*. | *Ei* (benyw.). |
|---|---|---|---|---|---|
| MUD. | | Gwreiddiol. | Lleisiol. | Ffroenawl. | Chwythol. |
| | P | pen | ben | mhen | phen |
| | T | tad | dad | nhad | thad |
| | C | câr | gâr | nghâr | châr |
| HANER MUD. | | Gwreiddiol. | Lleisiol. | Ffroenawl. | Gwreiddiol. |
| | B | bara | fara | mara | bara |
| | D | dwrn | ddwrn | nwrn | dwrn |
| | G | gwaith | waith | ngwaith | gwaith |
| CYMYSGRYW. | | Gwreiddiol. | Lleisiol. | Gwreiddiol. | Gwreiddiol. |
| | M | mam | fam | mam | mam |
| | Ll | llaw | law | llaw | llaw |
| | Rh | rhan | ran | rhan | rhan |
| UNSEINIAID. | | Ebychol. | Gwreiddiol. | Gwreiddiol. | Ebychol. |
| | A | harch | arch | arch | harch |
| | E | henw | enw | enw | henw |
| | I | hing | ing | ing | hing |
| | O | hoed | oed | oed | hoed |
| | U | hurddas | urddas | urddas | hurddas |
| | W | hwtre | wtre | wtre | hwtre |
| | Y | hysgol | ysgol | ysgol | hysgol |

* Y mae yn amlwg mai y rheswm nad yw *ym* yn meddu yr un llywodraeth a *fy*, fel *yth* a *dy*, yw, fod *m* yn llythyren ffroenawl, a swniai yn aflafar o flaen llythyrenau o'r un rhyw.

*Sylw* 1. Ar ol rhagenwau yn unig y mae unseiniaid yn gofyn sain ebychol.

2. Y mae'r rhagenw *ei* gwrywaidd yn gofyn ebychiad ar ei ol, fel yr *ei* benywaidd, pan fyddo'r gair dylynol yn ferf derfynol neu oddefol; megys, "Y dyn a'i *h*anmharchodd ef;" "pan ei *h*anmherchir ef."

3. Nid yw berfau terfynol a goddefol yn newid ar ol *ei* gwrywaidd na benywaidd; megys, "Cynifer ag a'i *d*erbyniasant ef;" "efe a'i *c*asaodd hi."

4. Gadewir yr *h* allan yn gyffredin ar ol *eich*; megys, *eich enw*, yn lle *eich henw*. Y mae yn debyg iddi gael ei gadael allan, am y barnwyd fod ei gwasanaeth yn afreidiol ar ol *ch*, ond i fod yn unffurf dylid ei defnyddio.

2. *Y cyfnewidiadau cystrawenol.*—Ni pherthyn i'r cyfnewidiadau cystrawenol ond y sain leisiol. Prif ddybenion y cyfnewidiadau hyn ydynt,

1. Nodi gwrthddrych berfau ac arddodiaid.
2. Nodi perthynas enwau ac ateuwau, a berfau a rhagfau.
3. Nodi gwahaniaeth rhyw.
4. Nodi y cyflwr galwedigol.

Gosodwn yma y deddfau sydd yn llywodraethu y cyfnewidiadau cystrawenol. Cymer geiriau y sain leisiol,

1. Ar ol berfau terfynol pan eu dylynir gan eu gwrthddrych.

SIAMPLAU.

Gwnawn *dd*yn; deallaf *b*rif bynciau y ddadl; cymerwch *f*i gyda chwi; gwelais *l*awer ohonynt; hoffwn *w*eled y gwaith; gwnawn *dd*wys fyfyrio y cyfryw.

*Sylw.* Nid yw berf yn y modd annherfynol yn meddalu y gydsain a'i dylyno; megys, "Bwriadu *g*alw a wnai;" "yr oeddwn yn bwriadu *g*alw;" "yr oeddwn wedi bwriadu *g*alw."

2. Ar ol yr arddodiaid rhagenwol, a'r arddodiaid unigol* o ba rai y tarddant, oddigerth *er*, *rhag*, *rhwng*, ac *yn*. Hefyd ar ol yr arddodiaid cyfansawdd a darddant o'r arddodiaid unigol.

SIAMPLAU.

O *f*ynydd i *f*ryn; i *b*rif ddinas Lloegr; i *b*wy y cyffelybaf ef; blinai wrth *g*erdded, neu wrth *dd*wys-fyfyrio; oddiwrth *f*linder.

* Perthyn yr arddodiad *i* i'r rhestr uchod.

3. Ar ol yr atenwau cyffredin a ddylynir gan enw, neu ar ol rhagferfau a ddylynir gan ferf neu atenw.*

SIAMPLAU.

Hen *w*r; y cyfryw *b*ethau; awyddus *dd*ysgwyliai; dyn go *dd*a.

4. Ar ol yr atenwau ammhenodol, oddigerth *llawer*, *rhai*, *pob*, *un*, a *dim*.

SIAMPLAU.

Ychydig *b*ethau; amryw *d*roion; ambell *w*aith.

5. Ar ol y rhifedi trefniadol pan fyddo yr enw yn fenywaidd.

SIAMPLAU.

Yr ail *w*aith; y drydedd *w*ers; y chweched *b*ennod.

*Sylw.* Arferir yn gyffredin feddalu y sain ar ol *ail*, hyd yn nod pan fyddo yr enw yn wrywaidd; ond ni wneir hyn yn y Beibl. Yn lle dywedyd yr 'ail *dd*ydd,' fel y gwneir yn bresenol, dywedir yno, yr 'ail *d*ydd,' yr hon yw y ffordd fwyaf cyson.

6. Ar ol enwau benywaidd unigol a ddylynir gan atenw neu ragferf.

SIAMPLAU.

Pont *f*awr; ysgubor *g*oed; tâs *w*air: dynes *d*ra rhagorol.

*Sylw.* Enw gwrywaidd hefyd, pan yn enw priodol, a efyn i gydsain ddechreuol yr atenw a'i dylyno fod yn feddal; megys "Lazarus *d*lawd, Haman *dd*ichellgar."

7. Ar ol *y* neu *un* a ddylynir gan enw benywaidd unigol, † neu ei atenw, neu ragferf.

*Sylw.* Meddalir cydsain ddechreuol yr atenw *dau* ar ol *y*, er ei fod yn wrywaidd; megys, "Y *dd*au ddyn."

SIAMPLAU.

Y *g*ymdeithas; un *g*ymdeithas; y *F*eibl Gymdeithas; y *g*yfryw weithred; y *d*ra rhagorol weithred.

8. Ar ol enw priodol a ddylynir gan enw cyffredinol.

SIAMPLAU.

Dafydd *f*renin; Mair *f*orwyn; Duw *D*ad.

* Eithriad.—Pan fyddo yr atenw yn y radd gymharol nid yw y gydsain ddechreuol yn newid; megys, "gwell gwaith." Nid yw yn newid chwaith ar ol y rhagferfau mor a mwyaf, tra, nac yn ddigon.

† Eithriad. *Ll* ac *rh* yn nechreu enwau benywaidd ni chyfnewidiant; megys, "Y llaw, y rhaff, y rhwyd, y llong."

9. Ar ol enw cyffredinol benywaidd a ddylynir gan enw priodol.

SIAMPLAU.

Y forwyn *F*air; y frenines *F*uddyg.

10. Ar ol cyfryngiaid.

SIAMPLAU.

Ha *f*ab! Gwae *f*i! O *d*rueni!

11. Meddalir cydsain ddechreuol gair yn y cyflwr galwedigol.

SIAMPLAU.

Olygydd hynaws; *B*archedig Syr; *D*rugarog Dad.

12. Ar ol gair a fyddo yn cyfryngu rhwng berf a'i thestyn neu ei gwrthddrych.

SIAMPLAU.

Yr wyf yn caru [nid yn unig] *w*eled y fan, &c; tynu [ymaith] *b*echodau; yr oedd [yn bresenol] *dd*au feddyg.

13. Meddalir cydsain ddechreuol modd annherfynol pan ei blaenorir gan ei destyn.

SIAMPLAU.

Dymunais arno *ef f*yned yno; ar ol i'r *dyn o*rphen ei waith.

14. Meddalir cydseiniaid dechreuol er y bydd y geiriau llywodraethol wedi eu gadael allan.

Gwelais ef *dd*ydd Sadwrn (h. y. *ar* ddydd Sadwrn); nid ydwyf fi *d*eilwng i ddattod carai ei esgid (h.y. *yn* deilwng); nid yw *w*r i ti (h.y. nid yw *yn* ŵr); yn tueddu *f*wyaf (h. y. *yn* fwyaf); *b*eth yw hwn? (h. y. *pa* beth?) yr wyf yn ei weled ef *r*ai prydiau (h. y. *a* ai prydiau).

Y CYFNEWIDIADAU AFREOLAIDD.

Nid yw yn hawdd dyfalu beth yw dyben y cyfnewidiadau hyn. Dichon mae llygriadau ydynt y rhan fwyaf ohonynt. Fe allai mai y dyben yn gosod y sain ffroenawl ar ol yr arddodiaid *yn* oedd, i wneyd gwahaniaeth rhyngddo a'r rhagferf *yn*. Y cynllun isod a ddengys ar un olwg drefn y cyfnewidiadau afreolaidd.

Sain Leisiol.

| | | | |
|---|---|---|---|
| DAU, DWY *(atenwau)*<br>A, YN, PE *(rhagferfau)*<br>NEU, PAN *(cysylltiaid)*<br>DYMA, DYNA, DACW | a dreiglant | P i B<br>T i D<br>C i G | |
| Y geiriau uchod, gyda NI, NA, ONI, *(rhagferfau)* | a dreiglant | B i F<br>D i Dd<br>G i<br>Ll i L<br>M i F<br>Rh i R | |

Sain Ffroenawl.

| | | |
|---|---|---|
| YN *(arddodiad)* | a dreigla | P i Mh<br>T i Nh<br>C i Ngh<br>B i M<br>D i N<br>G i Ng |

Sain Chwythol.

| | | |
|---|---|---|
| TRI, CHWE *(atenwau)*<br>TRA, NI, NA, ONI *(rhagferfau)*<br>A, GYDA, TUA *(arddodiaid)*<br>A, *(cysylltiad)*<br>NA, ONI *(cysylltiaid)* | a dreiglant | P i Ph<br>T i Th<br>C i Ch |

*Sylw* 1. Pan ddylynir y rhagferf *yn* gan ferf yn y modd annherfynol neu ei rhagferf, ni feddalir y gydsain; megys, "Yn creu, yn *gor*wedd, yn *pry*sur gerdded."

2. Nid yw *Ll* ac *Rh* yn cyfnewid ar ol y rhagferfau *cyn*, *mor*, *pur*, nac *yn*. Ond pan y ffurfiant gydseiniaid dechreuol enwau ar ol *yn*, dylid eu meddalu.

3. Arferir y sain ffroenawl weithiau ar ol rhai o'r atenw rhifol; megys, "Wyth *n*iwrnod, ugain *m*lynedd."

CYNLLUNIAU.

Er *b*od rhai o'r doethion paganaidd yn rhoddi y *f*laenoriaeth i'r Aifftiaid.—S. ROBERTS. Ond cynifer ag a'i *d*erbyniasant ef, efe a *r*oddes iddynt *a*llu i *f*od yn *f*eibion i *Dd*uw.—*Ioan* i. 12. Ni *w*elodd neb *Dd*uw erioed.—*Adn*. 18. A'r *dd*au *dd*ysgybl a'i clywsant ef yn llefaru.—*Adn*. 37. A *dd*yg neb iddo *dd*im i'w *f*wyta?—*Ioan* iv. 33. Y mae eto *b*edwar mis.—*Adn*. 35. Ac efe a arosodd yno *dd*euddydd.—*Adn*. 40. Nid cyfreithlawn i ti godi dy *w*ely.—*Ioan* v. 10. Efe oedd *g*anwyll yn llosgi.—*Adn*.

35. Y mae yma *ryw* *f*achgenyn, a *ch*anddo* *b*um torth haidd.—*Ioan* vi. 9. Ac wedi iddynt *dd*ringo i *l*ong, hwy a aethant *dros*† y môr i Capernaum.‡—*Adn.* 17. A *gan* *f*od y moddion i hyny yn ein dwylaw.—J. MILLS. A *g*yda gwresogrwydd a hwyl anarferol y pregethant.—CALEDFRYN. Canys yn hyn o beth yr oeddent hwy yn *ll*awer mwy rheolaidd noc ydym ni.—TEGID. Arweiniwyd ef i chwilio amdani trwy hen draddodiad, ei bod wedi syrthio, trwy dori bedd yn *rh*y agos iddi.—CARNHUANAWC.

GWALLAU.

Ac ar y gair, megys ei *a*rferir fel§ hyn, rhydd Eustathius yr esboniad canlynol. Ni *b*ydd diwedd. Er *f*od yr olaf lawer o genedlaethau yn hyn. Yr hwn wedi teyrnasu *t*ri mis a gymerwyd yn garcharor. Yr oedd ei sefyllfa y fwyaf greasynol ag a ellir *dd*ychymygu. *D*ydd Iau diweddaf y bu farw fy nghyfaill. Gwelais ef ar foreu *dd*ydd Mercher. A *ch*wedi dwyn yn nghyd yr holl arch-offeiriaid. Yn y sefyllfa *m*wyaf blodeuog. Y mae y gair yn arwyddo nid yn unig cytundeb cyfamodol, &c. Awdl ar y pedwar mesur ar *h*ugain. Yr hwn sydd wedi myned *drwy* yr holl amrywiaethau. Gan ei *f*od ef wedi dringo *d*ros y clawdd dringaf finau *d*rosto. Haeddai ei gospi am y *c*yfryw weithred. Yr wyf yn credu *f*od hyny yn briodol. Dywedai nad oes *f*odd‖ i'w weled. Gwraig ddrwg ei n*h*atur. Efe a orweddai yn eu m*h*ysg.¶ A *th*yna yr amser y gwelais i ef. Tybir *f*od oddeutu dau cant yn bresenol. Os etyb hyn *rhyw* ddyben y mae'at eich gwasanaeth, Ymddengys ddarfod iddi lewyrchu ar noson ei enedigaeth ef, ac yna *d*iflanu hyd yr amser presenol.

* Gwreiddyn *gan* a *gyda*, medd y Dr. Puw, yw *can* a *cyda*; ac er mai y blaenaf a arferir yn bresenol, eto *ch*, sain chwythol *c*, a ddefnyddir fel cydsain ddechrenol ar ol *a* a *na*. Rhai ysgrifenwyr ni chyfnewidiant yr *g* ar ol y geirian hyn.

† Ni ddylid newid y *t* yn nechreu y geiriau, *tros*, *trwy*, a *thrachefn*, oddieithr pan y try i'r sain chwythol. Ni ddylid ei newid yn nechreu y gair *tan* chwaith ond i'r sain chwern, oddieithr pan ei blaenorir gan *o* neu *eddi*, neu pan y mae *o* yn ddealledig.

‡ Canfyddir yma nad yw yr C, yn nechreu y gair Capernaum, wedi meddalu ar ol *i*. Yr ydym yn cyduno yn hollol â'r Parch. Walter Davies, mai gwell yw peidio â newid cydseiniaid dechreuol geiriau a fyddont heb eu Cymreigio. Ei sylw ef sydd sydd fel y canlyn:—"Nid addas cymhell estron eiriau i ostwng eu gwarau i'r iau Gymreig Gellid newid Dafydd i Ddafydd, Pedr i Bedr, Mair i Fair, &c., o herwydd ein bod wedi eu mabwysiadu hwynt i'n hiaith; ond gadwer Paul, Barnabas, Babilon, Gath, Galilea, heb eu heillio o'u blaenoriaid. Boneddigaidd yw dangos parch i ddyeithriaid."

§ Nid yw yr *f* yn lythyren wreiddiol, ac o herwydd hyny y mae rhai yn arferyd *mal* yn lle *fel*, *efelly*, yn lle *felly*, *e* yn lle *fe*, ac *efallai* yn lle *fe allai*.

‖ Ni ddylid meddalu cydsain ar ol y ferf bod, os na fydd y rhagferf *yn* yn ddealledig.

¶ *P* a *t* yn unig sydd yn cyfnewid i *mh* ac *nh*.

## ADCHWILIAD I'R DDEGFED BENNOD.

1. I ba sawl dosbarth y rhenir y gyfundraeth o gyfnewidiadau y cydseiniaid ?—I ddau ; sef, y rheolaidd a'r afreolaidd.

2. Beth yw dyben y cyfnewidiadau rheolaidd ?—Nodi gwahaniaeth person ; nodi gwrthddrych berfau ac arddodiaid ; nodi perthynas enwau ac atenwau, a berfau a rhagferfau ; nodi gwahaniaeth rhyw ; a nodi y cyfiwr galwedigol.

3. Beth yw dyben y cyfnewidiadau afreolaidd ?—Nid yw yn hawdd dychymygu beth yw eu dyben : dichon mai llygriadau ydynt y rhan fwyaf ohonynt.

---

## PENNOD XI.

### CYNLLUN O GYSTRAWENIAETH.—*Specimen of Syntactical Parsing.*

YN niwedd y rhan Geiryddiaeth rhoddwyd cynllun i'r efrydydd pa fodd y dylai fyned yn mlaen i brofi ei wybodaeth, ac i wneyd ei hun yn hyddysg yn y rhan hono o ramadeg. Yn awr nyni a roddwn gynllun pa fodd y dylai fyned yn mlaen i wneyd ei hun yn hyddysg yn y drydedd ran o ramadeg.

1. *Y mae ymddyddanion drwg yn llygru moesau da.*

*Y mae*—amser presenol o'r ferf bod. Y mae yn gwasanaethu yma fel berf gynorthwyol i "yn llygru." *Ymddyddanion*—enw, rhif lluosog, a thestyn y ferf "y mae." Trwy fod y testyn yn dylyn y ferf, rhaid i'r ferf fod yn y rhif unigol, yn ol Rheol 1, Pen. 1. *Drwg*—ateuw. *Yn llygru*—amser presenol o'r modd anherfynol ; neu gellir ystyried "y mae yn llygru" fel amser presenol o'r modd mynegol, yn sefyll am y ferf "llygra." *Moesau*—enw, yn cael ei lywodraethu gan y ferf "llygru." *Da*—ateuw.

2. *Canys myfi yw y lleiaf o'r apostolion, yr hwn nid wyf addas i'm galw yn apostol, am i mi erlid Eglwys Dduw.*

*Canys*—cysylltiad. *Myfi*—rhagenw dwbl, a thestyn y ferf "yw." *Yw*—amser presenol o'r ferf bod, ac i fod yn y trydydd person, er bod ei thestyn yn y person cyntaf, am na chaniatâ y rhagferf yn ar ei hol, yn ol Rheol 3, Pen. 1. *Y*—banod. *Lleiaf*—ateuw, yn perthyn i "myfi." *O'r*—arddodiad bannodol. *Apostolion*—enw, yn y cyfiwr gwrthddrychol, yn cael ei lywodraethu gan yr arddodiad "o." *Yr hwn*—rhagenw perthynol, a thestyn

y ferf "wyf." Y mae yn cydweddu â'i flaenorydd "myfi" mewn rhif, cenedl, a pherson, yn ol Pen. IV. *Nid*—rhagferf. *Wyf*—amser presenol o'r ferf bod, ac yn cydweddu â'i thestyn "yr hwn." *Addas*—atenw, yn perthyn i "yr hwn." *I'm*—arddodiad a rhagenw rhagarweiniol. *Galw*—berf weithredol, yn llywodraethu y rhagenw "ym." *Yn*—rhagferf. *Apostol*—enw, yn yr un cyflwr ag "ym." Dengys "yn" fod y gair a'i dylyno yn yr un cyflwr a'r gair a'i blaenora, yn ol Rheol 1. Pen VIII. *Am*—cysylltiad. Y mae pob cysylltiad yn gofyn berf derfynol ar ei ol, naill ai yn grybwylledig neu yn ddealledig felly y mae gan "am" y ferf "ddarfod" yn ddealledig ar ei ol. *I*—arddodiad. *Mi*—rhagenw, yn cael ei lywodraethu gan "i." Y mae "i" yn gofyn cydsain leisiol ar ei ol. Byddai yn fwy priodol ysgrifenu, "if fi." *Erlid*—berf weithredol, modd annherfynol. *Eglwys*—enw, yn y cyflwr gwrthddrychol, yn cael ei lywodraethu gan y ferf "erlid." *Dduw*—enw, yn y cyflwr meddianol. Y mae D yn y gair "Dduw" yn meddalu ar ol "eglwys," yn ol Pen. VII.

3. *Os yn y byd yma yn unig y gobeithiwn yn Nghrist, truanaf o'r holl ddynion ydym ni.*

*Os*—cysylltiad. *Yn*—arddodiad, a arferir o flaen enwau o ystyr penodol, yn ol Rheol 2, Pen. IX. *Y*—bannod. *Byd*—enw, yn y cyflwr gwrthddrychol, yn cael ei lywodraethu gan "yn." *Yma*—atenw dangosol perthynol i byd, pa un sydd bob amser yn gofyn cynorthwy y bannod. *Yn unig*—rhagferf. *Y*—rhagferf, yn cyfryngu rhwng y rhagferf "yn unig" a'r ferf, yn ol Rheol 1, Pen. IX. *Gobeithiwn*—berf ganolig. *Yn*—arddodiad fel o'r blaen, ac y mae yn newid y gydsain a'i dylyno, i'r sain ffroenawl, yn ol Pen. X. *Nghrist*—enw yn y cyflwr gwrthddrychol, yn cael ei lywodraethu gan "yn." *Truanaf*—atenw, yn y radd eithafol. Y mae yn perthyn i'r ragenw "ni." *O'r*—arddodiad a bannod. *Holl*—atenw perthynol i "ddynion." *Ddynion*—enw, yn y cyflwr gwrthddrychol, yn cael ei lywodraethu gan "o." Cyfnewidir y "d" i "dd" gan yr atenw "holl," yn ol Pen. X. *Ydym*—berf. *Ni*—rhagenw, a thestyn "ydym."

4 *Eithr pan yw yn dywedyd fod pob peth wedi eu darostwng, amlwg yw mai oddieithr yr hwn a ddarostyngodd bob peth iddo.*

*Eithr*—cysylltiad, yn dangos bod perthynas rhwng yr hyn a'i dylyn a a'r hyn a'i blaenora. *Pan*—cysylltiad, yn cysylltu y ddwy ferf derfynol "yw" a'i dylynant. *Yw*—berf. Y mae yma yn ferf gynorthwyol i "yn dywedyd," yr hyn sydd yn anmhriodol; canys nis gellir arferyd "yw" fel berf gynorthwyol mewn broddeg gadarnhaol. Dylasai fod, "mae." *Yn dywedyd*—berf, modd annherfynol. *Fod*—berf gysylltiadol. Gan nad yw berf yn y

modd annherfynol yn meddalu cydseiniaid, dylai y gair "hwn" fod yn "bod." *Pob*—atenw perthynol i "peth." *Peth*—enw, a thestyn y ferf "bod." *Wedi*—arddodiad, yn llywodraethu y gair "cael" sydd yn ddealledig ar ei ol. *Ei*—rhagenw rhagarweiniol, yn cyfeirio at "peth." Trwy fod yr atenw "pob" yn gysylltedig â "peth," dylai "ei" fod yn unigol, yn ol Pen. III. *Darostwng*—berf. Gellir ystyried, "bod wedi cael ei ddarostwng," yn ferf oddefol, yn sefyll am, "y darostyngwyd." *Amlwg*—atenw, yn cyfeirio at destyn "yw." *Yw*—berf. *Mai*—cysylltiad. *Oddieithr*—arddodiad. *Yr hwn*—rhagenw, yn y cyflwr gwrthddrychol, yn cael ei lywodraethu gan "oddieithr." *A*—rhagferf. Y mae yma yn gwasanaethu hefyd yn lle rhagenw perthynol. *Ddarostyngodd*—berf. Y rhagferf "a" a gyfnewidiodd y "d" i "dd," yn ol Pen. X. *Pob*—atenw, perthynol i "dyn." "P" a gyfnewidiwyd i "b" gan y ferf derfynol "cyfnewidiodd," yn ol Pen. X. *Peth*—enw, yn y cyflwr gwrthddrychol, yn cael ei lywodraethu gan "cyfnewidiodd." *Iddo*—arddodiad rhagenwol. Y mae "mai oddieithr yr hwn a ddarostyngodd bob peth iddo," yn ffurfio testyn y ferf "yw."

5. *Trachefn y cymerth diafol ef i fynydd tra uchel, ac a ddangosodd iddo holl deyrnasoedd y byd.*

*Trachefn*—rhagferf. *Y*—rhagferf, yn cyfryngu rhwng y rhagferf flaenorol a'r ferf, yn ol y Pen. IX. *Cymerth*—berf, a arferir weithiau yn lle "cymerodd." *Diafol*—enw, a thestyn y ferf "cymerodd." *Ef*—rhagenw, a gwrthddrych y ferf "cymerodd." *I*—arddodiad. *Fynydd*—enw, yn cael ei lywodraethu gan "i," pa un sydd yn gofyn y sain leisiol ar ei ol. *Tra* rhagferf. *Uchel*—atenw. *Ac*—cysylltiad. *A*—rhagferf. Trwy fod y cysylltiad yn gofyn yr un ffurf o'i flaen ac o'i ol, dylai hwn fod yn "y," yn ol Pen. V. *Ddangosodd*—berf, a'r "d" wedi ei meddalu gan "a." *Iddo*—arddodiad rhagenwol. *Holl*—atenw. *Deyrnasoedd*—enw, a gwrthddrych y ferf "ddangosodd," a'r "t" wedi ei meddalu gan "holl." *Y*—bannod. *Byd*—enw, yn y cyflwr meddianol.

6. *Na thybiwch fy nyfod i dori y gyfraith, neu y proffwydi.*

*Na*—rhagferf. *Thybiwch* berf a'r "t" wedi ei throi i'r sain chwythol gan "na," yn ol Pen. X. *Fy*—rhagenw rhagarweiniol. *Nyfod*—berf, modd annherfynol a'r "d" wedi ei throi i'r sain ffroenawl gan "fy." *I*—arddodiad. *Dori*—berf, modd annherfynol, a'r "t" wedi ei meddalu gan "i." *Y*—bannod. *Gyfraith*—enw benywaidd, a gwrthddrych y ferf "tori," a'r "c" wedi ei meddalu gan y bannod. *Neu*—cysylltiad "Na" a ddylai fod, yn ol rheol 4, Pen. IX. *Y*—bannod. *Proffwydi*—enw, yn yr un cyflwr a "cyfraith," yn ol Pen. V. lle y dywedir bod cysylltiaid yn cydio enwau yn yr un cyflyrau.

7. *Canys pa lesâd i ddyn os ennill yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?*

*Canys*—cysylltiad. *Pa*—atenw. *Lesâd*—enw, à thestyn y ferf "bod" ag sydd yn ddealledig, a'r "ll" wedi ei meddalu gan "pa." *I*—arddodiad. *Ddyn*—enw, yn cael ei lywodraethu gan "i," a'r "d" wedi ei meddalu ganddo. *Os*—cysylltiad. *Ennill*—berf, modd amodol, ac yn cydweddu â'i thestyn "efe" ag sydd yn ddealledig. *Yr*—bannod. *Holl*—atenw. *Fyd*—enw, yn cael ei lywodraethu gan y ferf "ennill," a'r "b" wedi ei meddalu gan "holl." *A*—cysylltiad. *Cholli*—berf, modd annherfynol, a'r "c" wedi ei throi i'r sain ffroenawl gan "a." Ond dylai "colli" fod yn yr un modd ag "ennill," yn ol Pen. V. Gan hyny dylai yr ail aelod fod fel hyn,—"Os bydd iddo ennill yr holl fyd, a cholli, &c." *Ei*—rhagenw rhagarweiniol. *Enaid*—enw, yn cael ei lywodraethu gan y ferf "colli." *Ei hun*—rhagenw cyfansawdd.

8. *A hon yw y ddamnedigaeth; ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy na'r goleuni.*

*A*—cysylltiad. *Hon*—enw dangosol. *Yw*—berf. *Y*—bannod. *Ddamnedigaeth*—enw benywaidd, a thestyn y ferf "yw," a'r "d" wedi ei meddalu gan y bannod. *Ddyfod**—berf, modd annherfynol. Ni ddylasai y "d" gael ei meddalu. *Goleuni*—enw, ac y mae yn gofyn rhyw air i'w lywodraethu, os na ystyriwn ef yn y cyflwr meddianol. *I'r*—arddodiad a bannod. *Byd*—enw, yn cael ei lywodraethu gan "i." *A*—cysylltiad. *Charu*—berf, ac yn yr un modd a "dyfod," a'r "c" wedi ei throi i'r sain ffroenawl gan "a." *O*—arddodiad. *Ddynion*—enw, yn cael ei lywodraethu gan yr arddodiad, a'r "d" wedi ei meddalu ganddo. *Y*—bannod. *Tywyllwch*—enw, yn cael ei lywodraethu gan y ferf "caru." *Yn fwy*—rhagferf. *Na'r*—cysylltiad sydd yn dylyn y radd gymharol, gyda bannod. *Goleuni*—enw, yn cael ei lywodraethu gan y ferf "caru" ag sydd yn ddealledig; megys, "A charu o ddynion y tywyllwch yn fwy na 'charu' ohonynt y goleuni."

9. *Ac os braidd y mae y cyfiawn yn gadwedig, pa le yr ymddengys yr annuwiol?*

*Ac*—cysylltiad. *Os*—cysylltiad. *Braidd*†—rhagferf. *Y*—rhagferf.—*Mae*—berf. *Y*—bannod. *Cyfiawn*—atenw, a arferir

* Yn lle arferyd ffurf gysylltiadol y ferf bod, ac enwi y testyn o flaen y ferf, y mae y Beibl yn fynych yn defnyddio y ffurf uchod, sef gosod y ferf yn gyntaf, a'r testyn ar ei hol; ond y rhan fynychaf llywodraethir y testyn gan "o;" megys, "Pan glybu hwn ddyfod o'r Iesu." Y modd yn mha un y geiriem ni hwn a fyddai, "Pan glybu hwn *ddarfod* i'r Iesu ddyfod."

† Arferir y gair *braidd* weithiau yn anmhriodol yn lle *prin* a *bron*; megys, "*Braidd* y gallem ni ei glywed ef." "Os *braidd* y bydd y cyfiawn yn gadwedig" "Y mae pob llythyr *braidd* a ddefnyddir yn rhoddi cefnogaeth." "A *braidd* nad ellir dywedyd ei fod yn cynyddu yn ddibaid." *Prin* a ddylai fod yn y ddwy frawddeg flaenaf, a *bron*, neu *agos*, a ddylai fod yn y ddwy olaf. "Yn lle, "braidd nad ellir," dyweder, "bron y gellir."

ynm fel atenw, a thestyn y ferf "mae." *Yn gadwedig*—atenw, perthynol i "y cyfiawn." *Pa le*—rhagferf, neu gellir ystyried "pa" yn atenw, a "le" yn enw, yn cael ei lywodraethu gan yr arddodiad "yn" dealledig. *Yr*—rhagferf. *Ymddengys*—berf. *Yr*—bannod. *Annuwiol*—atenw, a arferir yma fel enw a thestyn y ferf "ymddengys."

10. *Dyna'r fan oreu o bob* un.*

*Dyna*—berf ddangosol.† *Y*—bannod. *Fan*—enw, a thestyn "dyna," a'r "m" wedi ei meddalu gan y bannod. *Oreu*—atenw, y radd eithafol o "da," a'r "g" wedi ei meddalu mewn trefn i'r atenw gydweddu â'i enw mewn cenedl. *O*—arddodiad. *Bob*—atenw, a'r "p" wedi ei meddalu gan yr arddodiad. *Un*—enw, llywodraethedig gan yr arddodiad. Yn lle, "bob un," dylai fod "o'r cwbl."

---

## ADCHWILIAD I'R UNFED BENNOD AR DDEG.

1. Pa un ai broddeg unigol ai cyfansawdd yw yr un a rifnodwyd 1 ?—Unigol.

2. Pa un ai mynegol, ai gofynol, ai gorchymynol ydyw hi ?—Mynegol.

3. Pa un yw'r testyn ?—Ymddyddanion drwg.

4. Pa un yw'r dyheiriad ?—Y mae yn llygru.

5. Pa un yw'r gwrthddrych ?—Moesau da.

6. Pa un ai broddeg uniongyrch ai gwrthdröedig ydyw?—Uniongyrch.

7. Pa un ai unigol ai cyfansawdd yw y froddeg a rifnodwyd 2 ?—Cyfansawdd.

8. O ba sawl broddeg unigol y mae yn gyfansoddedig ?—O dair.

9. Pa un yw'r gyntaf?—Myfi yw y lleiaf o'r apostolion.

10. Beth yw testyn y froddeg yna ?—Myfi.

11. Beth yw'r dyheiriad ?—Yw y lleiaf o'r apostolion.

12. Pa un yw yr ail froddeg unigol ?—Nid wyf addas i'm galw yn apostol.

* Bai a gyflawnir yn fynych yw arferyd *pob* ar ol y radd eithafol; megys, "Dyna'r fan oreu o bob un;" "O bob meddyginiaeth dyma'r un mwyaf effeithiol." Gellir gweled yn rhwydd, ond craffu ychydig, fod y gosodiadau hyn yn hollol afresymol. Y mae'r pethau a gymharir yn y radd eithafol yn cael eu rhestru oll gyda'u gilydd, fel y nodwyd tudal. 81.; h. y., y mae y peth a nodir allan yn benodol yn perthyn i'r rhestr a grybwyllir ar ol yr arddodiad *o*, a rhaid bod dau wrthddrych o leiaf yn gynwysedig yn y rhestr onidê nis gall fod cymhariaeth. Yn awr nid yw *pob* yn cyfeirio yn uniongyrchol ond at un gwrthddrych; y mae yn eglur gan hyny fod ei ddefnyddiad yn anmhriodol. Dylid dywedyd, "Dyna'r fan oreu o'r cwbl;" "O'r holl feddyginiaethau dyma'r un mwyaf effeithiol."

† Y mae *dyna*, *dyma*, neu *llyma*, *llyna*, a *dacw*, y rhan fynychaf, yn ateb yn lle y trydydd person o'r amser presenol o'r ferf *bod* ac atenw dangosol.

13. Beth yw testyn y froddeg yna?—*Ni*, ag sydd yn ddealledig ar ol *wyf*.
14. Beth yw'r dyheiriad?—Y froddeg oll oddieithr *fi*.
15. Pa un yw'r drydedd froddeg?—Darfu i mi erlid eglwys Dduw.
16. Beth yw'r testyn?—I mi.
17. Beth yw'r dyheiriad?—Erlid.
18. Beth yw'r gwrthddrych?—Eglwys Dduw.
19. A ydych chwi yn cofio pa ranau-ymadrodd sydd yn cysylltu broddegau unigol, fel ag i'w gwneyd yn froddeg gyfansawdd?—Ydwyf;—rhagenwau perthynol, cysylltiaid, a'r ferf bod.
20. Pa ranau ymadrodd a gysylltant y tair froddeg unigol a enwyd, fel ag i'w gwneyd yn un froddeg gyfansawdd?—Y rhagenw perthynol *yr hwn*, a'r cysylltiad *am*.
21. Beth yw defnydd y cysylltiad *canys*, yn y dechreu?—Cysylltu'r froddeg neu yr adnod â'r adnod sydd o'i blaen.
22. Pa un ai unigol ai cyfansawdd yw'r froddeg a rifnodwyd 3?—Cyfansawdd.
23. O ba sawl broddeg unigol y mae yn gyfansoddedig?—O ddwy.
24. Beth yw'r gyntaf?—Yn y byd yma yn unig y gobeithiwn yn Nghrist.
25. Beth yw'r testyn?—*Ni*, dealledig ar ol *gobeithiwn*.
26. Beth yw'r dyheiriad?—Y froddeg oll oddieithr *ni*.
27. Beth yw yr ail froddeg unigol?—Truenusaf o'r holl ddynion ydym ni.
28. Beth yw'r testyn?—*Ni*
29. Beth yw'r dyheiriad?—Y froddeg oll oddieithr *ni*.
30. Pa ran-ymadrodd sydd yn uno'r ddwy froddeg hyn?—Y cysylltiad *os*
31. Pa ddylanwad y mae'r cysylltiad hwn yn ei gael ar y broddegau hyn?—Eu gwneyd yn amodol.
32. Pa un ai unigol ai cyfansawdd yw'r froddeg a rifnodwyd 4?—Cyfansawdd.
33. O ba sawl broddeg unigol y mae yn gyfansoddedig?—O bedair.
34. Beth yw'r gyntaf?—Y mae pob peth wedi ei ddarostwng.
35. Beth yw testyn y froddeg unigol yna—Pob peth.
36. Beth yw'r dyheiriad?—Yr holl froddeg oddieithr y testyn.
37. Beth yw yr ail froddeg?—Y mae yn dywedyd hyny.
38. Beth yw testyn y froddeg yna?—Ef, dealledig ar ol "y mae."
39. Beth yw'r dyheiriad?—Y mae yn dywedyd.
40. Beth yw'r gwrthddrych?—Hyny (sef, fod pob peth wedi ei ddarostwng &c.)
41. Beth yw'r drydedd froddeg?—Amlwg yw mai oddieithr Duw.
42. Beth yw testyn y froddeg yna?—Mai oddieithr Duw.

43. Beth yw'r dyheiriad?—Amlwg yw.

44. Beth yw'r bedwaredd frawddeg?—Efe a ddarostyngodd bob peth iddo.

45. Beth yw testyn y frawddeg yna?—Efe, sef yr hwn.

46. Beth yw'r dyheiriad?—A ddarostyngodd.

47. Beth yw'r gwrthddrych?—Bob peth.

48. Pa eiriau a gysylltant y broddegau unigol yna?—Y cysylltiad *pan*, y ferf gysylltiadol *bod*, a'r rhagenw perthynol *a*.

49. Pa un ai unigol ai cyfansawdd yw'r frawddeg a rifnodwyd 5?—Cyfansawdd.

50. O ba sawl broddeg unigol y mae yn gynwysedig?—O ddwy.

51. Beth yw'r gyntaf?—Cymerth diafol ef i fynydd tra uchel.

52. Beth yw testyn y frawddeg yna?—Diafol.

53. Beth yw'r dyheiriad?—Cymerth i fynydd uchel.

54. Beth yw'r gwrthddrych?—Ef

55. Beth yw yr ail frawddeg?—Dangosodd iddo holl deyrnasoedd y byd.

56. Beth yw testyn y frawddeg yna?—Diafol.

57. Beth yw'r dyheiriad?—Dangosodd.

58. Beth yw'r gwrthddrych?—Holl deyrnasoedd y byd.

59. Pa air sydd yn eu cysylltu?—Y cysylltiad *ac*.

60. Pa un ai unigol ai cyfansawdd yw'r frawddeg a rifnodwyd 6?—Cyfansawdd.

61. O ba sawl broddeg unigol y mae yn gynwysedig?—O ddwy.

62. Beth yw'r gyntaf?—Na thybiwch fy nyfod i dori y gyfraith.

63. Beth yw testyn y frawddeg yna?—*Chwi*, dealledig ar ol *tybiwch*.

64. Beth yw'r dyheiriad?—Na thybiwch.

65. Beth yw'r gwrthddrych?—Fy nyfod i dori y gyfraith.

66. Beth yw yr ail frawddeg?—Na thybiwch fy nyfod i dori y proffwydi

67. Pa fath froddegau unigol yw y ddwy hyn?—Gorchymynol.

68. Pa air sydd yn eu cysylltu?—Y Cysylltiad *neu*, yr hwn a ddylai fod yn *na*.

69. Pa sawl broddeg unigol sydd gynwysedig yn y seithfed frawddeg?—Tair.

70. Pa rai ydynt?—Enilla yr holl fyd—cyll ei enaid ei hun—pa lesâd yw hyny i ddyn?

Tybir ein bod wedi rhoddi digon o gynlluniau i allnogi yr efrydydd i ddadgysodi broddegau i'w rhanau cyfansoddawl. Fe'i cynghorir i wneyd ei hun yn gyfarwydd yn y gorchwyl hwn, megys y moddion goreu i'w ddwyn i amgyffred yn drwyadl natur a chyfansoddiad broddegau. Gan fod pob traith ac ymddyddan wedi ei wneyd i fyny o gynulliad o froddegau, y rhai o ganlyniad ydynt y prif gyfryngau trwy ba rai y trosglwyddwn ein meddyliau y mae yn amlwg pa fwyaf hysbys y byddom o'u natur a'u cyfansoddiad, mai mwyaf medrus y byddwn yn y defnyddiad ohonynt er cyflead ein hamrywiol syniadau, a mynegiad ein hangenion.

# RHAN IV.

## TONYDDIAETH.—PROSODY.

**TONYDDIAETH *sydd gynwysedig o ddwy ran; y flaenaf yn traethu ar Acen, Mesur, Pwyslais, Gorphwysiad, a Goslef; a'r olaf, ar Reolau Barddoniaeth.***

## PENNOD I.

### AM ACEN.—*Of Accent.*

ACEN yw y dodiad o fwy o rym ar un sill mewn gair nag ar y lleill; megys, "Ysgrifen."

Er deall natur acen yn berffaith rhaid i ni fod yn hysbys o'r briodoledd hono a berthyn i'r llais ag sydd yn gwahaniaethu seiniau parabl oddiwrth seiniau cân, yr hon, oddiwrth fod y llais yn llithro o sain îs i un uwch, ac o un uwch i un îs, y gellir ei galw yn lithriad y llais. Wrth ganu y mae y llais yn dal ar un sain, ac yna yn cymeryd cam, fel pe byddai, i sain arall; ond wrth barablu y mae y llais yn llithro i fyny ac i lawr yn barhaus; wrth seinio y gair *perchenog*, er engraifft, nid yn unig rhoddir mwy o bwys ar y sill ganol, ond fe'i seinir mewn cywair uwch na'r lleill. Gelwir y dodiad yma yn *acen lem* neu *ddyrchafedig.* Mewn broddeg neu ebiaith (*phrase*) seinir y sill acenedig weithiau n îs, er gyda mwy o rym, na'r sillau ereill; megys, "Pwy oedd Ioan Fedyddiwr?" Gelwir y gostyngiad yna yn *acen drom* neu *ddisgynedig.*

Y mae pob gair a fyddo yn cynwys mwy nag un sill, yn meddu sill acenedig. Mewn rhai ieithoedd y mae y rheolau ag sydd yn dangos ar ba sill y mae yr acen i'w dodi, yn dra lluosog, ac nid ychydig o amser a llafur sydd yn angenrheidiol i'w dysgu. Yn yr iaith Seisnig, er engraifft, y mae yr acen weithiau ar y sill gyntaf o eiriau tairsill, weithiau ar yr ail, ac weithiau ar y dryddedd, yn ol fel y byddo y rheolau yn gofyn; megys, *orator, spec-*

*tator, magazine.* Ond yn yr iaith Gymraeg nid oes ond un rheol yn perthyn i osodiad yr acen; *sef, ei bod i ddisgyn yn gyson ar y sill nesaf i'r olaf.* Felly os chwanegir sill at air dwysill, fe symuda yr acen o'r sill gyntaf i'r ail; os chwanegir sill arall, fe symuda i'r drydedd. Yn y modd yma symuda yn mlaen yn rheolaidd yn ol fel y byddo rhif y sillau yn chwanegu; megys,

| | | |
|---|---|---|
| Sill 1 | .. | ysgrif |
| — 2 | .. | ysgrìfen |
| — 3 | .. | ysgrifèned |
| — 4 | .. | ysgrifenèdig |

Nid oes ond ychydig eithriadau i'r rheol hon. Y prif rai a ffurfir trwy uno terfyniad *a* berf, a therfyniad *ad* enw, â'r sill acenedig a'u blaenorant; megys, *caniatâ* (yn lle *caniataa*), *lleihâd* (yn lle *lleiaad*), *llesâd* (yn lle *llesaad*).

---

## PENNOD II.

### Am Fesur.—*Of Quantity.*

Mesur yw amser sain sill.

Y mae i'r unseiniaid oll, mewn geiriau unsill yn diweddu â chydsain, sain hir a ber; megys, *tâd, call, bêdd, pen*; *hîr, dim*; *llôg, pont*; *pûr, pump*; *gŵr, ffwrn*; *dŷn, hyn*.

Pan fyddo unseiniad yn diweddu gair unsill, y mae bob amser yn hir; megys, da, gwe, ni, to, tu, llw, tŷ.

Arwyddnodir unseiniaid hir weithiau fel hyn,—â, ê, î, ô, û, ŵ, ŷ; a rhai byr fel hyn,—à, è, ì, ò, ù, ẁ, ỳ.

Y brif adwy yn nghelfyddyd ddarllenol y Gymraeg, yw y diffyg o arwyddion neu reolau i ddangos y gwahaniaeth rhwng geiriau unsill hir a byr. Gall estron, ond gwneyd ei hun yn hyddysg yn yr egwyddor Gymreig, ddysgu darllen ein hiaith gyda rhwydd-ineb a phriodoldeb, o ran sain ac acen, ond nid oes un llwybr iddo ddyfod yn hysbys o fesurau geiriau unsill.

Trwy fod unseiniaid yn niwedd geiriau unsill bob amser yn hir, ni fyddai achos i'w harwyddnodi hwy. Mewn geiriau amrysill y mae yr unseiniaid bron bob amser yn fyr; felly y mae geiriau unsill yn troi yn fyr wrth chwanegu sill: megys, bedd, bedd-

au; dŷn, dynion. Yr unig amser ag yr arferir y sain hir mewn gair amrysill yw, pan yr acenir unseiniad a ddylynir gan unseiniad arall; megys, lleihäodd; neu ynte pan y mae i'r gair ddau ystyr; megys, tônau, cânu, tânau.

Ni ddefnyddir y nôd hirsain yn bresenol mewn geiriau unsill, oddieithr y cyfryw ag y buasai dodiad y sain fer iddynt yn cyfleu ystyr gwahanol; megys, câr, glân, tân, tôn, hŷn.

Nid oes un angen am arwydd y sain fer yn y Gymraeg; felly gellir ei ddeol yn gwbl.

---

## PENNOD III.

### Am Bwylais.—*Of Emphasis.*

Pwyslais, fel y bwriadwyd i'r enw arwyddo, yw gosodiad y llais gyda mwy o bwys a chyflawnder ar ryw air neu eiriau penodol mewn broddeg. Rhaid i'r gair pwysleisiol weithiau gael ei wahaniaethu gan ryw dôn benodol, yn gystal a chyda mwy o rym.

Defnydd acen yw rhwymo sillau yn nghyd, mewn trefn i allu gwahaniaethu geiriau oddiwrth eu gilydd. Defnydd pwyslais yw gwneyd ystyr broddeg yn amlwg.

Gellir dosbarthu pwyslais i ddau fath, sef *gwan* a *chryf*. Wrth ddarllen yr ydys yn adrodd rhai geiriau unsill yn wanaidd a chyflym, yn gymhwys fel yr yngenir sillau diacenedig mewn geiriau amrysill; ac yr ydys yn pwyso ar eiriau unsill ereill, fel y gwneir ar y sillau acenedig. Y geiriau a ynganir felly yn ysgafn ydynt y rhanau-ymadrodd mânaf, megys y bannod, y rhagferfau, yr arddodiaid, y cysylltiaid, &c.: a'r rhai a adroddir gyda mwy o rym ac eglurder, ydynt yr enwau, y berfau, a'r geiriau mwyaf arwyddocaol. Er engraifft, cymerwn y geiriau canlynol o efengyl Ioan; "Yn y dechreuad yr oedd y Gair." Seinir *yn y* yn wanaidd a chyflym, fel y sill *de* sydd yn eu dylyn; a'r un modd y geiriau ag sydd yn dylyn y gair *dechreuad*, nes y deuwn at yr enw *Gair*, pa un a gynanir yn rymus ac eglur, fel y sill *chreu* yn y gair *dechreuad*. Wrth bwysleisiad o'r fath yma, pa un, o ran ei ffurfiad, sydd yn gymhwys yr un fath ag acen, ond ei

fod yn dygwydd ar eiriau unsill, y meddylir y pwyslais gwan. Wrth y pwyslais cryf, y meddylir yr un peth ag ystyr cyffredin a mwyaf priodol y gair; sef, gosodiad y llais gyda grym neillduol ar ryw air neu eiriau penodol.

Rhoddir y pwyslais yn fynych ar eiriau cyferbyniol; megys, "A *gerddasoch* chwi i'r dref?" "Naddo, *marchogaeth* a wnaethym."—"A gerddasoch *chwi* i'r dref?" "Naddo, ond gwnaeth *fy mrawd* hyny."—"A gerddasoch chwi i'r *dref?*" "Naddo ddim *cyn belled.*" Rhoddir y pwyslais weithiau ar flaenddodiaid geiriau cyferbyniol; megys, "Efe a *heuir* mewn *llygrediyaeth*, ac a *gyfodir* mewn *an*llygredigaeth."

Mewn trefn i'r darllenydd allu gosod y pwyslais yn briodol, y mae yn angenrheidiol iddo ymdrechu cyrhaedd amgyffrediad cywir o ystyr yr hyn y mae yn ei ddarllen; canys y mae dodiad y pwyslais gyda phriodoldeb cywir, yn ymarferiad parhaus o synwyr da a sylw craffus.

Y mae un bai ag y mae yn neillduol briodol i rybuddio y darllenydd rhagddo, sef hwnw o arferyd gormod o eiriau pwysleisiol. Yn unig trwy fod yn gynil yn yr arferiad ohonynt y gellir rhoddi priodol bwys iddynt. Os byddant yn dygwydd yn rhy fynych; os bydd llefarwr neu ddarllenydd yn ymdrechu gosod pwys mawr ar bob peth a adrodda, trwy luaws o bwysleisiau grymus, nyni a ddysgwn yn fuan i beidio â thalu nemawr o sylw iddynt.

---

## PENNOD IV.

### Am Orphwysiadau.—*Of Pauses.*

Gorphwysiadau ydynt attaliad y llais, er nodi allan mewn modd deallus wahanol raniadau yr ystyr, ac i ganiatau i'r llefarydd gymeryd ei anadl.

Y mae gorphwysiad yn wir angenrheidiol i'r llefarydd, heb yr hyn ni ddichon iddo barablu yn hir. Yn mhob math o ddarllenïaeth ac areithyddiaeth, y mae trefniad yr anadl yn gofyn cryn lawer o ofal, fel ag i beidio â gosod angenrhaid arnom i wahanu y geiriau hyny oddiwrth eu gilydd ag sydd yn meddu cysylltiad mor agos fel y dylent gael eu traethu â'r un anadliad, ac heb y

gradd lleiaf o wahaniad. Y mae llawer o froddegau yn cael eu hanafu yn druenus, a grym y pwyslais ei lwyr golli, trwywneuthur y gwahaniadau mewn lleoedd anmhriodol. I ochel hyn, dylai pob un, tra yn llefaru neu yn darllen, fod yn dra gofalus i ddarparu cyfiawnder o anadl gogyfer â'r hyn sydd ganddo i'w draethu. Camsyniad dirfawr yw tybio na ddylid cyrchu yr anadl ond yn unig ar ddiwedd broddeg, pryd y caniateir i'r llais ostwng. Gellir yn hawdd ei gasglu yn y cyfyngau yn nghanol y froddeg, lle na attelir y llais ond am funudyn; a thrwy y trefniad hwn gellir bob amser gael ystôr digonol i ddwyn yn mlaen y froddeg hwyaf, heb attaliadau anmhriodol.

Dylid ffurfio gorphwysiadau, wrth ddarllen a pharablu yn gyhoeddus, yn ol y dull yn mha un y byddwn yn adrodd ein meddyliau mewn ymddyddanion cyffredin; ac nid yn ol y dull celfyddydol caeth ag ydym yn ei gyraedd trwy ddarllen llyfrau yn ol y gwahannodiad cyffredin. Ni fydd mewn un modd yn ddigonol sylwi ar y nodau a arferir wrth argraffu; canys y mae y rhai hyn yn mhell oddiwrth amlygu yr *holl* orphwysiadau a ddylid eu gwneyd wrth ymadroddi. Sylwad gorfanylaidd ar y gorphwysleoedd hyn, a fu o bosibl yn un achos o undonieth, trwy arwain y darllenydd i gyffelyb dôn wrth bob attalnod, ac i ddisgynsain unffurfiol wrth bob diweddnod. Prif ddefnydd yr attalnodau yw cynorthwyo y darllenydd i ganfod y gystrawiaeth ramadegol; ac nid ydyw ond yn unig megys ail wrthddrych iddynt reoleiddio ei barabliad.

Er peri bod gorphwysiadau yn hyfryd a mynegol, y mae yn rheidiol nid yn unig iddynt gael eu gwneyd yn yr iawn le, ond fod tôn briodol yn cydfyned â hwynt, trwy yr hyn yr arwyddoceir natur y gorphwysiadau yma yn llawer mwy na thrwy eu hyd, yr hyn ni ellir ond anfynych ei fesur yn gywir. Weithiau, attaliad byr yn unig o'r llais sydd yn briodol; weithiau, y mae gradd o ddisgyniad yn y llais yn ofynol; ac weithiau, y dôn a'r ddisgynsain neillduol hyny ag sydd yn dynodi y froddeg yn orphenedig. Yn yr holl achosion hyn, yr ydym i reoleiddio ein hunain trwy ystyried y dull yn mha un y dysg anian ni i lefaru pan yn ymddyddan yn gywir a difrifol gydag ereill.

Rheol gyffredinol ydyw, y dylai y gorphwysiad attaliol gael ei ddefnyddio pan fyddo yr ystyr yn annghyflawn; a'r gorphwysiad terfynol, pan fyddo yn orphenol. Ond y mae ymadroddion yn y rhai, er bod yr ystyr yn annghyflawn, y cymer y llais y gorphwysiad terfynol yn hytrach na'r attaliol; ac ereill, yn y rhai y diwedda y frodde gyda'r gorphwysiad attaliol.

Rhaid peidio â chymysgu y gorphwysiad terfynol gyda'r disgyniad hwnw yn y llais â pha un y mae amryw ddarllenyddion yn unffurf yn diweddu eu broddegau. Nid oes dim yn fwy dinystriol i briodoldeb a chadernid na hyn. Tônau a throadau y llais, ar ddiwedd broddeg, a ddylent gael eu hamrywio yn ol natur gyffredinol yr araeth, a chyfansoddiad ac ystyr neillduol y frodde. Mewn adroddiad diaddurn, ac yn enwedig mewn ymresymiad, ychydig sylw o'r dull yn yr hwn yr adroddwn ffaith neu y cynaliwn reswm mewn ymddyddan, a ddengys ei bod yn aml yn fwy priodol dyrchafu y llais na'i ostwng ar ddiwedd broddeg. Y mae rhai broddegau wedi eu cyfansoddi yn y fath fodd ag y gofyn y geiriau diweddaf drymach pwyslais nag unrhyw un o'r rhai blaenorol; tra y goddef ereill eu diweddu gyda sain dyner ac araf. Lle nad oes dim yn y synwyr yn gofyn i'r sain ddiweddaf fod yn ddyrchafedig neu bwysig, bydd disgyniad esmwyth, digonol i amlygu bod y synwyr yn orphenedig, yn briodol. Ac mewn darnau serch-gyffrous, yn enwedig y rhai cwynfanus, tyner, neu ddifrifol, bydd i dôn y nwyd yn fynych ofyn disgyniad mwy fyth yn y llais. Y drefn oreu i ddiwygio y ddisgynsain unffurfiol, yw darllen yn fynych *ymadroddion detholedig*, yn y rhai y mae yr iaith yn llem, a'r *gwrthosodiadau (antitheses)* yn fynych wedi eu dwyn iddynt; a rhanau rhesymiadol, neu'r cyfryw ag sydd yn llawn o arholion, neu fanllefau gwresog.

---

## PENNOD V.

### Am Oslefau.—*Of Tones.*

Wrth Osle[f] y deallir, cyweiriad y llais i nodi anian y syniadau a draethir.

Y mae *acen* a *mesur* yn perthyn i gynaniad geiriau; *pwyslais* a *gorphwysiad*, i ystyr broddegau; tra y mae *goslef* yn perthyn i deimladau y llefarydd.

Y mae pwyslais yn effeithio ar rai geiriau ac ebieithon neillduol â gradd o dôn neu dreigliad y llais; ond y mae goslef yn effeithio ar froddegau, ac weithiau hyd yn nod ymadroddion cyfain.

Gresyn na ymdrechid symud ymaith yr hen arferiad annymunol hwnw ag sydd eto yn parhau yn ein hysgolion, sef darllen pob rhan o'r ysgrythyrau â thôn hirllais, drymllyd, a difywyd, heb wneuthur un gwahaniaeth rhwng yr ymadroddion mwyaf dwys a'r rhai mwyaf bywiog. Darllenir y bygythiadau mwyaf dychrynllyd ac ofnadwy, a'r addewidion mwyaf cysurlawn a gogoneddus, yn gwbl yn yr un dôn a llais; ac y mae hyn yn llawn mor wrthun ac anmhriodol a phe byddai i flaenor canu arwain y cantorwyr i ganu tôn ysgafn, bywiog, a gorfoleddus, ar y geiriau dwys a sobr hyny,—

"Wele'r dydd ofnadwy'n dyfod, &c."

Y mae yn ddilys y dylid darllen pob rhan o'r gair santaidd gyda symlrwydd a difrifoldeb; ond nid yw tôn hirllaes, duchanllyd, yn un arwydd o hyny, mwy nag yw y darlleniad mwyaf bywiog a chyflym.

Gan fod geiriau a broddegau wedi cael eu llefaru oddiar wahanol ysgogiadau y meddwl, ni ddylid arferyd yr un llais gyda phob ymadrodd. Y mae rhagluniaeth nid yn unig wedi ein cynysgaethu â pheirianau ymadrodd i drosglwyddo ein meddwl, ond wedi ein meddianu â pheirianau i amrywio ein llais i fod yn gyfunol âg ansawdd yr hyn a lefarir genym; ac fe ddylem, pan yn darllen unrhyw gyfansoddiad, ymdrechu dwyn ein hunain i bersonoli y llefarydd gwreiddiol o'r geiriau, fel pe byddem yn yr un amgylchiadau ein hunain.

Gall dyfyniadau o alarnad brydferth Dafydd uwchben Saul a Jonathan, fod yn ddefnyddiol fel cynllun i egluro yr hyn a ddywedwyd ar y pwnc hwn:—

"O ardderchogrwydd Israel, efe a archollwyd ar dy uchelfaoedd di: pa fodd y cwympodd y cedyrn

"Nac adroddwch hyn yn Gath ; na fynegwch hyn yn heolydd Ascelon : rhag llawenychu merched y Philistiaid, rhag gorfoleddu o ferched y rhai dienwaededig.

" O fynyddoedd Gilboa, na ddisgyned arnoch chwi wlith na gwlaw, na maesydd o offrymau: canys yno y bwriwyd ymaith darian y cedyrn yn ddirmygus, tarian Saul, fel pa buasai heb ei eneinio âg olew."

Y gyntaf o'r rhanau hyn a esyd allan dristwch a galar; am hyny y mae y sain yn isel. Y nesaf a gynwys archiad bywiog, a dylai gael ei llefaru yn llawer uwch. Yr ymadrodd arall, lle y gwna efe gyfeiriad serch-ddeffrous at y mynyddoedd ar ba rai y lladdwyd ei gyfeillion, a raid gael ei ddatgan mewn sain lwyr wahanol i'r ddau flaenaf; sef, nid mor isel a'r cyntaf, na chwaith mor uchel a'r ail, ond mewn llais gwrol, grymus, ac eto yn gwynfanus. Yn debyg i hyn y dylid gwneuthur amrywiaeth yn y llais fel y bydd ansawdd yr ymadrodd yn gofyn.

*Serch* a osodir allan â llais araf, esmwyth, llednais, a hynaws; *digllonedd*, â llais cryf, garw, llym, ac angerddol; *llawenydd*, â llais bywiog a melysber; *tristwch*, â sain isel a galarus; *ofn*, â sain arswydol a chrynedig; *condra*, â sain hyderus, diarswyd, a dyrchafedig: ac felly bob cyffroad arall yn gyfatebol i'w anian.

Un o brif bynciau darlleniaeth yw darllen pob rhan fel y caffer allan y meddwl a'r teimlad a fyddont yn gorphwys yn y gyfryw ran.

---

## PENNOD VI.

### Rheolau Barddoniaeth.—*The Rules of Poetry.*

Gellir rhanu Barddoniaeth Gymreig i ddau ddosbarth gwahanol; sef, Mydryddiaeth a Chynghanedd, neu Gerdd Dafod.

#### I. MYDRYDDIAETH.

Mydryddiaeth yw trefniad rheolaidd a phenodol sillau acenedig a diacen.

Mydr sydd o ddau fath; sef, *Odl* a *Mydr annghyfawdl.* Pan fyddo sill olaf pob dwy linell yn meddu yr un sain, fe'i gelwir yn *odl;* amgen, fe'i gelwir yn *fydr annghyfawdl.*

Corfanau a gorphwysiadau ydynt ranau cyfansoddawl mydr.

Corfanau ydynt nifer penodol o sillau. Cynwysant yn gyffredin ddwy sill, un yn acenedig a r llall yn ddiacen; ond weithiau cynwysant dair sill, un yn acenedig a'r ddwy arall yn ddiacen.

Y prif gorfanau sydd o dri math; sef, corfan *rywiog*, corfan *talgrwn*, a chorfan *crych ddisgynedig.*

Y corfan rywiog a ffurfir o ddwy sill, y flaenaf yn acenedig, a'r olaf yn ddiacen; megys, *ca*nu.

Y canlynol sydd benill wedi ei ffurfio o gorfanau rywiog:—

*Car*iad - *gynt* yn - *flin* gan - *chwar*eu,
*Gor*wedd - *wnaeth* yn - *mhlith* rhos-*yn*au;
*A* gwen-*yn*en - *oedd* yn - *huno*
*Rhwng* y - *dail* heb - *wy*bod - *iddo*.

Y corfan talgrwn a ffurfir o ddwy sill, y flaenaf yn ddiacen, a'r olaf yn acenedig; megys, Glan*hâ*.

Y canlynol sydd benill wedi ei ffurfio o gorfanau talgrwn:—

Ar - *go*pa - *craig*, wrth - *ol*eu - *gwan* y - *lloer*,
Ei - *ba*ban - *gaed* yn - *farw* - *ac* yn - *oer*;
A'i - *ddag*rau'n - *iâ* try-*loew* - *ar* ei - *rudd*,
A'i - *ddwy*law - *bych*ain - *re*went - *wrth* y - *pridd*.

Corfan crych-ddisgynedig a ffurfir o dair sill, y flaenaf yn acenedig, a'r ddwy olaf yn ddiacen; megys, *Gwerth*-fawr yw.

Nis gellir cael y corfan hwn ar un gair unigol yn ein hiaith; ond fe'i dygir i fewn mewn cyfansoddiant, fel y gelwir yn y penill canlynol:—

Draw, - *draw* ar y - *cef*nfor, ar - *nos*on ddû - *oer*
'Roedd - *cwch* bach yn - *hwy*lio, heb - *ser*en na - *lloer*;
A - *'rhu*ad y - *ton*au, a'r - *gwynt*oedd, a'r - *gwlaw*,
A - *lan* wai fyn-*wes*au y - *mor*wyr o - *fraw*.

Pwy bynag a ewyllysiont gael golwg ar y gwahanol fesurau a ffurfir o'r corfanau rhag-grybwylledig, edrychent i Ramadeg Cerddoriaeth Ieuan Glan Alarch, a Drych Barddonol Caledfryn, a Chyfrinach y Beirdd, gan Iolo Morganwg.

Y ganlynol sydd engraifft o fydr annghyfawdl :—

Wrth rodio unwaith ar hyd lwybrau gwyrdd
Y fynwent fr oddeutu Rhydwen hoff,
Tra yr edrychwn ar y meini cain
Lle cawn fynegiad am y mawrion rai
A hunant isod, craffwn ger fy llaw
Dywarchen wlithlas arwydd mei tylawd
A dieludawg oedd y gwladawl lanc
A gleddid yno ; addas i'r fath un
Ei ben orphwysaw neilldu idd y balch.

* * *

Y mae dau fath o orphwysiadau, un i'r synwyr, a'r llall i'r beroriaeth. Gellir galw y blaenaf yn orphwysiadau attalnodol, a'r olaf, yn orphwysiadau cynghanol.

Y gorphwysiadau attalnodol yw y rhai hyny a wneir ar ol yr attalnodau.

Gellir adranu y gorphwysiadau cynghanol i'r gorphwysiad terfynol, a'r gorphwysiad gwrthderfynol. Y mae'r rhai hyn weithiau yn cyd-daro â'r gorphwysiad attalnodol, ac weithiau yn meddu cyflwr annibynol; hyny yw, yn bodoli lle nad oes un gorphwysiad yn y synwyr.

Y gorphwysiad terfynol a gymer le yn niwedd y llinell, ac a noda y mesur ; y gorphwysiad gwrthderfynol a'i rhana i ddosbarthiadau cyfartal neu annghyfartal.

Rhaid gwneyd y gorphwysiad terfynol yn niwedd pob llinell, hyd yn nod pan na fyddo y synwyr yn gofyn un attalnod. Y gorphwysiad hwn yn unig sydd, ar lawer o achosion, yn nodi y gwahaniaeth rhwng rhyddiaith a mydr.

Y gorphwysiad gwrthderfynol a gymer le yn gyffredin ar ol y bedwaredd, y bumed, neu y chweched sill mewn mydr arwraidd, neu ddegsill.

Ar y bedwaredd sill ; megys,

Mewn hyfryd le,′ o gyraedd sŵn y byd,
Y trigai'n llon′ forwynig dêg ei phryd.

Ar y bumed sill ; megys,

O'r braidd, er craffu,′ gall'sid dweyd ar g'oedd,
Pa un ai dynes′ ai angyles oedd.

Ar y chweched sill; megys,

> Ond gwywo wnaeth y gwrid' oedd ar ei grudd,—
> A buan ffôdd y gân' o'i mynwes brudd!

## II. CERDD DAFOD.

Y MAE hon yn drefn ag sydd yn perthyn yn neillduol i'r Gymraeg; ac ni arferir ond y dosbarth hwn o farddoniaeth yn unig gan restr lluosog o feirdd Cymru. Tybiwn fod y rhan fwyaf o gynyrch yr Awen yn y dyddiau hyn yn gyfansoddedig yn y mesurau caethion; ac oddiar yr ystyriaeth hon ein cymhellwyd i osod gerbron y darllenwyr reolau Cerdd Dafod, mewn modd mor fyr, ac eto mor gynwysfawr, ag y medrwn, mewn trefn i'w galluogi i farnu yn well am gywirdeb y cyfryw gyfansoddiadau, ac archwaethu eu ceinion.

Rhanau cyfansoddawl Cerdd Dafod ydynt, Odl a Chynghanedd.

### ODL.

Wrth odl y meddylir, cydatebiad seiniau mewn sillau, yr hyn a gyflawnir mewn dwy ffordd; sef, trwy *unodli* a *phroestio.*

Unodli yw bod sillau o'r un rhyw yn cydateb, naill ai yn nghanol braich, neu yn y brifodl, fel *poeth* a *noeth.*

Proestio yw bod cydseiniaid yn cydateb yn y brifodl, tra y bo'r unseiniaid yn newid, fel *beth* a *nyth.*

Wrth brifodl y meddylir, y sill olaf mewn braich,* pa un a odla â'r sill olaf mewn braich arall.

### CYNGHANEDD.

Cynghanedd yw cydatebiad cydseiniaid a seiniau mewn braich.

Dwy brif gynghanedd sydd; sef, *cynghanedd groes,* a *chynghanedd unodl* neu *sain.*

#### *Cynghanedd Groes.*

Y mae'r gynghanedd groes o dair rhyw; sef, *croes rywiog, croes o gyswllt,* a *chroes ddisgynedig.*

1. Croes rywiog a genir wyneb a gwrthwyneb, a hi ydyw yr oreu

* Wrth *fraich* neu *fan* y meddylir *llinell.*

o'r cynghaneddion, trwy fod yr holl gydseiniaid sydd ynddi yn gydatebol; fel hyn,—

Cydradd â mi cedrwydd Môn....*wyneb*
Cedrwydd Môn, cydradd â mi....*gwrthwyneb*

Neu yn gyfan fel hyn,—

*Cydradd* â *mi cedrwydd Môn*... *c d r dd m—c d r dd m*
*Dû* Eryri, *dewr wron* .......... *d r r—d r r*
*Cedrwydd Môn, cydradd* â *mi*.... *c d r dd m—c d r dd m*
*Dewr* wron *dû* Eryri............ *d r r—d r r*

2. Croes o gyswllt y gelwir braich yn yr hon y bo'r gydsain olaf yn y brif orphwysfa (hyny yw, y gydsain olaf yn haner y llinell, sef y drydedd neu'r bedwaredd sill) yn ateb i'r gyntaf yn y fraich; megys,

*Chwyddai serch y dduwies* hon.... *ch dd s—ch dd s*

Gelwir y dull yma yn *groes gyfan gyswllt.*

Pan fyddo *c, p,* neu *t,* yn y brif orphwysfa i ateb i *g, b,* neu *d,* yn nechreu y fraich, fe'i gelwir yn *groes haner gyswllt*; megys,

*Gwr* ieuanc yw *rhy* ehud.... *g r—c r*
*Bu hwyr anhap hir yno* ...... *b h r n—p h r n*
*Dyn* a *welaist yn wylo* ........ *d n l—t n l*

Pan fyddo *g, b, d,* yn ddylynedig â chydseiniaid o'r un rhyw, neu âg *h,* i ateb i *c, p, t,* gelwir y fraich yn *groes o gyswllt ewinog;* megys,

Eu *tra* h*ynod dirion*wch ...... *t r n—d-d r n*
*Cywir* en*wog gâr* i*ni*.......... *c r n—g-g r n*
*Tan* ei*llad hwn* a we*ñr* ........ *t n l—d-h n l*

Pan fyddo dwy gydsain yn cydateb yn yr un sill, gelwir y fraich yn *groes o ddwbl gyswllt*; megys,

*Drwy'r gwelydr* a'i aur *goleu*.... *dr r g l—dr r g l*

Pan fyddo y gydsain yn cael ei hateb yn ol ac yn mlaen, gelwir y fraich yn *groes o gyswllt ddisgynedig*; megys,

*Ar* un *gair yn agoryd*.... *r n g r n g r*

3. Croes ddisgynedig yw bod yr orphwysfa, yr hon a fydd bob amser yn unsill, yn cynghaneddu â'r sill nesaf i'r brifodl; megys,

I*sel fan* i'w *sail-feini*.... *s l fan—s l fein*

Pan fyddo dwy gydsain gynglynol yn cydateb yn y manau crybwylledig, gelwir y fraich yn *groes ddwbl ddisgynedig*; megys,

Y *môr dwfn* mae rhaid *ofni*.... *m r d fn—m r d fn*

Gydag unseiniaid fel hyn,—

A hw*n ddoe* a wnai *ddewis*.... *n ddoe—n ddew*

Oddiwrth yr engreifftiau uchod canfyddir bod y gynghanedd groes yn llawn o gymhlethiadau, trwy fod bron bob cydsain mewn braich yn cydateb. Nid oes ond y cydseiniaid terfynol heb eu hateb, sef y rhai a ddiweddant y rhan flaenaf o'r fraich, a'r rhan

olaf ohoni, sef y brif orphwysfa a'r brifodl. Enasai yn anmhriodol i derfyniadau y rhai hyn gydateb: y mae yn rhaid iddynt fod yn gydseiniaid gwahanol, neu ynte rhaid i'r naill fod yn unseiniad a'r llall yn gydsain, fel y gwelir yn yr engreifftiau blaenorol.

Trwy fod y gynghanedd groes mor gaeth, ffurfiwyd un arall ohoni fwy rhydd, sef trwy adael rhai cydseiniaid yn nghanol braich heb eu hateb. Gelwir y math yma yn *gynghanedd draws*, neu *gynghanedd groes ganolgoll.*

Weithiau ni fydd ond un gydsain yn nechreu y fraich yn ateb un arall yn y diwedd; megys,

*T*eg [yw'r peth a wnaethost] *t*i... *t—t*

Gelwir y gynghanedd hon yn *draws fantach*, am ei bod mor wag o gloau.

Weithiau bydd dwy gydsain yn ateb dwy; megys,

*D*y*g*wyd [i bawb eu] *d*i*g*on.... *d g—d g*

Weithiau tair yn ateb tair; megys,

*T*e*r*f*yn [ddaw i bob] *t*y*r*f*a.... *t r f—t r f*

Weithiau pedair yn ateb pedair; megys,

*D*ei*frd*awch [gorllifawg] *Dy*f*rd*wy.... *d f r d—d f r d*

Weithiau pump yn ateb pump; megys,

*G*wae a *f*o'*n* *br*udd rha*g* o*fn* *br*ad.... *g f n b r—g f n b r*

Yr *r* yn unig sydd heb ei hateb yn y fraich hon.

Pan fyddo nifer annghyfartal o sillau yn ateb eu gilydd, megys dwy yn ateb tair, gelwir y fraich yn *draws annghydbwys*; megys,

*Tr*e*ng*af [cyn y] *t*y*r* a*ng*en....... *t r ng—t r ng*
*D*eu*n*aw *d*awn [ar y] *d*y*n* *d*oeth.... *d n d—d n d*

Pan na fyddo ond unseiniaid yn cydateb, gelwir y fraich yn drawsgyfnewid; megys,

*Aw*en [mor ber a'r] *eo*s.....*aw—eo*

Y mae hefyd *draws o gyswllt ewinog*, a *thraws ddisgynedig*; ond deallir y rhai hyn oddiwrth yr eglurhâd a roddwyd o'r cyfryw ddosbarthiadau yn y gynghanedd groes.

*Cynghanedd Sain.*

Cynghanedd sain yw cydodliad seiniau mewn braich, gyda chylymiad cydseiniaid.

Y gair odlawg cyntaf a elwir *gwant*, a'r ail, *rhagwant.*

I'r gynghanedd sain y perthyn gwahanol rywiau; sef, sain unodl, sain unodl o gyswllt neu sain gudd, sain lefn, sain gadwynog, sain ddisgynedig, a sain ddyblyg.

Pan fyddo'r sillau odlawg yn ddiacen, a'r rhan olaf o'r fraich yn proestio â'r rhagwant, gelwir y gynghanedd yn sain *unodl;* megys,

Prydydd o Benmynydd Môn.... *ydd m—ydd m*

Pan fyddo'r gwant neu'r rhagwant yn gyfansoddedig o ddiwedd un gair a dechreu'r llall, gelwir y gynghanedd yn *unodl o gyswllt,* neu *sain gudd;* megys,

Yn ei *far* rheibia *rywbeth* ...... *ar b—ar b*
Gwawl a ry *drwy wydr* ei *wen* .. *ydr w—ydr w*
Ddoe 'r oedd y *lloer* yn *llawn* .. *oer ll—oer ll*

Pan fyddo'r cydseiniaid a ddylynant y gwant yn cael eu hateb ar ol y rhagwant, gelwir y gynghanedd yn *sain lefn;* megys,

Cydllef llu nef oll â ni.... *ef ll n—ef ll n*

Pan fyddo'r gwant yn dechreu y fraich, a'r cydseiniaid dylynedig yn cael eu hateb ar ol y rhagwant, gelwir y gynghanedd yn sain *gadwynog;* megys,

Hynt y llym ddeheuwynt lloeg ... *ynt ll—ynt ll*

Pan fyddo'r rhagwant yn cael ei ateb yn y sill nesaf i'r brifodl, gelwir y gynghanedd yn sain *ddisgynedig;* megys.

Dy eiriau, Ion clau clywais.... *au clau clyw*

Pan fyddo dwy neu dair o sillau yn cydodli yn y drein ganlynol, gelwir y gynghanedd yn *sain ddyblyg;* megys,

Tad, mad, rad, rydd, sydd, fydd, fwyn.

O'r gynghanedd sain y ffurfir cynghanedd arall fwy rhydd, a elwir *cynghanedd lusg.* Ni chynwys y gynghanedd hon ond gwant a rhagwant, yr olaf o ba rai sydd i fod bob amsèr ar y sill nesaf i'r brifodl.

Y mae gwahanol fathau o gynghanedd lusg; sef, llusg lefn, llusg ŵyrdro, llusg o gyswllt, llusg o ddwbl gyswllt, llusg gysylltgudd.

Pan fyddo'r gwant a'r rhagwant yn ateb eu gilydd yn naturiol, gelwir y gynghanedd yn *lusg lefn;* megys,

Hoff gan feinwar ei charu.... *ar—ar*

Os na fydd y gwant a'r rhagwant yn cydodli yn berffaith, gelwir y gynghanedd yn *lusg ŵyrdro;* megys,

Fy ngwaith yw dysgu ieithoedd.... *aith—eith*

Y canlynol a ddeallir yn rhwydd oddiwrth yr eglurhâd a roddwyd o'r cynghaneddion ereill.

Llusg o gyswllt,—

Mae William Siams bob amser.... *ams—ams*

Llusg o ddwbl gyswllt,—

Mae llwybr fry yn y wybr fraith.... wybr fr—wybr fr

Llusg gysylltgudd,—

Dydd Gwener a dydd Sadwrn.... ad—ad

*Cynghaneddion Cymysgedig.*

Gellir arferyd gwahanol gynghaneddion yn yr un fraich.

Seingroes rywiog sydd fel hyn,—

*Gwr sy'n dwr â gras a'n deil*.... *g r s n d g r s n d wr—wr*

Seingroes gadwynog, fel hyn,—

*Iawn arwydd dawn* hyr*wydd deg*.... *awn rwydd d—awn rwydd d*

Seindraws, fel hyn,—

*Tŷ gwin tŷ gwerin teg* wyd.... *t g t g t g—in in*

Seingroes o gyswllt ddisgynedig, fel hyn,—

*Ni'm gyr bun i'm gwir boeni*.... *g r b n g r b n—nim nim*

Trawsgroes o gyswllt ddisgynedig, fel hyn,—

*Arf* wyt *ar fywyd dewrion*. . . *arf t r—arf d-d r*

Trawslusg, fel hyn,—

*Crynwydd fal eithin crinion*. . .*c r n c r n—in in*

Croes o gyswllt, a sain lefn, fel hyn,—

*Iaith gu'n* ei *gwaith gan* y *gŵr*. . . *aith g n-aith g n—g*

TRWYDDEDAU GODDEFEDIG YN NGHYFANSODDIAD Y CYNGHANEDDION.

1. Y gydsain *n* a oddefir yn nechreu braich o groes neu drawsgynghanedd heb un *n* i'w hateb, ac a elwir yn *n* wreiddgoll; megys,

*N*i pherodd neb ei phuraw.

Neu ar ol unseiniad; megys,

Yno cafais y cyfoeth.

2. Y llythyren *h*, lle bynag y bo, a ellir ei gadael heb un ebychnod ateb iddi; megys,

*H*wnw a godir yn gadarn.

3. Goddefir un gydsain i ateb dwy o'r un rhyw pan fyddont yn unsain; megys,

Ni cha*f f*udd na chy*ff*eddach.

4. Goddefir i *g* ateb *c* yn y cysylltiad *ac*; megys,

*Ac* yn ei fedd *gwyn* ei fyd.

5. Goddefir i *b, d, dd, f, g, l,* lechu yn nghysgod *p, t, th, ff, c,* ac *ll,* heb eu hateb, pa un bynag ai o'u blaen ai o'u hol y byddont, am fod grym *p, t, &c,* yn gorchfygu sain y lleill; megys,

Yn mho*b pe*n y mae *p*iniwn.... *bp—p*
*T*roaf yn ol a*t d*refn well ...... *t—td*
Dai*l ll*ydain i'n di*ll*adu ........ *l-ll—ll*

6. Goddefir i gydsain rymus ateb un feddal ar ol *s;* megys,

Gwas *d*oniawl fu'r gwes*t* yno ... *d—t*

7. Geiriau yn diweddu âg *w,* fel enw, cadw, galw, marw, hoew, &c., a ystyrir yn unsilliaid; ond fe'u harferir weithiau fel deusilliaid; megys,

Marw wna'r carw'n y coed .... *7 sill*

BEIAU GWAHARDDEDIG YN NGHYFANSODDIAD Y CYNGHANEDDION.

Y mae'r beiau hyn o amryw fath; sef, *twyll cynghanedd, gormod odlau, proest i'r awdl, dybryd sain, camosodiad, crych a llyfn, ymsathr odlau, rhy debyg.*

1. *Twyll cynghanedd,* o ba un y mae tri math; sef, twyll gwreiddgoll, twyll pengoll, a thwyll sain.

1af. Twyll gwreiddgoll yw bod cydsain yn y rhan flaenaf o fraich heb un yn ateb iddi yn y rhan olaf; megys,

*D*iau gelyn a goeliais.
Dirfawr gŵyn, darfu y gwir.

2il. Twyll pengoll yw bod cydsain yn y rhan olaf o fraich heb un yn ateb iddi yn y rhan flaenaf; megys,

Darfu y gwir, dirfaw*r* gŵyn.
Llundain sydd dref gain gein*f*awr.

3ydd. Twyll sain yw dodi llythyrenau o wahanol rywiau i gydodli; megys,

Gwaith C*ai*n ar f*ae*n o fynor .... *ai—ae*
Mae fy na*bl* heb ana*dl* ........ *bl—dl*
Daw d*y*dd na thâl ymg*u*ddiaw ... *ydd—udd.*

2. *Gormod odlau,* sef pan fyddo y brifodl yn cydodli â gair yn yr un fraich; megys,

Rhinw*edd* c*â*n yw cynghan*edd** .. *edd—edd.*

3. *Proest i'r awdl,* sef pan fyddo y brif orphwysfa, mewn cynghanedd groes neu draws, yn cydbroestio â'r brifodl, ac yn meddu yr un nifer o sillau; megys,

Mwy na *mil* am uno *mawl* ... *mil—mawl*
Llu *nefoedd* oll yn *ufudd* .... *oedd—udd.*

Proest llafarog, fel hyn,—

Llon yw'r *llu,* a llawn yw'r *lle* .. *llu—lle.*

* Pan fyddo y brifodl yn diweddu âg unseiniad, goddefol yw defnyddio gair unsill a fo yn cydodli âg ef; megys, "Ochaf, ond ni henwaf hi."

Proest banerog, fel hyn,—

Un ydwy*t* heb newidia*d* . . . . *t—d.*

4. *Dybryd sain*, sef pan fyddo y brifodl yn cydseinio â'r gwant a'r rhagwant; megys,

Pech*od* sy'n b*od* yn y b*yd* . . . . *od od yd*

5. *Camosodiad*, sef pan fyddo trefniad y cydseiniaid yn y rhan olaf o'r fraich yn wahanol i'r hyn a fyddo yn y rhan flaenaf; megys,

*Gair yn dda gan wr o ddysg . . g r n dd—g n r dd*

6. *Crych a llyfn*, sef camosodiad yn y brifodl i ateb i'r brif orphwysfa; megys,

Gŵr o *fri* yn agor ei *farn*.

7. *Ymsathr odlau*, sef pan fyddo rhan o sill yr orphwysfa yn sathru ar sill y brifodl; megys,

Lawenh*awn* mae lle yn h*wn* . . . *awn—wn*
Y *gŵr* o Gaerlleon *gawr* . . . . . *ŵr—gawr*

8. *Rhy debyg*, sef pan fyddo'r brifodl a gair arall yn yr un fraich mor debyg fel na fyddo ond un neu ddwy lythyren yn y diwedd yn rhwystro iddynt gydodli; megys.

*Cerai*s bob rhai o'm *cerai*nt . . . *cerai—cerai*

Arall mewn cynghanedd sain, fel hyn,—

Dyddan yw *Ieua*n *ieua*nc . . . . *ieua—ieua*

## MESURAU.

MESUR yw rhif penodol o linellau, wedi eu ffurfio yn ol rheolau penodol.

Y nifer lleiaf o sillau a arferir mewn braich gynhaneddol yw pedair; a'r nifer mwyaf, deuddeg.

Rhoddir i freichiau cynghaneddol wahanol enwau, yn ol y nifer o sillau a gynwysant.

| | | |
|---|---|---|
| Gelwir braich o bedair sill | ........ | *cyhydedd fer* |
| ———— o bum sill | ........ | *cyhydedd gaeth* |
| ———— o chwe sill | ........ | *cyhydedd drosgl* |
| ———— o saith sill | ........ | *cyhydedd lefn* |
| ———— o wyth sill | ........ | *cyhydedd wastad* |
| ———— o naw sill | ........ | *cyhydedd draws* |
| ———— o ddeg sill | ........ | *cyhydedd wen* |
| ———— o un sill ar ddeg | .... | *cyhydedd laes* |
| ———— o ddeuddeg sill | .... | *cyhydedd hir.* |

Y cyhydeddau hyn, y rhai a gyfansoddir o unrhyw gynghanedd, a elwir yn golofnau cerdd dafod, canys ohonynt hwy y ffurfir yr holl fesurau cerdd, pa rai sydd bedwar ar ugain mewn rhifedi.

Nid yw beirdd yn cyduno ar ffurf y mesurau hyn. Y mae dau fath o ffurfiau, un a elwir yn ddull *Dosbarth Caerfyrddin;* a'r llall, dull *Dosbarth Morganwg.*

Yn ol dull Morganwg, pa un yw y drefn fwyaf dysyml, y mae y pedwar mesur ar ugain yn gynwysedig o naw gorchan, a phymtheg adlawiaid fesurau.

Gorchan a gynwys bedair o linellau ar ryw gyhydedd penodol; felly gellir ffurfio cynifer o orchanau ag sydd o gyhydeddau.

Yr adlawiaid fesurau a gynwysant gyhydeddau annghyfunhyd, neu amrywiaeth yn y drefn o odli.

Bwriadwyd rhoddi gerbron y darllenydd gynllun o ddull dosbarth Morganwg; ond gan na chaniatâ lle, ni sylwir ond ar natur a ffurfiad y ddau brif fesur a arferir, sef cywydd ac englyn.

### CYWYDD.

Cynwysa cywydd (a elwir cywydd deuair hirion) ddwy fraich o saith sill bob un, prifodl y naill yn ddiacen, ac eiddo'r llall yn acenedig.

Gellir uno unrhyw nifer o'r mesurau hyn yn nghyd i ffurfio un dernyn gwahanol; a gellir defnyddio yr un a fyner o'r prifodlau yn gyntaf, sef y ddiacen, neu yr acenedig, a'u newid bob yn ail, fel yr elir yn mlaen, megys y gwelir yn yr engraifft ganlynol, o waith D. Ionawr ar y Dylif:—

* * *
Od eir i barthau'r Dwyrain,
Neu'r gogledd;—rhyfedd drwy rhai'n
Miloedd sydd o gymylau
Tewion yn hyllion amlhau:
Du y wybren a dybryd,
Tywyll ac erchyll i gyd!
Goleu ronyn nis gwelant
Ond cochion fellt gwŷnion gant;
Taranau trwy y wiwnef,
Cefnlli o ffenestri Nef.
Rheiedr fyrddiynau'n rhuaw
Yn ffrydiawg o lidiawg wlaw.
Gan amlder, llawnder a llid
Y gwlaw, yn syn e glywid
Ar gyhoedd, drwy gymoedd gant
Arw hyll ferw y llifeiriant.
Afonydd a'u hollrydd hynt,
A chynhwrf mawr, wreichionynt;
A'r awyr yn adruaw,
A mawr drwst gan y môr draw:
Ymwriaw mae'r môr mawrwyllt
Mewn bar yn ei garchar gwyllt,
Drwy ewynawg darann
O'r llynclyn diderfyn du.
Rhai ynfydion, gwylltion, gan,
Am nawdd ffo'nt i'r mynyddau;
Rhedai'r môr mawr rhuadwy
Ar fyrder i'w huchder hwy.
P'le'r ânt, p'le safant, p'le sydd,
Rhag ei waeau tragywydd?
* * *

Y mesur hwn yw'r mwyaf cyfaddasedig at bynciau arddunawl.

### ENGLYN.

Englyn sydd fesur wedi ei ffurfio o ddau *fesur* arall, sef Toddaid a Chywydd, *yn nglŷn;* ac oddiwrth hyn y tardda yr enw *englyn* neu *ynglyn.*

Cynwysa englyn bedair llinell;—y gyntaf yn cynwys deg sill; yr ail, chwech; a'r ddwy olaf, saith bob un.

Gelwir y ddwy linell flaenaf, y rhai a ffurfir o Doddaid, yn

*baladr* englyn; a'r ddwy olaf, y rhai a ffurfir o gywydd, yn *esgyll* englyn.

Arferir o un i bedair o sillau ar ol y brifodl yn y llinell gyntaf, pa rai a elwir, *gair cyrch.*

Wrth gyfansoddi englyn, rhaid cadw at y rheolau canlynol:—

1. Rhaid i brifodl y pedair braich gydodli â'u gilydd; megys,

Paul glau ar eiriau a r*oes*—yn *f*y*n*ych
Yn *f'en*aid ddychrynl*oes*,
A hauo dyn hyd einio*es*,
A foda ef wedi *oes*—T. Ll.

2. Gall prifodl y llinell gyntaf fod yn unsill neu amrysill, ond rhaid i eiddo yr ail fod yn amrysill; a rhaid i un o eiddo yr esgyll, gan eu bod yn gywydd fesur, fod yn unsill, a'r llall yn amrysill, fel y gwelir yn yr englyn flaenorol.

3. Rhaid i'r gair cyrch gael ei ateb yn nechreu yr ail fraich, a hyny yn unodl, yr hyn a elwir cyrch awdl; neu ar ddull proest, yr hyn a elwir cyrch cynghanedd. Yn yr englyn uchod ceir engraifft o gyrch awdl: y ganlynol a gynwys gyrch cynghanedd:—

Diareb yw hon, dywirir—ym mr*o*,
"A ladd*o* a leddir."

Mewn cyrch cynghanedd, rhaid i'r rhan flaenaf o'r ail fraich gael ei hateb gan y rhan olaf, fel *ladd* a *ledd* yn yr englyn olaf.

4. Os cynghanedd sain a ddefnyddir yn y llinell gyntaf, rhaid i odl y rhagwant fod ar y bumed sill, fel y gwelir yn yr englyn gyntaf. Gall odl y gwant fod ar y sill gyntaf, yr ail, y drydedd, neu'r bedwaredd.

Cyn gadael y pen hwn, gellir sylwi, y gall prifodl fenthyca cydsain ddechreuol y gair a'i dylyna, pa un bynag ai yn dechreu gair cyrch ai yn dechreu braich y byddo, mewn trefn iddi gyfodli â'r brifodl ddylynol.

## BEIAU GWAHARDDEDIG YN Y MESURAU.

1. *Twyll awdl*, sef bod y prifodlau heb fod yn ateb yn gwbl i'w gilydd; megys *Dyn* a *gwrthun; dig* a *Tegid.*

2. *Gwest awdl*, sef bod yr un gair ddwywaith yn cydodli yn yr un mesur.

3. *Trwm ac ysgafn*, sef bod geiriau unsill hir a byr yn ateb i'w gilydd yn y prifodlau, megys *rhan* a *tân; pen* a *gwên.*

4. *Lleddf* a *thalgron*, sef bod deuseiniad mewn prifodl yn ateb i unsain, megys *mûr* a *lloer*. Anmhriodol hefyd fod *ŵy* yn ateb i *wy*; h. y., bod *w* hirsain yn ateb i un fer, megys *llŵyr* a *gwynt*,

5. *Garllaes*, sef bod dwy brifodl amrysill yn cydateb, ll dylai un fod yn unsill.

6. *Tin ab*, sef bod dwy brifodl unsill yn cydateb, lle y dylai un fod yn amrysill.

7. *Tor mesur*, sef bod mwy neu lai o sillau mewn braich neu benill, nag sydd ofynol wrth y rheolau sefydledig.

## GWAHANNODIAD.—Punctuation.

**Gwahannodiad** *yw y gelfyddyd o attalnodi cyfansoddiad ysgrifenedig yn y cyfryw fodd ag a arweinio yn naturiol i'w ystyr a'i ddarlleniad priodol.*

### ADWAHANNOD (,).

I. Dylid defnyddio adwahannodau,

1. Rhwng y testyn a'r ferf, os bydd y testyn yn hir*—

Bod yn gwbl ddifater am glod neu annghlod, sydd ddiffyg gwirioneddol mewn cymeriad. Y mae bod yn gwbl ddifater am glod neu annghlod, yn ddiffyg gwirioneddol mewn cymeriad.

2. Rhwng cyfres o eiriau o'r un rhyw †—

Yr haul, y lleuad, a'r ser, ydynt ogoniant natur. Mewn llythyr, gallwn gynghori, anog, cysuro, deisyf, ac ymresymu. Cynorthwyo y tlawd, amddiffyn y diniwaid, gwobrwyo y teilwng, sydd waith dyngar a godidog.

3. Rhwng pob pâr o eiriau cyfunrhyw cydiedig gan gysylltiaid—

Y mae gwirionedd yn dêg ac annichellgar, syml a chywir, unffurf a dianwadal.

4. O flaen rhagenw perthynol, os bydd amryw eiriau yn cyfryngu rhyngddo a'i flaenorydd ‡—

Nid oes un *swyn* yn y rhyw fenywaidd, *pa un* a all gyflenwi lle rhinwedd. Prif *harddwch* arddull yw priodoldeb, heb *ba un* y mae pob addurn yn blentynaidd ac ofer. Y mae *efe* yn pregethu yn arddunawl, *yr hwn* a fo yn arwain bywyd sobr a chyflawn.

5. Rhwng ebieithoedd neu ymadroddion a'r rhelyw o'r froddeg, pan eu harferir o flaen neu rhwng rhanau broddeg unigol, neu ranau a fyddont yn dwyn perthynas gystrawiaethol neu agos â'u gilydd ||—

* Os na fydd y testyn yn hir, nid yw yr adwahannod i'w ddefnyddio; megys, Ofn yr Arglwydd yw dechreuad doethineb.

† Os na fydd ond dau, a'r rhai hyny yn cael eu cyfrwymo yn ddigyfrwng gan *a*, *neu*, neu *ai*, ni ddefnyddir yr adwahannod; megys, *Rhinwedd* a *drygioni* a ffurfiant gyferbyniad amlwg i'w gilydd. Y mae'r hin *yn oer* ac *yn annymunol.*

‡ Os na fydd geiriau yn cyfryngu rhwng rhagenw a'i flaenorydd, ni ddylid arferyd yr adwahannod; megys, "Hunan-ymwadiad yw yr *aberth ag* y rhaid i rinwedd ei wneyd."

|| Os bydd yr ebieithoedd yn bur fyr, nid yw yr adwahannodau bob amser yn cael eu defnyddio; megys "Paul *yr apostol* a bregethodd." Y mae efe *yn gyffredin* yn sâl.

Gobaith, *cysur penaf ein cyflwr anmherffaith*, ni chadwyd oddiwrth y caethwas Rhufeinig. Gwelwyd yn fuan, *wrth chwilio*, fod y clwyf yn angeuol. A hysbyswyd, *credwyf*, y dydd cyn ei farwolaeth. *Pa fodd bynag*, nid oes genych chwi ddim amser i'w golli. Paul, *apostol y cenedloedd*, a bregethodd.

6. Rhwng yr *anerchiad cyfeiriol* a'r rhelyw o'r frawddeg—

*Fy mab*, moes i mi dy galon. Yr wyf dan rwymau i chwi, *fy nghyfeillion*, am eich amrywiol gymwynasau.

7. Lle y bo berf yn ddealledig—

Oddiwrth y gyfraith y deillia diogelwch; oddiwrth ddiogelwch, ymofyngarwch; oddiwrth ymofyngarwch, wybodaeth.

8. Rhwng adroddiad neillduol, megys dyfyniad, neu orchymyn, a'r ymadrodd a'i blaenora—

Y mae yn clwyfo balchder dyn ddywedyd, Nis gwn. Yr wyf yn dywedyd wrth bawb, Gwyliwch.

9. Rhwng ymadroddion gwrthwynebol—

Gwarcheidwaid, nid meddianwyr, yr etifeddiaeth ydynt hwy. Y mae gwir rwyddineb mewn ysgrifenu, yn dyfod oddiwrth gelfyddyd, nid damwain.

10. Rhwng ymadroddion brawddeg wrthdröedig—

Yr hwn sydd wan yn y ffydd, derbyniwch chwi. I gadw yr holl gyfundraeth, rhaid i chwi ddiwygio eich llywodraeth.

11. Rhwng cyfres o aelodau byrion brawddeg gyfansawdd—

Cefnogodd y celfyddydau, diwygiodd y cyfreithiau, amddiffynodd ddysgyblaeth filwraidd, ac ymwelodd â'r holl daleithiau yn bersonol. Dynion cyfrwys a ddiystyrant efrydiaeth, dynion anwybodus a'i mawrygant, a dynion doeth a'i harferant.

GWAHANNOD (;).

Gwahannod a arferir lle y bo angen am hwy gorphwysiad na chydag adwahannod. Fe'i defnyddir

Rhwng dau aelod, pan fyddo yr ail yn gasgliad, cyfladdiad, neu wrthwynebiad; yr hyn a ddynodir yn gyffredin gan y cysylltiaid *ac, ond, eithr, felly, canys, megys**—

* Os bydd yr aelodau yn fyrion, ac heb un adwahannod ynddynt, bydd adwahannod yn gyffredin yn ddigon rhyngddynt, yn ol rheol 1leg berthynol i'r adwahannod. Arferir gwahannod weithiau rhwng aelodau byrion brawddeg pan fyddys eisieu rhoddi hwy gorphwysiad rhyngddynt nag y mae adwa-

Pob un sydd yn gofyn, sydd yn derbyn; *a'r* neb sydd yn ceisio, sydd yn cael; *ac* i'r hwn sydd yn curo, yr agorir. Pob pren da, sydd yn dwyn ffrwythau da; *ond* pob pren drwg, sydd yn dwyn ffrwythau drwg. Fel y mae yr awydd i gymeradwyaeth, pan fydd yn gweithio yn ol rheswm, yn gwella y rhan brydweddol o'n rhywogaeth yn mhob peth canmoladwy; *felly* nid oes dim yn fwy dinystriol iddynt, pan fydd yn cael ei lywodraethu gan wagedd ac oferedd.

GORWAHANNOD (:).

Y mae hwn yn hwy gorphwysiad na gwahannod. Fe'i defnyddir,

1. Rhwng aelodau broddeg nad ydynt yn dwyn perthynas mor agos â'u gilydd a'r rhai a gyfryngir gan wahannodau—

Na wenieithwch wrthych eich hunain gyda'r gobaith am wynfyd perffaith: nid oes y fath beth yn y byd.*

Pan fydd amryw wahannodau wedi rhagflaenu, a gorphwysfa helaethach fyth yn angenrheidiol i'r dyben o nodi yr ystyr cysylltiadol neu derfynol—

Deddfroddwr Dwyfol, yn adrodd ei leferydd o'r nef; llywodraethwr hollalluog, yn estyn allan ei fraich i gospi neu wobrwyo; yn mynegu i ni am orphwysfa ddiddarfod wedi ei darparu ar ol hyn i'r cyfiawn, ac am lid a digofaint yn aros y drygionus: y rhai hyn ydynt yr ystyriaethau sydd yn cadw y byd mewn braw, yn cynal uniondeb, ac yn lluddias troseddau.

3. Rhwng dyfyniad a'r geiriau rhagarweiniol, os na fyddant yn dibynu ar eu gilydd o ran cystrawiaeth—

Y mae yr Ysgrythyrau yn rhoddi i ni ddarluniad hawddgar o Dduw yn y geiriau canlynol: "Duw cariad yw."

DIWEDDNOD (.).

Hwn, y gorphwysiad hwyaf, a arferir

1. Yn niwedd pob broddeg—

hannod yn ei ofyn; megys, Balchder cyfoeth sydd ddielwig; balchder dysgeidiaeth sydd dosturus; balchder urddas sydd ddirmygus; a balchder dallbleidiad sydd anoddefadwy. Neu os bydd cyfres o aelodau yn dylyn eu gilydd, mewn un o ba rai y defnyddir adwahannod, gwell arferyd gwahannod rhyngddynt, pa mor fyr bynag y byddont; megys, Haera athronwyr, bod Natur yn annherfynedig yn ei gweithrediadau; bod ganddi drysorau anhysbyddadwy yn ystôr; y bydd gwybodaeth yn wastad ar gynydd; ac y bydd i'w holl genedlaethau dyfodol barhau i wneyd darganfyddiadau, y rhai nad oes genym ni y delfryd lleiaf amdanynt.

* Pe cydid y ddwy aelod hyn â chysylltiad, arferid gwahannod rhyngddynt; megys, Na wenieithiwch, &c.; *canys* nid oes y fath beth yn y byd.

2. Ar ol geiriau talfyredig; megys, h.y. am *hyny yw;* O.C. am oed Crist; D.S. am *Dalier Sylw.*

### GOFYNNOD (?) A RHYFEDDNOD (!).

Y gofynnod a ddefnyddir ar ol pob holiad uniongyrchol, h.y. a wneir yn ngeiriau ei lefarydd dechreuol; megys, "Beth sydd i ddyfod o'r bachgen, druan?" gwaeddai y dyn.

Anmhriodol arferyd gofynnod, os dyfynir y *sylwedd,* ac nid y *geiriau;* megys, "Gofynodd i mi pa le yr oeddwn yn myned?" Rhaid naill ai dileu y gofynnod, neu ynte ddyfynu yr holiad gwreiddiol; megys, "Gofynodd i mi, 'Pa le yr ydych yn myned?'"

Ar ol gofyniad cyffrous, defnyddir !, ac nid ?.

Arferir gofynnod weithiau rhwng ymsangau ar ol rhyw ddywediad, i ddynodi amheuaeth o'i wirionedd, neu mewn ffordd o wawd; megys, Y mae ef yn ddyn doeth (?).

Y rhyfeddnod a arferir ar ol geiriau ac ymadroddion cynhyrfus, megys o syndod, o lawenydd, o gariad, o ofid, o fraw, neu'r cyffelyb; megys, O, fy anwylyd!

### NODAU EREILL ARFEREDIG MEWN CYFANSODDIAD.

*Ymsangau* ( ) a ddefnyddir i gau i fewn ryw sylw angenrheidiol yn nghorff brawddeg. Arferir adwahannodau yn fynych yn eu lle.

*Cromfachau* [ ] ddefnyddir i gau i fewn eiriau na pherthynant i'r awdwr ei hun.

*Sillgoll* ['] a ddengys fod llythyren neu sill yn eisieu.

*Gwallnod* [‸] mewn ysgrif a ddengys fod y gair uwchben iddo wedi ei adael allan.

*Cysylltnod* [-] a arferir yn niwedd llinell i ddangos bod y rhelyw o'r gair yn nechreu y llinell nesaf. Fe'i harferir hefyd i gyfuno geiriau cyfansawdd.

*Dyfynnodau* [" "] a arferir i ddangos bod y gair neu'r geiriau a amgaeir ganddynt yn eiddo i rywun arall.

*Mynegfys* [☞] a arferir i nodi allan rywbeth hynod.

*Cyplysnod* { a arferir yn fynych mewn barddoniaeth i gydio llinellau yn nghyd. Gweler engraifft o'i ddefnydd hefyd yn tudal. 187.

*Llinell* [—] a arferir rhwng rhaniadau byrbwyll ymadrodd, ac i ddynodi gorphwysiad arwyddocaol. Hefyd, fe'i defnyddir i ddangos bod llythyrenau wedi eu gadael allan o air, neu eiriau o linell.

*Didolnod* [¨] a rana ddeuseiniaid yn ddwysill.

*Seren* [*]- *Bidawg* [†]—*Ber* [‡]—*Dyblin* [‖]—a *Dosbarthnod* [§], gyda mân lythyrenau a ffugyrau, a gyfeiriant at sylwad ar ymyl neu waelod y ddalen.

*Sernodau* [* * *] a ddynodant fod rhan o'r cyfansoddiad wedi ei gadael allan, ar gyfrif ei feithder neu ei anweddeidd-dra.

*Gwahanai* [¶] yn yr ysgrythyrau a arwydda ddechreuad testyn newydd.

### AM Y PRIF LYTHYRENAU.

Dylai pob brawddeg ddechreu â phrif lythyren. Hefyd, enwau priodol, ac atenwau tarddedig ohonynt; pob un o'r enwau dwyfol, a phob teitl; a'r gair cyntaf o bob llinell farddonol, ac ymadrodd dyfynedig. Y cyfraniad O a ddylai bob amser fod yn brif lythyren.

# CYNWYSIAD.

---

## RHAN I.—Llythyraeth.



## RHAN II.—Geirydddiaeth.

## RHAN III.—Cystrawiaeth.



## RHAN IV.—Tonyddiaeth.

# RHESTR

# LYFRAU, PORTREIADAU, A DARLUNIAU

CYHOEDDEDIG AC AR WERTH

# GAN H. HUMPHREYS,

## PRINTER, BOOKSELLER, STATIONER, AND BOOKBINDER,

CASTLE SQUARE, CAERNARVON,

Ac anfonir hwy drwy y *Post* yn DDIDRAUL, ar dderbyniad gwerth yr hyn a fydd eisieu mewn *Post-office Order* neu *Stamps*, cyfeiriedig fel uchod.

Rhoddir Elw da i Ail-werthwyr.

---

**Holl Waith Josephus, yr hyglod Hanesydd Iuddewig**, cyfieithedig o'r Groeg a'r Hebraeg. Yn nghyda Nodau Eglurhaol, Hanesyddol, Bywgraffol, Beirniadol, a Daearyddol; Testynau Cyfeiriol o'r Ysgrythyrau, ac Amseryddiaeth cywir yr amrywiol Hanesion. Hefyd Mynegai cyflawn o'r holl waith. Gan WILLIAM WHISTON, A.M. At yr hyn yr ychwanegir PARHAD O HANES YR IUDDEWON, o amser Josephus hyd y dydd hwn; gan Dr. BRADSHAW a'r Parch. JOHN MILLS, Llundain. Yn addurnedig â lluaws o Gerfiadau prydferth.

**Addysg Chambers i'r Bobl,** (*Chambers's Information for the People,*) yn ddwy Gyfrol, yn cynnwys Traethodau godidog ar wahanol ganghenau Gwybodaeth Gyffredinol. Cyfieithedig gan Eben Fardd; Caledfryn; Parch. O. Jones; Parch. D. Hughes, B.A.; R. J. Prys; Clwydfardd; ac ereill.

**Geiriadur Ysgrythyrol Newydd**, yn cynnwys Sylwadau Eglurhaol ar y Geiriau a'r Enwau, yr Athrawiaethau a'r Dyledswyddau, y Personau a'r Cenhedloedd, y Dinasoedd a'r Gwledydd, y Defodau a'r Arferion, yr Anifeiliaid a'r Adar, y Coed a'r Llysiau, a'r gwahanol bethau ereill a grybwyllir yn yr Ysgrythyrau Santaidd. Gan y Parch. W. DAVIES. Pris 7s. 6c. mewn llian, 9s. mewn lledr, a 10s. 6c. gyda rims a clasp.

## LLYFRAU CREFYDDOL, &c.

Tŷ Tad yr Iesu; neu Olygiadau Ysgrythyrol ar Nef y Nefoedd, tragywyddol gartref plant yr Arglwydd. Gan y duwiolfrydig EDMUNDSON. 2s. 6d. mewn llian hardd.

Traethawd ar Hunan-adnabyddiaeth: gydag Adfyfyriadau a Sylwadau ar y Natur Ddynol. Gan J. MASON, A.C. Pris 1s. 6c.

Cant o Fyfyrdodau; neu Anadliadau Dwyfol Enaid Duwiol yn sychedu am Grist. Gan yr hyglod HOWE; wedi ei gyfieithu gan H. HUMPHREYS. Pris 6c.

Pymtheg-a-deugain o Bregethau, ar amrywiol o faterion pwysig. Gan wahanol Bregethwyr yn Nghyfundeb y Wesleyaid. Pris 10s. 6c.

Hanes Crefydd yn Nghymru, o'r amser y daeth y Cymry i Ynys Prydain, hyd y flwyddyn 1816. Gan y diweddar Barch. D. PETER. Ail Argraffiad. Pris 5s. 6c.

Darlith ar yr Olyniaeth Apostolaidd. Gan y Parch. W. DAVIES. Pris 6c.

**Esboniad tarawgar a chynnwysfawr** ar y TESTAMENT NEWYDD; gan y Parch. JOHN WESLEY. Cyfieithiad newydd, gan y Parch. ROWLAND HUGHES. Mewn plyg bychan, 6 modfedd wrth 4. Cynnwysa yr Adnodau yn gyflawn—mewn llian hardd am 7s. 6c., 9s. mewn lledr, a 10s. 6c. gyda rims a clasp.

Adolygiad ar Draethawd Mr. Eliseus Cole, ar Benarglwyddiaeth: yn nghyda Thraethawd ar Egwyddorion Llywodraeth Foesol. Gan H. HUGHES. Pris 1s.

Traethawd ar yr Ordinhad o Fedydd. Gan y Parch. W. ROBERTS, Clynnog. Pris 1s.

Y Gwyliau; eu Pechadurusrwydd o dan yr Efengyl. Gan y Parch. D. ELIAS, Pentraeth. Pris 2g.

Sylwadau ar y Pechodau o Ieuo yn Anghydmarus â'r digred, a'r arferiad lygredig sydd gan rai ieuengctyd digrefydd yn ein gwlad yn eu rhag-gyfeillach. Gan y Parch. D. ELIAS, Pentraeth. Pris 2g.

Galwad ddeffrous ar Benau Teuluoedd at eu dyledswyddau, yn nghyda Sylwadau ar y Pedwerydd Gorchymyn. Gan y Parch. D. ELIAS. Pris 3c.

Taith Christiana a'i Phlant, o Ddinas Distryw i Deyrnas y Gogoniant. Gan JOHN BUNYAN. Pris 9c.

Taith Mr. Cydwybod Dyner, o Ddinas Distryw o Deyrnas y gogoniant. Gan JOHN BUNYAN, Pris 6c.

Yr Arfaeth Dragywyddol. Gan y Parch. D. ELIAS, Pentraeth, Môn. Pris 1s.

Pregeth ar Esgyniad y Messiah, a'r Adferiad Efengylaidd. Gan y diweddar Barch. CHRISTMAS EVANS. Pris 3c.

Marwolaeth Abel, yn Bum' Llyfr. Gan SOLOMON GESNER, Pris 1s. 6c.

Y Babell a'r Allor; neu Weddïau Teuluaidd am bob Boreu a Phrydnawn yn yr Wythnos, &c. Pris 6c.

Traethawd Rhagorol y Parch. J. GOODWIN, A.C., ar GYFIAWNHAD. Pris 2s.

Allwedd Ddirgel y Nefoedd; sef 20 o Resymau dros Ystafell Weddi. Gan T. BROOKS. Pris 2s.

Cyfeiliornadau a Dichellion Saint y Dyddiau Diweddaf a Lfyfr Mormon yn cael eu dynoethi. Gan y Parch. W. J. MORRISH, Ledbury. Pris 3c.

---

## LLYFRAU ADDYSG, &c.

**Gramadeg Cymreig Ymarferol:** yn cynwys Sylwedd yr holl Ramadegau Cymreig, yn nghyda lluaws o sylwadau gwreiddiol ar Egwyddorion a Theithi yr Iaith, a chyfres o Reolau Newyddion ar Silliadaeth a Chystrawiaeth. Y cwbl wedi eu trefnu ar gynllun newydd a chelfyddgar. Hefyd, Rheolau Barddoniaeth Gymreig. Gan J. MENDUS JONES, Llanidloes. Wedi ei helaethu, ei ddiwygio, a'i olygu yn fanwl gan yr Awdwr. Pris 2s. 6ch., neu 3s. mewn Llian hardd.

**Gramadeg Cymraeg, sef Ieithadur** Athronyddol; yn yr hwn yr amlygir Deddfau yr Iaith Gymraeg, yn nghyda Chyfarwyddiadau helaeth i'w deall, ei hysgrifenu, a'i darllen yn briodol, &c. Hefyd, Rheolau Barddoniaeth a Thraethawd ar Reitheg. Gan H. HUGHES (Tegai). Y trydydd Argraffiad, gyda Diwygiadau. Pris 2s., neu 2s. 6c. mewn llian hardd.

Crynodeb o Ramadeg Cymraeg yn nghyda Chyfarwyddiadau manwl i ddarllen yn briodol. Gan H. HUGHES, (Tegai.) Pris 6c.

Arweiniad bychan i Ramadeg yr Iaith Gymraeg. Pris 2g.

Geiriadur Cymreig a Seisonig, a Chydymaith i'r Ysgol Sabbathawl: Yn amlygu ansawdd a gwraidd y Gymraeg, tarddiad geiriau dyrys, cynulliad o eiriau o gyffelyb sain, a chrynhoad helaeth o eiriau tywyll yr Ysgrythyr, efo eu cyfystyron. Gan J. W. THOMAS (Arfonwyson.) Pris 1s.

Bu ... gyfarwyddyd i Gymro ddysgu Saesoneg; yn yr hwn y rhoddir sain y llythyrenau a'r geiriau Seisoneg mewn llythyrenau Cymreig. At yr hyn yr ychwanegwyd crynodeb o ymddiddanion, llythyrau, cynlluniau dangosiadau am arian, &c., yn y ddwy iaith. Gan BARDD DU MÔN. Pris 1s.

Vocabulary—sef Llyfr o ymddiddanion a brawddegau Cymraeg a Saesoneg. Pris 6c.

Llyfr Llythyrau Cymraeg a Saesoneg; yn cynwys amrywiaeth o Lythyrau Teuluol, Cyfeillgarol, Carwriaethol a Masnachol; hefyd, Nodau Cyfarchiadol, Ffurfiau o Ewyllys, Rhybuddion i ymadael o dir neu dai, Talysgrifau am Arain, Ysgrifau Cyfnewid ac Addawol, &c.; Fees y County Court; a'r Furf o Rybudd cyn rhoddi un yno; Ffurfiau i Gyfarch Personau o Uchafiaeth, &c. Pris 8c.

Y Garddwr Cymreig, neu, pob Dyn yn Arddwr iddo ei hun, er ffurfio, trefnu, gosod allan, a thrin Gardd Lysiau, Gardd Ffrwythau, a Gardd Flodau. Wedi eu casglu yn ofalus, allan o waith Abercrombie, Price, Glenny, &c. Pris 1s.

**Cydymaith y Wraig a'r Forwyn:** sef, LLYFR COGYDDIAETH; yn cynnwys Cyfarwyddiadau llawn i barotoi pob math o Fwydydd yn y modd mwyaf blasus a maethlon: hefyd Bwyd-restrau am bob Mis o'r Flwyddyn; Taflen yn dangos yr Amser a gymer Cigoedd i Rostio; y modd i Biclo a Phreserfio; Hyfforddiadau wrth Brynu i adnabod y Cig, yr Adar, a'r Pysgod goreu; yn nghyda Rheolau eglur at Dori Bwyd, &c., &c. Y cyfan wedi eu dethol o Weithiau Chambers, Soyer, Price, Pullan, Hale, Rundell, a Phen-cogydd y Freemason's Tavern, Llundain. Pris 1s.

**Meddyginiaeth Lysieuol Dr. Coffin.** Pris 4s.

# ELFENAU

# GRAMMADEG

AT WASANAETH

## Ieuenctyd Ysgolion Lleygddol.

GAN

## IOAN LLEWELYN HUW.

Y TRYDYDD ARGRAFFIAD.

LLANDILO:
ARGRAFFWYD GAN D. W. a G. JONES, POST-OFFICE.
1877.

# ELFENAU GRAMMADEG.

## Y WYDDOR.

A, b, c, ch, d, dd, e, f, ff, g, ng, h, i, l, ll, m, n, o, p, ph, r, s, t, th, u, w, y.

Dosbarthir y wyddor i ddau ddosbarth ; sef, llafariaid a chydseiniaid.

Y *llafariaid* ydynt a, e, i, o, u, w, y. Mae pump o'r rhai hyn yn gyfnewidiol ; sef, *a*, *e*, *o*, *w*, *y*. Y rhai sydd heb fod yn cyfnewid yn rheolaidd, fel y pump uchod, yw *i*, *u*. Dyma y cyfnewidiadau :—

*A* yn newid i *ai*, *e*, *ei*, *y* ; megys, d*a*f*a*d, d*e*f*ai*d ; *a*berth, *e*byrth ; c*a*rw, c*ei*rw ; c*a*d*a*rn, c*e*d*y*rn.

*E* yn newid i *i*, *y*; megys, dra*e*n, dra*i*n ; pab*e*ll, peb*y*ll.

*O* yn newid i *y*; megys, p*o*rth, p*y*rth.

*W* yn newid i *o*, *y*; megys, cr*w*n, cr*o*n ; t*w*r, t*y*rau.

*Y* yn newid i *ai*, *e* ; megys t*y*, t*ai*; s*y*ch, s*e*ch.

Y *cydseiniaid* ydynt b, c, ch, d, dd, f, ff, g, ng, h, l, ll, m, n, p, ph, r, s, t, th. Mae naw o'r cydseiniaid hyn yn gyfnewidiol ; sef, *c*, *p*, *t*, *g*, *b*, *d*, *ll*, *m*, *rh*. Dosbarthir y naw cydsain hyn yn dri dosbarth, a thair o honynt yn mhob dosbarth. Y dosbarth cyntaf yw *c*, *p*, *t*; yr ail yw *g*, *b*, *d* ; a'r trydydd yw *ll*, *m*, *rh*. Mae i'r tri dosbarth hyn amryw dreigliadau ; ac y mae deall y treig-

liadau yn wir angenrheidiol er ysgrifenu yr iaith yn rheolaidd. Dyma daflen a ddengys y tri dosbarth hyn a'u treigliadau :

| | GWREIDDIOL. | MEDDAL. | TRWYNOL. | CHWERN. |
|---|---|---|---|---|
| Dos. 1. | *C.* Coron, | dy goron, | fy nghoron, | ei choron. |
| | *P.* Pen, | ben, | mhen, | phen. |
| | *T.* Tad, | dad, | nhad, | thad. |
| Dos. 2. | *G.* Gwas, | was,* | ngwas. | |
| | *B.* Blwch, | flwch, | mlwch. | |
| | *D.* Dafad, | ddafad, | nafad. | |
| Dos. 3. | *Ll.* Llaw, | law. | | |
| | *M.* Mab, | fab. | | |
| | *Rh.* Rhaw, | raw. | | |

Mae y dosbarth blaenaf yn newid i dair o wahanol gydseiniaid; sef, i'r feddal, y drwynol, a'r chwern; yr ail yn newid i ddwy; sef i'r feddal a'r drwynol: a'r trydydd yn newid i un yn unig; sef, i'r feddal. Newidir y llythyrenau gwreiddiol, fel y gwelir uchod, yn ol y geiriau neu y llythyrenau fyddo o'u blaen mewn brawddegau.

* Ni newidir *g* i unrhyw lythyren arall wrth ei threiglo i'r feddal, ond gadewir hi allan, fel y gwelir yn y *wâs* uchod.

———o———

## RHANAU YMADRODD.

Rhanau ymadrodd ydynt Enw, Ansoddair, Rhagenw, Prifair, Cyfair, Bannod, Arddodiad, Cyssylltiad, a Chyfryngiad.

———o———

## ENWAU. *(Nouns.)*

*Enw priodol ;* megys Ioan, Caerdydd, Llanelli.

*Enw cyffredin ;* megys dyn, tref, afon, &c. Nid yw enw cyffredin yn dangos pa ddyn, pa dref, pa afon, fel y gwna enw priodol. Os am wahaniaethu rhyw ddyn yn mhlith dynion ereill, rhaid rhoddi enw priodol iddo ; megys Ioan, Iago, &c. Yr un modd rhaid gwneud gyda threfi a gwrthddrychau ereill.

*Enw cynnulliadol;* megys tyrfa, pobl, llu, cenedl.

*Enw neillduol;* megys cyfiawnder, heddwch, ffydd, gobaith, &c. Nid sylweddau gweledig yw y rhai hyn, ond pethau a ddelir genym yn ein meddyliau.

### Rhif Enwau. (*Number of Nouns.*)

Mae dau rif i enwau; sef, *unig* a *lluosog.* Golyga rhif unig un peth, a lluosog fwy nag un; megys llong, llongau.

Mae tair ffordd i luosogi enwau. Yn gyntaf, drwy *newid y llafariaid;* megys, ff*o*n, ff*y*n.

Gosodir yn awr rês o enwau rhif unig o flaen llygaid yr efrydydd, er iddo eu hysgrifenu ar lech neu bapyr, ac ysgrifenu yr enwau rhif lluosog gyferbyn a'r enwau rhif unig, rhwng cromfachau, a thynu llinell o dan y llythyrenau sydd yn newid, wrth droi pob un o honynt o'r rhif unig i'r rhif lluosog.

| UNIG. | LLUOSOG. | UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|---|---|
| Ff*o*n, | (ff*y*n.) | B*a*rdd, | (B*ei*rdd.) |
| Brân | | Bustach | |
| Carw | | Draen | |
| Tarw | | Cyllell | |
| Gafr | | Ffordd | |
| Arth | | Corph | |
| Dafad | | Castell | |
| Paladr | | Alarch | |
| Tafell | | Astell | |

Troir enwau rhif unig i'r rhif lluosog drwy *ychwanegu sill at derfyniad yr enwau;* megys colomen, colomen*od.*

Gosodir yma rês o enwau rhif unig i'w troi i'r rhif lluosog yn ol y drefn hon o luosogi, a thyner llinell o dan yr hyn sydd yn gwneuthur y gwahaniaeth rhwng y ddau rif.

| UNIG. | LLUOSOG. | UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|---|---|
| Dyn, | (dyn*ion.*) | Torth, | (Torth*au.*) |
| Merch | | Esgid | |
| Pen | | Llw | |
| Gof | | Papyr | |
| Llyfr | | Priodas | |
| Bywyd | | Ych | |
| Llong | | Tân | |

Ffordd arall at droi enwau rhif unig yn lluosog, yw *newid y llafariaid*, ac *ychwanegu sill;* megys b*w*rdd b*y*rdd*au*.

Ysgrifener enwau rhif lluosog rhwng cromfachau, a thyner llinell o dan yr hyn sydd yn gwneud gwahaniaeth rhwng rhif unig a lluosog.

| UNIG. | LLUOSOG. | UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|---|---|
| M*a*b, | (m*ei*b*ion*.) | S*ae*r, | (s*eiri*.) |
| Nant | | Nai | |
| Maes | | Llawr | |
| Gair | | Awr | |
| Llwdn | | Gwas | |
| Bwrdd | | Paun | |

Wrth sylwi ar y rheolau uchod, canfyddir fod yr enwau uchod oll yn cael eu ffurfio yn rhif lluosog o'r rhif unig; ond y mae lluaws o enwau ereill a ffurfir o'r rhif lluosog i'r unig, fel hyn :—

| LLUOSOG. | UNIG. | LLUOSOG. | UNIG. |
|---|---|---|---|
| Gwair, | gweiryn. | Yd, | yden. |
| Plant, | plentyn. | Mês, | mesen. |
| Gwellt, | gwelltyn. | Sêr, | seren. |
| Adar | aderyn. | Plu, | pluen. |
| Mellt, | mellten. | Gwenyn, | gwenynen. |

Sylwer mai *yn* sydd yn cael ei osod at enwau gwrywaidd rhif lluosog er eu troi i fod yn rhif unig, ac *en* at enwau benywaidd.

Mae amryw enwau ereill y rhai a ellir eu troi o rif unig i'r lluosog mewn dwy ffordd, naill ai drwy newid y llafariaid, neu drwy ychwanegu sill; megys,—

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| Aber, | ebyr, neu aberoedd. |
| Astell, | estyll, neu astellod. |
| Alarch, | elyrch, neu alarchod. |
| Pont, | pynt, neu pontydd. |

Cyn gadael hyn, dichon mai gwell crybwyll fod rhai enwau heb luosogiad iddynt; sef, pridd, pres, aur, arian, bara, mêl, ymenyn, llaeth, caledi, tristwch, syched, henaint, &c.

## RHYW ENWAU. *(Gender of Nouns.)*

Mae dau ryw i enwau, sef gwrywaidd a benywaidd; megys, *mab*, *merch*.

Crybwyllir gan rai am genedl *gyffredin*, yn yr hon yr ystyrir gwrthddrychau difywyd; megys, pren, careg, cleddyf, &c. Ond, ymddengys nad yw ein hiaith yn cynnwys yr hyn a gyfatteba i *neuter gender* yr iaith Saesonig, felly ofer yw dylyn y Saeson i ddosbarthu enwau yn dair cenedl. Golygir pob gwrthddrych difywyd yn ein hiaith yn wrywaidd neu fenywaidd: megys, y *pren hwn*, y *gareg hon*, &c. Y mae genym rai enwau yn arwyddo gwryw neu fenyw; megys plentyn, baban; ond ystyrir hwy yn wrywaidd megys, y *plentyn hwn*. Nid priodol yw dywedyd y *b*lentyn *hon* hyd yn nod am *ferch* fechan.

Mae amryw drefniadau er dangos *rhyw* enwau. Gwneir hyn drwy ychwanegu *es* at derfyniad yr enw gwrywaidd; megys, llanc, llanc*es*. Hefyd drwy newid *yn* i *en;* megys, as*yn*, as*en*. Gosoder rhwng cromfachau yr enwau benywaidd sydd yn cyfatteb i'r enwau gwrywaidd canlynol, a thyner llinell o dan yr hyn sydd yn gwneud gwahaniaeth rhwng y ddau ryw.

| GWRYWAIDD. | BENYWAIDD. | GWRYWAIDD. | BENYWAIDD. |
|---|---|---|---|
| Mynach, | (mynach*es*.) | Hogyn, | (hog*en*.) |
| Brenin | | Coegyn | |
| Arglwydd | | Hurtyn | |
| Tywysog | | Asyn | |
| Meistr | | Merlyn | |
| Darlithydd | | Moethyn | |

Hefyd, dangosir *rhyw* enwau drwy *ddefnyddio geiriau gwahanol;* megys, bachgen, *geneth*, brawd, *chwaer*, &c.

Ysgrifener yr enwau benywaidd sydd yn cyfatteb i'r enwau gwrywaidd canlynol :—

| GWRYWAIDD. | BENYWAIDD. | GWRYWAIDD. | BENYWAIDD. |
|---|---|---|---|
| Cefnder, | (cyfnither.) | Ceiliog, | (iar.) |
| Gwr | | Ci | |
| Mab | | Tarw | |
| Carw | | Hwrdd | |
| Ceffyl | | Nai | |
| Gwas | | Chwegrwn | |
| Ewythr | | Taid | |

Mae ffordd arall i ddangos rhyw enwau, sef gosod y gair *benyw* neu *wryw* ar ol enwau, megys colomen *wryw*, colomen *fenyw*.

## ANSODDEIRIAU. *(Adjectives.)*

Ansoddair sydd air yn dangos ansawdd enw. *Dyn, tref, ceffyl,* ydynt enwau, ond nid yw yr enwau syml yna yn dangos pa fath ddyn, pa fath dref, neu pa fath geffyl; rhaid cael gair arall at yr enwau syml yna er dangos pa fath ydynt; megys, dyn *da,* tref *hardd,* ceffyl *cryf.* Pa air bynag a ddefnyddir i ddangos ansawdd enw, mae hwnw yn ansoddair.

Mae i ansoddair ryw, rhif, a graddau cymmharol.

### CENEDL ANSODDEIRIAU.

Mae rhyw *wrywaidd* a *benywaidd* i ansoddeiriau. Ansoddeiriau yw *llwm* a *llom;* ac y mae y blaenaf yn y rhyw wrywaidd, a'r olaf yn y rhyw fenywaidd, megys, *dyn llwm, dynes lom.*

Gwahaniaethir rhyw ansoddair fel y canlyn :—trwy *newid y llafariaid.* Os newidir *w* i *o*, ac *y* i *e*, troir yr ansoddair gwrywaidd i'r benywaidd; megys, tr*w*m, tr*o*m; s*y*ch, s*e*ch.

Hefyd, drwy *newid y cydseiniaid;* megys, *ll*wm, *l*om. Dyn *ll*wm, dynes *l*om*;* dyn *b*yr, dynes *f*er. Gwelir yn *lom* a *fer* fod dau gyfnewidiad wedi cymmeryd lle wrth eu troi o'r rhyw wrywaidd i'r fenywaidd.

Ysgrifener yr ansoddeiriau gwrywaidd canlynol, a throer hwy i'r rhyw fenywaidd, gan dynu llinell o dan y cyfnewidiadau wrth eu troi.

| GWRYWAIDD. | BENYWAIDD. | GWRYWAIDD. | BENYWAIDD. |
|---|---|---|---|
| Br*w*nt, | *(f*ront.*)* | Sych, | (s*e*ch.) |
| Crwn | | Tlws | |
| Gwlyb | | Trwm | |
| Llyfn | | Brych | |
| Llwm | | Tyn | |
| Llym | | Syth | |
| Gwyn | | Gwyrdd | |

Mae rhai ansoddeiriau nad ydynt yn cynnwys y llafariaid *w, y,* i'w newid yn rheolaidd fel y mae y

geiriau uchod; na chwaith yn dechreu gyd ag un o'r cydseiniaid cyfnewidiol; megys, *hawddgar*, *hael*, *hagr*, *segur*, *&c.* Mae yr ansoddeiriau hyn yn briodol i'r naill ryw fel y llall, megys, *dyn* hael, *dynes* hael; *mab* hawddgar, *merch* hawddgar; *tad* segur, *mam* segur; *gwr* hagr, *gwraig* hagr.

## Rhif Ansoddeiriau.

Mae dau rif i ansoddair, sef rhif *unig* a *lluosog;* megys, *balch*, *beilchion.*

Mae lluaws o ansoddeiriau yn ein hiaith nad oes lluosogiad iddynt, felly defnyddir hwy yn y rhif unig pan fyddo yr enwau cyssylltiedig â hwy yn y rhif lluosog; megys, dynion *glân*, merched *teg*, plant *da*, pinaclau *uchel*, ffyrdd *isel.* Ond mae yn ein hiaith ansoddeiriau a lluosogiad iddynt, y rhai a gyttunant âg enwau rhif lluosog; megys, *dynion gweiniaid*, *dynion cryfion.*

Mae tair ffordd i luosogi ansoddeiriau. 1—Trwy newid y llafariaid; megys, c*a*d*a*rn, c*e*d*y*rn. 2—Trwy newid y llafariaid, ac ychwanegu at y terfyniad; megys, gw*a*n, gw*einiaid.* 3—Trwy ychwanegu at y terfyniad yn unig; megys, mawr, mawr*ion.*

Rhoddir o flaen yr efrydydd rês o ansoddeiriau rhif unig, gan ddysgwyl iddo eu troi i'r rhif lluosog, a thynu llinell o dan y cyfnewidiadau a gymmer le wrth iddo eu troi felly.

| UNIG. | LLUOSOG. | UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|---|---|
| Marw, | (m*ei*rw*on*.) | Hardd, | (h*ei*rdd.) |
| Balch | | Arall | |
| Cadarn | | Gwag | |
| Gwyn | | Ieuanc | |
| Garw | | Llydan | |
| Bychan | | Trwm | |
| Truan | | Llaes | |
| Main | | Glas | |
| Gwlyb | | Tlawd | |

*On* yw y terfyniad a osodir at ansoddeiriau yn diweddu gyda llafariad, a *ion* at ansoddeiriau yn diweddu gyda chydseiniaid; megys, marw, meirw*on;* blin, blin*ion.*

## Graddau Ansoddeiriau.

Mae pedair gradd i ansoddair, sef gradd *gyssefin, gyfartal, uch, uchaf*; megys, *melus, melused, melusach, melusaf.* Mae y radd gyssefin yn golygu yr ansoddair yn ei ffurf wreiddiol a syml, heb derfyniad iddo, i'r amcan o ddynodi cymmhariad gradd; megys, *melus.*

Y radd gyfartal a ddynoda gyfartaledd; megys, *melused.* Gwelir fod y radd hon yn cael ei dangos drwy osod *ed* at derfyniad yr ansoddair yn ei ffurf gyssefin. Hefyd, dangosir y radd hon drwy osod *mor* o flaen yr ansoddair, fel hyn:—*mor felus.* Ceir y radd hon hefyd yn y ffurf ganlynol:—*cyhyd, cyfuwch, cystal, cynddrwg, &c.*

Golyga uchradd radd fwy na'r graddau blaenorol, a dangosir hon drwy osod *ach* at derfyniad yr ansoddair yn y radd gyssefin; megys, melus*ach*; neu drwy osod *mwy* neu *llai* o flaen yr ansoddair, fel hyn:—*mwy* gweithgar, *llai* gweithgar.

Uchafradd yw y radd fwyaf mewn cyflwr neu ansawdd. Dangosir yr ansoddair yn y radd hon drwy osod *af* yn derfyniad i'r ansoddair yn y radd gyssefin; megys, melus*af.* Neu osod *mwyaf* neu *lleiaf* o flaen yr ansoddair, fel hyn:—*mwyaf* gweithgar, *lleiaf* gweithgar. Sylwer ar y daflen ganlynol:—

| GRADD GYSSEFIN. | GRADD GYFARTAL. | UCHRADD. | UCHAFRADD. |
|---|---|---|---|
| Pell, | (pell*ed*,) | (pell*ach*,) | (pell*af*.) |
| Aflan | | | |
| Glan | | | |
| Cas | | | |
| Ffol | | | |
| Llon | | | |
| Mwyn | | | |
| Rhyfelgar | | | |

Gosoder y geiriau canlynol yn eu lleoedd priodol rhwng cromfachau, a thyner llinell o dan y llythyrenau sydd yn gwneud gwahaniaeth rhwng pob un o'r graddau; casaf, cased, casach; ffoled, ffolaf, ffolach; lloned, llonaf, llonach; mwyned, mwynaf, mwynach; mwy rhyfelgar, mor rhyfelgar, mwyaf rhyfelgar.

Nid yw yr holl ansoddeiriau i'w cymmharu yn ol y drefn uchod. Yn ol y dull canlynol y cymmharir *da, drwg, hir, mawr, bach,* neu, *bychan, hen, agos, uchel.*

| CYSSEFIN. | CYFARTAL. | UCH. | UCHAF. |
|---|---|---|---|
| Da, | mor dda, däed, | gwell, | goreu. |
| Drwg, | cynddrwg, mor ddrwg, | gwaeth, | gwaethaf. |
| Hir, | cyhyd, mor hir, | hwy, | hwyaf. |
| Mawr, | mor fawr, | mwy, | mwyaf. |
| Bach, | mor fach, | llai, | lleiaf. |
| Hen, | mor hen, | hŷn, hynach, | hynaf. |

Cyn gadael hyn, sylwer fod *g*, *b*, *d*, pan yn llythyrenau olaf mewn ansoddeiriau, megys te*g*, gwly*b*, rha*d*, yn newid i *c*, *p*, *t*, yn y tair gradd olaf, fel hyn :—te*g*, te*c*ed, te*c*ach, te*c*af; gwly*b*, gwly*p*ed, gwly*p*ach, gwly*p*af; rha*d*, rha*t*ed, rha*t*ach, rha*t*af.

—o—

## RHAGENWAU. *(Pronouns.)*

Gair yn cael ei ddefnyddio yn lle enw yw rhagenw; megys, "Ioan yw yr ennillwr, felly *efe* a dderbyn y wobr." Mae *efe*, yn y frawddeg yna, yn rhagenw, yn cael ei ddefnyddio yn lle yr enw Ioan.

Ysgrifener y brawddegau canlynol, a thyner llinell o dan y rhagenwau.

Efe a ddywedodd wrthyt. A phan welodd efe y torfeydd. Ac wedi galw ei ddeuddeg dysgybl. Yn wir meddaf i chwi. Dychweled eich tangnefedd arnoch. Tylwyth ei dy ei hun. Nid yw deilwng o honof fi. Mae hi yn dysgu yn dda. Ti a ddywedaist y gwir. Hwy a gyflawnasant eu dyledswyddau. Mi a lawenychaf yn yr Arglwydd. Ac a'i gollyngodd ef.

### RHAGENWAU PERSONOL.

Mae dau rif i ragenwau personol, sef unig a lluosog; megys, *mi, ni,* a *ti, chwi.* Rhif unig yw *mi,* a *ti,* a lluosog, yw *ni,* a *chwi.* Mae i'r ddau rif hyn dri pherson, sef, cyntaf, ail, a thrydydd; megys, *mi, ti, ef,* unig; a *ni, chwi, hwy,* lluosog. Dyma daflen o ragenwau personol :—

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| Per. 1. Mi, myfi, minnau, myfinnau | 1. Ni, nyni, ninnau, nyninnau |
| Per. 2. Ti, tydi, tithau. | 2. Chwi, chwithau, chwychwi, |
| Per. 3. E, ef, fe, fo, o, efe, yntau | 3. Hwynt, hwy, hwythau, hwynt-hwythau. |

*Benyw*,—Hi, hyhi, hithau, hyhithau.

Ysgrifener y brawddegau canlynol, a thyner un linell o dan y rhagenwau rhif unig, a dwy linell o dan y rhai lluosog.

Dyro hwn i mi. Chwithau oeddych yno. Myfi a ddaethum. Minnau os dyrchefir fi. Ti a wnaethost yn dda. Dylyn di y cyfeillion. Chwi a wnaethoch hyn. Hwy a aethant yn drist iawn. Onid yw eich athraw chwi yn talu teyrnged. Chwithau hefyd a lefarasoch yr un pethau. Chwychwi yw fy nysgyblion. Efe a lefodd. Yntau a'u gwadodd hwythau. Hithau hefyd a aeth yno.

## Rhagenwau Dangosol.

Rhagenwau o'r dosbarth hwn a wasanaethant er dangos personau a gwrthddrychau; megys, y dyn *hwn*; y gareg *hon*. Mae dau ryw i ragenwau dangosol; sef, gwrywaidd a benywaidd. Dywedir, gan rai, fod tair cenedl i ragenwau dangosol; sef, gwryw, benyw, a chyffredin; megys *hwn*, *hon*, *hyn*. Ond, dywedir gan amryw o rammadegwyr y dyddiau presennol, mai rhif lluosog o *hwn* yw *hyn*; megys, *y dyn hwn*, *y dynion hyn*. Gwelir y ddwy genedl wrth sylwi ar yr hyn a ganlyn :—

| | UNIG. | | | LLUOSOG. |
|---|---|---|---|---|
| *Gwryw*,— | Hwn, | *Benyw*,— | hon, | hyn,* |
| ,, | Hwna, | ,, | hona, | hyna, |
| ,, | Hwnw, | ,, | hono, | hyny. |

Pan yn gosod rhagenwau dangosol mewn brawddegau i ddylyn sylweddeiriau, gosodir bannod i'w blaenori, fel hyn :—

| | |
|---|---|
| Y dyn hwn, | Y dynion hyn, |
| Y ddynes hon, | Y gwragedd hyn, |
| Y dyn yna, | Y dynion yna, |
| Y dyn acw, | Y dynion acw, |
| Y dyn hwnw, | Y dynion hyny. |

*Mae *hyn* yn unig gystal a lluosog, megys, "y digofaint mawr hyn."

## Rhagenwau Perthynol.

Mae bannod *y* neu *yr* o flaen rhagenwau perthynol mewn ymadrodd, pan yn cyfeirio at berson neu bersonau, gwrthddrych neu wrthddrychau; megys, "Hwn yw *y* swyddog *yr hwn* y chwiliwyd cymmaint am dano."

Dyma luaws o ragenwau perthynol:—

| | | |
|---|---|---|
| Yr hwn, | Y rhai hyn, | Y naill, |
| Yr hon, | Y rhai yna, | Y llall, |
| Y sawl, | Y rhai hynyna, | Y rhai hyny, |
| Y neb, | Yr un, | Y lleill. |

Ni ddodir bannod o flaen y rhagenwau hyn:—*pa un*, *pa rai*, *pa bynag*, *pwy bynag*.

## Rhagenwau Meddiannol.

Mae y dosbarth hwn o ragenwau yn golygu meddiant; ac y mae iddynt ryw, rhif, a pherson.

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| Per. 1. Fy, ym, mau,* eiddof. | 1. Ein, eiddym, eiddom. |
| Per. 2. Dy, yth, eith, tau* eiddot | 2. Eich, ych, eiddoch, eiddych |
| Per. 3. Ei, eiddo; *benyw*, eiddi. | 3. Eu, eiddynt. |

Talfyrir *ym yth ei ein eich eu* pan y byddant yn dylyn *a o i y pe ni fe tua gyda na;* a phan y byddant yn dylyn rhai geiriau ereill yn diweddu gyda llafariaid.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Yn lle | *ym* | ysgrifener | '*m*—Myfi a'm tylwyth. |
| ,, | *yth* | etto | '*th*—Ti a'th frawd. |
| ,, | *ei* | etto | '*i*—Efe a'i blant. |
| ,, | *ein* | etto | '*n*—Nyni a'n tylwyth. |
| ,, | *eich* | etto | '*ch*—Chwi a'ch tylwyth. |
| ,, | *eu* | etto | '*u*—Hwy a'u plant. |

Pan fydd *ei*, unig, ac *eu*, lluosog, yn cael eu blaenori gan *i*, maent yn newid i *w;* megys, "Efe a aeth *i'w* wlad," ac nid *i ei* wlad; "Hwy a aethant *i'w* gwlad," ac nid *i eu* gwlad.

Ysgrifener y brawddegau canlynol, a thyner llinell o dan y rhagenwau meddiannol.

Fy Arglwydd a'm Duw. Ein brawd a'n chwaer. Gosod hwn ar dy fwrdd. Y llyfr hwn o'r eiddof. Eich ceffyl chwi yw hwn. Eiddom ni y tai a'r tiroedd. Eu brawd sydd yn

* Defnyddir *mau* a *tau* mewn barddoniaeth, ond anfynych iawn y defnyddir hwy mewn rhyddiaith.

byw yn agos i'n ty ni. Yr eiddynt hwy a'r eiddom ninnau. Arglwydd mau. Tad tau. Fy nhad. Dy dad.

Ysgrifener y brawddegau uchod eilwaith, a thyner *un* linell o dan y person cyntaf, *dwy* o dan yr ail berson, a *thair* o dan y trydydd.

## Rhagenwau Ymofynol.

Defnyddir y rhai hyn i ffurfio gofyniadau. *Pwy* a *pa* ydynt y rhagenwau ymofynol. *Pa*, o flaen enwau, ac nid *pwy*. Ni ddylid cyssylltu *pwy* âg enw. Lle priodol *pwy* yw o flaen prifeiriau; megys, *Pwy* gyflawnodd hyn? *Pa ddyn, pa dref, pa wlad*, ac nid *pwy ddyn, pwy dref, pwy wlad.*

## Rhagenwau Ammhennodol.

Dyma luaws o'r dosbarth hwn. Ambell, arall, llall, naill, neb, pob, rhyw, rhywun, unrhyw, cyfryw, peth, ereill, oll, holl, pawb, rhai, dim, llawer, pobrhai, rhywrai, amryw.

Ysgrifener y brawddegau hyn, a thyner un linell o dan y rhagenwau ymofynol, a dwy linell o dan y rhagenwau ammhennodol.

Pa deyrnas dan haul fel Prydain? Gall unrhyw ddyn wneud fel y gwnaeth Dafydd. Gall y naill neu y llall o honynt fyned yno. Ambell un da a geir yn eu plith. Dychwelasant oll o'r farchnad yn llawen. Ereill a lafuriasant, ninnau aethom i mewn i'w llafur hwynt. Llawer a welant y rhyfeddodau hyny. Pwy wnaeth hyn? Pa ddyn a all ddannod iddo?

—o—

## BANNODAU. *(Articles.)*

Y bannodau ydynt *y* ac *yr*. Gwasanaetha bannod i nodi un person neu wrthddrych yn mhlith personau neu wrthddrychau ereill; megys, *y* dyn, neu *y* llong. Mae *y dyn*, neu *y llong*, yn golygu rhyw un dyn neillduol, a rhyw long neillduol yn mhlith y lluaws. Defnyddir bannod *y* o flaen cydsain; megys, *y dyn;* ac *yr* o flaen llafariaid, ac hefyd o flaen y gydsain *h;* megys, *yr A*rglwydd, *yr h*aul. Gellir talfyru *yr* i *'r*, o

flaen llafariaid neu gydseiniaid, os bydd y gair o'i flaen yn diweddu gyda llafariad; megys, y tad *a'r* *m*ab; coll*i'r* *e*naint.

Ysgrifener y bannodau priodol rhwng y cromfachau canlynol:—

( ) hael. ( ) weddw dlawd. ( ) dyn dall. ( ) haul. ( ) lleuad. ( ) ychain. ( ) ddinas. ( ) amaethwr. ( ) peiriant. Tori ( ) blwch, a cholli ( ) enaint. Tori ( ) ammod a wnaed. Maent yn hollti ( ) blewyn. Torodd ( ) rhaf. Aeth i ( ) Wyddgrug.

——o——

## CYSSYLLTIAID. *(Conjunctions.)*

Cyssylltiaid sydd eiriau yn cyssylltu geiriau a brawddegau â'u gilydd. Dosbarthir y rhai hyn yn ddau ddosbarth; sef, cyssylltiaid *cydiadol* a *gwahaniaethol.* *A*, *ac*, *ond*, ydynt gyssylltiaid; y ddau flaenaf o'r tri yn gydiadol, a'r olaf yn wahaniaethol. Dyma engraifft o'r naill a'r llall; tad *a* mab; aur *ac* arian; "Canys yr Arglwydd a edwyn ffordd y rhai cyfiawn, *ond* ffordd yr annuwiolion a ddifethir." Mae yr *a* uchod yn cyssylltu *tad* a *mab;* ac y mae *ac* yn cyssylltu *aur* ac *arian.* Mae y gair *ond* yn cyssylltu ac yn gwahaniaethu hefyd yn ogystal.

O flaen cydsain y gosodir *a*, ac *ac* o flaen llafariad; megys tad *a m*ab, aur *ac* arian. Ond o flaen rhai geiriau yn dechreu gyda *f h m n*, dewisir *ac*, *nac*, *&c.*, yn lle *a*, *na*, a'r cyffelyb; megys, ac *fe* ddaw, ac *h*efyd, ac *m*egys, ac *n*id, ac *f*el, ac *mi*, ac *ni*, ac *na*.

Y prif gyssylltiaid ydynt—a, ac, etto, hefyd, am,* o herwydd, o blegyd, o achos,† gan, o, od, os, pe, ped, pes, megys, mal, fel, felly, sef, am hyny, ai, neu, na, nac, ynte, chwaith, ond, namyn, oddigerth, eithr, oddieithr.

---

*Mae *am* mewn rhai cyssylltiadau yn arddodyn, ac mewn cyssylltiadau ereill yn gyfair; megys, gwisg *am* dano; y bachgen *am* fyned.

†Mae *achos* weithiau yn enw; megys, *achos* teilwng: *achos* crefydd.

Ysgrifener y llinellau canlynol, a thyner un linell o dan y cyssylltiaid priodol sydd ynddynt, a thyner dwy linell o dan y rhai ammhriodol.

Dwfr a thân. Mellt a tharanau. A megys y gosodwyd i ddynion farw unwaith. A na chymmer ormod o ryddid. Torodd i fewn, a hefyd cymmerodd yr arian. Aur ac arian. A fel y bu yn nyddiau Noë. Mae Ioan yn dalach na ef. Ac fel yr oedd hi yn wylo. Tad ac mab. Brawd a chwaer. A ni chafwyd ei well yn y wlad.

Wedi tynu llinellau o dan y cysylltiaid uchod, tyner ymaith y rhai annghywir, a rhodder rhai cywir yn eu lle.

—o—

## PRIFEIRIAU. *(Verbs.)*

Mae prifair yn golygu bodolaeth, cyflwr, sefyllfa, goddefiad, gweithrediad, symmudiad pob bod a phob peth.

Mae *cerdded, eistedd, sefyll, cysgu, meddwl, canu, llefaru, gorphwys, myfyrio, &c.*, oll yn brifeiriau.

Ysgrifener y brawddegau canlynol, a thyner llinell o dan y prifeiriau sydd ynddynt.

Pryn y gwir. Gosod dy galon ar addysg. Y mae llew ar y ffordd, medd y diog. Llid y brenin sydd megys rhuad llew ieuanc. Pwy a ddichon ddywedyd. Mi a lanheais fy nghalon, glân wyf. Ffynnon y bywyd yw deall i'w pherchenog. Y neb a lafurio ei dir a ddigonir o fara. Bendithion fydd ar ben y cyfiawn. Dyro addysg i'r doeth, ac efe fydd ddoethach. Cymmerwyd ef i fyny. Dos, a gweithia un awr yn y winllan. Daeth yr awr.

Y mae tri math o brifeiriau; sef *gweithredol, goddefol, a chanolaidd.*

Prifair *gweithredol*, megys, "Y mae Arthur yn *taro* yr *haiarn*." Prifair *goddefol;* megys, "Yr *haiarn* a *darewir*." Prifair *canolaidd;* megys, *ymolchaf.*

Gwelir yn yr engraifft flaenaf o'r tair uchod, weithred yn dyfod oddiwrth weithredydd at wrthddrych; yn yr ail, dderbyniad gweithred; ac yn yr olaf, weithred yn cael ei chyflawni gan y gweithredydd arno ef ei hun.

Perthyna i brifair berson, rhif, modd, ac amser.

PERSON.—Perthyna i brifair dri o bersonau; sef, cyntaf, ail, a thrydydd.

RHIF.—Mae i brifair ddau rif; sef, unig a lluosog.

MODD.—Mae amryw foddau yn perthyn i brifair.

Modd *mynegol;* drwy yr hwn y mynegir unrhyw beth; megys, "*Y mae Ioan yn ysgrifenu.*"

Modd *gorchymynol;* drwy yr hwn y gorchymynir unrhyw beth; megys, "*Ysgrifena y llythyr.*"

Modd *galluogol;* yr hwn sydd yn amlygu grym, gallu, rhyddid, neu ewyllys; megys, "*Gallaf ysgrifenu.*" Dangosir y modd hwn drwy gynnorthwy prifeiriau* cynnorthwyol.

Modd *dymuniadol;* yr hwn a ddynoda ddymuniad o unrhyw beth; megys, "*O! na chawn ei weled unwaith etto.*"

Modd *ammodol* a ddynoda unrhyw beth dan ammod; megys, "*Os adroddi bennodau, ti a dderbyni y wobr.*"

Modd *annherfynol.* Wrth hwn y golygir y prifair yn sefyll yn ei ffurf symlaf, heb awdurdod arno gan unrhyw berson; megys, *parchu, talu, dysgu.*

---

*Prifair *cynnorthwyol* sydd brifair a unir â phrifair arall er cynnorthwyo i ddangos gwahaniaeth mewn *modd* ac *amser;* megys, *gallaf* ddysgu, *gallaswn* ddysgu. Yn yr engreifftiau hyn, *gallaf* a *gallaswn* yw y prifeiriau cynnorthwyol, wedi eu huno â'r prifair *dysgu.* Mae *bod, darfod, cael, gwneud, gallu, medru, dylwn, dichon, rhaid, mynu,* yn cynnorthwyo mewn gwahanol gyssylltiadau.

AMSER.—Mae yn perthyn i brifair dri amser; sef, amser presennol, gorphenol, a dyfodol. At y tri hyn, ychwanegir tri amser arall; sef, amser anorphenol, tragorphenol, ac ailddyfodol; ond y mae y tri olaf hyn yn y naill neu y llall o'r tri blaenaf.

Yn awr gosodir o flaen yr efrydydd rai prifeiriau yn eu treigliadau, drwy yr amrywiol bersonau, rhifau, moddau, ac amserau. Dechreuaf gyda y prifair *bod*.

## *Prifair* BOD.—MODD MYNEGOL.

*Amser Presennol.*

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| 1. Wyf, ydwyf. | 1. Ym, ydym. |
| 2. Wyt, ydwyt. | 2. Ych, ydych. |
| 3. Yw, ydyw. | 3. Ynt, ydynt. |

*Amser Gorphenol.*

| | |
|---|---|
| 1. Bum. | 1. Buom. |
| 2. Buost. | 2. Buoch. |
| 3. Bu. | 3. Buont. |

*Amser Dyfodol.*

| | |
|---|---|
| 1. Byddaf. | 1. Byddwn. |
| 2. Byddi. | 2. Byddwch. |
| 3. Bydd. | 3. Byddant. |

*Amser Anorphenol.*

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| 1. Byddwn, oeddwn. | 1. Byddem, oeddem. |
| 2. Byddit, oeddit. | 2. Byddech. oeddech. |
| 3. Byddai, oedd. | 3. Byddent, oeddent. |

*Amser Tragorphenol.*

| | |
|---|---|
| 1. Buaswn. | 1. Buasem. |
| 2. Buasit. | 2. Buasech. |
| 3. Buasai. | 3. Buasent. |

*Amser Ailddyfodol.*

| | |
|---|---|
| 1. Byddof. | 1. Byddom. |
| 2. Byddot. | 2. Byddoch. |
| 3. Byddo. | 3. Byddont. |

## MODD GORCHYMYNOL.

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| 1. | 1. Byddwn. |
| 2. Bydd. | 2. Byddwch. |
| 3. Bydded. | 3. Byddant. |

## MODD ANNHERFYNOL.

| *Presennol.* | *Gorphenol.* | *Dyfodol.* |
|---|---|---|
| Bod. | Wedi bod. | I fod. |

## *Treigliad y Prifair Gweithredol* DYSGU—MODD MYNEGOL

| *Amser Presennol.* | | *Amser Anorphenol.* | |
|---|---|---|---|
| UNIG. | LLUOSOG. | UNIG. | LLUOSOG. |
| 1. Dysgaf.* | 1. Dysgwn. | 1. Dysgwn. | 1. Dysgem. |
| 2. Dysgi. | 2. Dysgwch. | 2. Dysgit. | 2. Dysgech. |
| 3. Dysg, dysga | 3. Dysgant. | 3. Dysgai. | 3. Dysgent. |
| *Amser Gorphenol.* | | *Amser Tragorphenol.* | |
| 1. Dysgais. | 1. Dysgasom. | 1. Dysgaswn. | 1. Dysgasem. |
| 2. Dysgaist. | 2. Dysgasoch. | 2. Dysgasit. | 2. Dysgasech. |
| 3. Dysgodd. | 3. Dysgasant. | 3. Dysgasai. | 3. Dysgasent. |
| *Amser Dyfodol.* | | *Amser Ailddyfodol.* | |
| 1. Dysgaf. | 1. Dysgwn. | 1. Dysgof. | 1. Dysgom. |
| 2. Dysgi. | 2. Dysgwch. | 2. Dysgych, Dysgot. | 2. Dysgoch |
| 3. Dysga, dysgo. | 3. Dysgant. | 3. Dysgo. | 3. Dysgont. |

*Treiglir y prifair hwn yn yr *amser* uchod mewn dulliau ereill; megys,—

| UNIG, | LLUOSOG. | | UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|---|---|---|
| 1. Dysgwyf. | 1. Dysgym. | neu, | 1. Wyf yn dysgu. | 1. Ym yn dysgu. |
| 2. Dysgwyt. | 2. Dysgych. | ,, | 2. Wyt yn dysgu. | 2. Ych yn dysgu. |
| 3. Dysgyw. | 3. Dysgynt. | ,, | 3. Mae yn dysgu. | 3. Maent yn dysgu. |

### MODD GORCHYMYNOL.

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| 1. | 1. Dysgwn. |
| 2. Dysga. | 2. Dysgwch. |
| 3. Dysged. | 3. Dysgant. |

### MODD ANNHERFYNOL.

| *Presennol.* | *Gorphenol.* | *Dyfodol.* |
|---|---|---|
| Dysgu. | Wedi dysgu. | I ddysgu. |

## *Treigliad y Prifair Goddefol.*—MODD MYNEGOL.

| | *Amser Presennol.* | | *Amser Anorphenol.* | |
|---|---|---|---|---|
| | UNIG. | LLUOSOG. | UNIG. | LLUOSOG. |
| Yr ydys yn | 1. Fy nysgu. | 1. Ein dysgu. | 1. Dysgid fi. | 1. Dysgid ni. |
| | 2. Dy ddysgu. | 2. Eich dysgu | 2. Dysgid di. | 2. Dysgid chwi. |
| | 3. Ei ddysgu. | 3. Eu dysgu. | 3. Dysgid ef. | 3. Dysgid hwy. |

| *Amser Gorphenol.* | | *Amser Tragorphenol.* | |
|---|---|---|---|
| 1. Dysgwyd fi. | 1. Dysgwyd ni. | 1. Dysgasid fi. | 1. Dysgasid ni. |
| 2. Dysgwyd di. | 2. Dysgwyd chwi | 2. Dysgasid di. | 2. Dysgasid chwi. |
| 3. Dysgwyd ef. | 3. Dysgwyd hwy. | 3. Dysgasid ef. | 3. Dysgasid hwy. |

*Amser Dyfodol.*

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| 1. Dysgir fi. | 1. Dysgir ni. |
| 2. Dysgir di. | 2. Dysgir chwi. |
| 3. Dysgir ef. | 3. Dysgir hwynt. |

*Amser Ailddyfodol.*

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| 1. Byddaf wedi fy nysgu. | 1. Byddwn wedi ein dysgu. |
| 2. Byddi wedi dy ddysgu. | 2. Byddwch wedi eich dysgu. |
| 3. Bydd wedi ei ddysgu. | 3. Byddant wedi eu dysgu. |

## Modd Gorchymynol.

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| 1. Dysger fi. | 1. Dysger ni. |
| 2. Dysger di. | 2. Dysger chwi. |
| 3. Dysger ef. | 3. Dysger hwynt. |

Gellir cymmeryd lluaws o brifeiriau, megys, *barnu, parchu, caru, &c.,* a'u treiglo fel y gwnaed uchod â'r prifair *dysgu.*

*Modd galluogol.* Er dangos y modd hwn, rhaid wrth rhyw brifeiriau ereill; megys, *gallaf, medraf, &c. Gallaf* ddysgu, *gelli* ddysgu, *gall* ddysgu, *gallwn* ddysgu, *gallwch* ddysgu, *gallant* ddysgu, &c. Prifair *goddefol,* etto; *gellir* fy nysgu, *gellir* dy ddysgu, *gellir* ei ddysgu, *gellir* ein dysgu, &c.

*Modd dymuniadol.* Rhaid cael geiriau ereill at gynnorthwyo y modd hwn etto. Cynnorthwyir hwn gan *O na, O nad,* ac *O nas.*

*Modd ammodol.* Mae y modd hwn hefyd i'w gynnorthwyo gan *O, od, os, pe, ped, pes.*

Gellir myned drwy yr amrywiol dreigliadau gyda y moddau hyn yr un fath a'r modd mynegol, ond defnyddio y cynnorthwyolion uchod o flaen y prifeiriau.

Yn awr yr ydys am i'r efrydydd gymmeryd y prifeiriau *parchu, caru, barnu,* a'u treiglo drwy y personau, rhifau, ac amserau canlynol, yn y modd mynegol a'r modd gorchymynol.

## Modd Mynegol.

*Amser Presennol.*

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| 1. ......af.* | 1. ......wn. |
| 2. ......i. | 2. ......wch. |
| 3. ......a. | 3. ......ant. |

*Amser Gorphenol.*

| | |
|---|---|
| 1. ......ais. | 1. ......asom. |
| 2. ......aist. | 2. ......asoch. |
| 3. ......odd. | 3. ......asant. |

*Amser Dyfodol.*

| | |
|---|---|
| 1. ......af. | 1. ......wn. |
| 2. ......i. | 2. ......wch. |
| 3. ......a. | 3. ......ant. |

*Amser Anorphenol.*

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| 1. ......wn. | 1. ......em. |
| 2. ......it. | 2. ......ech. |
| 3. ......ai. | 3. ......ent. |

*Amser Tragorphenol.*

| | |
|---|---|
| 1. ......aswn. | 1. ......asem. |
| 2. ......asit. | 2. ......asech. |
| 3. ......asai. | 3. ......asent. |

*Amser Ailddyfodol.*

| | |
|---|---|
| 1. ......wyf, af. | 1. ......om. |
| 2. ......ych, ech, ot. | 2. ......och. |
| 3. ......o. | 3. ......ont. |

## Modd Gorchymynol.

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| 1. | 1. ....wn. |
| 2. ....a. | 2. ....wch. |
| 3. ....ed. | 3. ....ant, ont, ent. |

## *Treigliad y Prifair* Myned—Modd Mynegol.

*Amser Presennol.*

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| 1. Elwyf.† | 1. Elym. |
| 2. Elwyt. | 2. Elych. |
| 3. Elyw. | 3. Elynt. |

*Amser Gorphenol.*

| | |
|---|---|
| 1. Aethym, elais. | 1. Aethom, elsom. |
| 2. Aethost, elaist. | 2. Aethoch, elsoch. |
| 3. Aeth, elodd. | 3. Aethant, elsant. |

*Amser Dyfodol.*

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| 1. Af, elaf | 1. Awn, elwn. |
| 2. Ai, ei, eli. | 2. Ewch, elwch. |
| 3. A, el, ela. | 3. Ant, elant. |

*Amser Anorphenol.*

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| 1. Awn, elwn. | 1. Aem, elem. |
| 2. Ait, elit. | 2. Aech, elech. |
| 3. Ai, elai. | 3. Aent, elent. |

*Amser Tragorphenol.*

| | |
|---|---|
| 1. Aethwn, elswn. | 1. Aethem. elsem. |
| 2. Aethit, elsit. | 2. Aethech, elsech. |
| 3. Aethai, elsai. | 3. Aethent, elsent. |

*Amser Ailddyfodol.*

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| 1. Aof, elof. | 1. Aom, elom. |
| 2. Aot, elot. | 2. Aoch, eloch. |
| 3. Ao, elo. | 3. Aont, elont. |

---

*Neu *wyf*, *wyt*, *yw*, *ym*, *ych*, *ynt*.

†Neu fel hyn :—Wyf yn myned, Wyt yn myned, &c.

### Modd Gorchymynol.

| UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|
| 1. | 1. Awn, elwn. |
| 2. Dos, cerdd. | 2. Ewch, elwch, cerddwch. |
| 3. Aed, eled, cerdded. | 3. Ant, elant, cerddant. |

### Modd Annherfynol.

| *Presennol.* | *Gorphenol.* | *Dyfodol.* |
|---|---|---|
| Myned. | Wedi myned. | I fyned. |

—o—

## CYFEIRIAU. (*Adverbs.*)

Dyben cyfair yw cymmesuro prifair. Gwasanaetha cyfair i brifair, yn debyg fel y gwna ansoddair i enw. Dangosa ansoddair rhywbeth mewn enw na cheir yn yr enw wrtho ei hunan. Yr un modd y gwna cyfair: dangosa rhywbeth perthynol i brifair, na cheir yn y cyfryw brifair a'i gymeryd wrtho ei hunan; megys, "Llefarodd Iago yn *nerthol.* Mae y frawddeg hon yn dangos, nid yn unig fod Iago wedi llefaru, ond hefyd y *modd* y llefarodd. Ni fuasai y frawddeg yn dangos y *modd* y llefarodd Iago heb y cyfair *nerthol* ynddi.

Y mae lluaws o gyfeiriau; dosbarthir hwy fel y canlyn :—

### *Cyfeiriau Lleol.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Acw, | hwnt, | obry, | oddi fewn, | yma, |
| adref, | isod, | oddi uchod, | oddi allan, | yna, |
| allan, | i fyny, | oddi yma, | o'r neilldu, | yno, |
| draw, | i lawr, | oddi yna, | tanodd, | ymaith, |
| bry, | i waered, | oddi yno, | trwodd, | yn ol. |

### *Cyfeiriau Amserol.*

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Anaml, | can, | doe, | gwedi, | nes, | yn fore, |
| peunydd, | cyd, | echdoe, | heddyw, | oni, | y fory, |
| pob amser, | cyn, | eleni, | heno, | pan, | yr awr hon, |
| byth, | cynt, | etto, | hyd, | toc, | weithiau. |

### *Cyfeiriau Dangosol.*

Dacw, dyma, dyna, llyma, wele.

### *Cyfeiriau Cymmharol.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Ail, | da, | llai, | mwy, | goreu, |
| amgen, | drwg, | lleiaf, | mwyaf, | mor, |
| amgenach, | gwell, | megys, | yr un fath, | purach. |

### *Cyfeiriau Cadarnhäol.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Do, | nid amgen, | yn wir, | oedd, | diammeu, |
| ïe, | yn ddiau, | yn ddilys, | oes, | ydyw. |

### *Cyfeiriau Nacäol.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Dim, | ni, | nac, | nad oes, | nid oedd, |
| na, | nis, | naddo, | nag oes, | nid yw, |
| nag, | nid, | nage, | nag ydyw, | ni fydd. |

### *Cyfeiriau Ymofynol.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| A? | ai ni? | oni? | sut? | pa le? |
| ai? | ai nid? | onid? | pa sut? | paham? |
| ai ie? | ai nis? | onis? | lle? | pa fodd? |

### *Cyfeiriau Ammhennodol.*

Feallai, efallai, gallai, odid, hwyrach, ond odid.

### *Cyfeiriau Dognyddol.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Aml, | cymmaint, | llawer, | swm, | prin, |
| bach, | digon, | mawr, | i gyd, | mwyfwy, |
| braidd, | gormod, | peth, | ychydig, | lleilai. |

### *Cyfeiriau Rhifol.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Unwaith, | teirgwaith, | milwaith, | deudro, | unplyg, |
| dwywaith, | canwaith, | untro, | trithro, | deublyg. |

### *Cyfeiriadau Trefniadol.*

| | | |
|---|---|---|
| Yn gyntaf, | yn drydydd, | yn olaf, |
| yn ail, | yn flaenaf, | yn ddiweddaf. |

### *Cyfeiriau Ansoddol.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| Yn bur, | yn llon, | yn enwog, | yn gyfiawn, |
| yn dda, | yn hardd, | yn hawddgar, | yn deg, |
| yn lân, | yn wych, | yn uniawn, | yn ddrwg. |

Nid yw yr oll o'r cyfeiriâu uchod yn gyfeiriau bob amser y gwelir hwy mewn brawddegau ac ymadroddion; eu gwahanol gyssylltiadau sydd yn eu darostwng er bod yn gyfeiriau. Gwelir rhai o honynt, yn aml, yn enwau, ansoddeiriau, arddodiaid, cyssylltiaid, &c.

Ysgrifener y llinellau canlynol, a thyner llinell o dan y cyfeiriau.

Da y gwnaethost pan adroddaist y gwir. Ni dderbyniodd ei gyflog. A wnaeth efe fel y tystiolaethir gan y cymmydogion? Daeth yn agos i'r tŷ. Ni chafwyd yn eu plith yr un dyn da. Ai hwn yw eich llyfr? Dywedodd deirgwaith wrtho am y perygl. Edrychodd Arthur yn hawddgar arno. Gweithiodd yn well na phawb. Cerddodd yn gyflymach na Dafydd. Onid oes meddyg yno? Pa fodd y gallaf ddringo i'r fath le? Edrychodd yn llym. Yn sicr efe a wna y gwaith.

——o——

## ARDDODIAID. (*Prepositions.*)

Gair yn cael ei osod o flaen geiriau er dangos eu perthynas â geiriau ereill yw arddodiad; megys, "Aeth *o* Ferthyr *mewn* cerbyd, *dros* y mynydd, *i* Aberdar." Yr arddodiaid, yn y frawddeg yna, ydynt *o*, *mewn*, *dros*, *i*.

Mae tri math o arddodiaid; sef, arddodiaid *syml*, arddodiaid *cyfansawdd*, ac arddodiaid *rhagenwol*.

Mae y rhai *syml* yn eiriau wrthynt eu hunain, heb eu cyssylltu â geiriau ereill; megys, *a*, *am*, *ar*, *dros*, *wrth*, *&c.*

Y rhai *cyfansawdd* a gynnwysant ddau air, neu fwy, wedi eu cyssylltu; megys, *ar led*, *oddi amgylch*, *tu mewn i*, *&c.*

Y rhai *rhagenwol* yw y cyfryw sydd yn cyfranogi o ragenwau personol; megys, am dan*af*, am dan*at*, am dan*o*, *&c.*

*Arddodiaid Syml.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Cyn, | ger, | is, | serch, | plegyd, |
| er, | gerfydd, | mewn, | uwch, | parth, |
| erys, | gwedi, | rhag, | myn, | cylch, |
| erbyn, | heibio, | rhwng, | traws, | yn.* |

*Y mae yr arddodyn *yn*, yn rheoli y drwynol o'r cydseiniaid.

Mae yr arddodiaid uchod yn rheoli y wreiddiol perthynol i'r cydseiniaid cyfnewidiol.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Am, | at, | heb, | i, | trwy, | tan, |
| ar, | gan, | hyd, | tros, | o, | wrth. |

Mae yr arddodiaid uchod yn rheoli y sain feddal o'r cydseiniaid cyfnewidiol. Y mae *i* yn eithriad, pan o flaen *mi, ni, ti, chwi.* Y mae *o* hefyd, mewn rhai cyssylltiadau yn rheoli y wreiddiol yn ogystal a'r feddal; megys, *o m*ewn *o f*ewn.

A, gyda, tua, efo, tra.

Mae y pump uchod yn rheoli y chwern yn y dosbarth blaenaf, a'r wreiddiol yn yr ail, a'r olaf o'r cydseiniad cyfnewidiol.

*Ag, gydag, tuag,* i flaenori llafariaid.

Er bod yn ysgrifenwr rheolaidd, rhaid talu sylw manwl i'r arddodiaid, a'u rheolaeth ar y cydseiniaid cyfnewidiol.

*Arddodiaid Cyfansawdd.*

O arddodiaid syml wedi eu cyssylltu y gwneir y rhai hyn; megys, *am dan, oddi ar.* Neu o arddodiaid a sylweddeiriau; megys, *ar ben, ger wyneb.* Dyma luaws o honynt:

| | | |
|---|---|---|
| Am dan, | o amgylch, | tu yma i, |
| ar gyfer i, | oddi ar, | tu allan i, |
| cyfarwyneb â, | oddi dan, | tu faes i, |
| cyferbyn â, | oddi allan, | tu draw i, |
| goruwch, | oddi am, | tu isaf i, |
| gor îs, | oddi wrth, | tu uchaf i, |
| gwydderbyn â, | oddi faes i, | tu yma i, |
| hyd at, | oddi mewn i, | tu mewn i, |
| hyd yn, | tu blaen i, | yn erbyn, |
| o dan, | tu cefn i, | ynghylch, |
| o fewn, | tu ol i, | yn ymyl. |

Y mae yr arddodiaid uchod yn rheoli yr un sain a'r arddodiaid syml. Dyma engraifft—*ar* a reola y feddal; megys, *ar l*aw. Yn awr gosodir *oddi* gyda *ar*, er eu gwneud yn arddodyn cyfansawdd, yna rheolir y feddal, yr un modd ag *ar*, megys, *oddiar l*aw.

Mae yr arddodiaid cyfansawdd canlynol yn rheoli y wreiddiol.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Am ben, | ar warthaf, | i blith, | o amgylch, |
| ar ben, | er mwyn, | is law, | o ddeutu, |
| ar hyd, | ger bron, | o flaen, | o gwmpas, |
| ar led, | ger gwydd, | o blegyd, | uwchlaw, |
| ar ol, | ger wyneb, | o achos, | wrth law, |
| ar draws, | ger llaw, | o herwydd, | yn ymyl, |

*Arddodiaid Rhagenwol.*

Os gosodir *af, of,* neu *yf* yn derfyniad i'r arddodiaid syml neu gyfansawdd, byddant, drwy hyny, yn arddodiaid rhagenwol. Arddodyn syml yw *at*, ond y mae *ataf* yn arddodyn rhagenwol. *Oddi dan* sydd arddodyn cyfansawdd, ond y mae *oddi danaf* yn arddodyn rhagenwol. Mae treigliad i'r arddodiaid hyn.

| | UNIG. | LLUOSOG. | | UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|---|---|---|---|
| *af* | 1. Am dan*af.* | 1. Am dan*om.* | *of* | 1. Yn*of.* | 1. Yn*om.* |
| | 2. Am dan*at.* | 2. Am dan*och.* | | 2. Yn*ot.* | 2. Yn*och.* |
| | 3. Am dan*o.* | 3. Am dan*ynt.* | | 3. Yn*ddo.* | 3. Yn*ddont*, *ynt.* |

| | UNIG. | LLUOSOG. |
|---|---|---|
| *yf* | 1. Wrth*yf.* | 1. Wrth*ym.* |
| | 2. Wrth*yt.* | 2. Wrth*ych.* |
| | 3. Wrth*o.* | 3. Wrth*ynt.* |

Ysgrifener y llinellau canlynol, a thyner llinell o dan yr arddodiaid, a gosoder cromfachau am yr enwau y perthynant iddynt.

Dod y ceffyl wrth y cerbyd. Gosod y celfi yn y tŷ. Tor y rhaff âg erfyn. Dod y wisg am dano. Nâdd y pren â chyllell. Mae y llyfr gan Arthur. Gwerth hwn er ceiniog. Dod y rhaff trwy y twll. Gosod y gadair ar lawr. Dal pysgodyn â'i law. Dod fy nillad am danaf. Dyro dy draed ar lawr. Aeth y plant i'r ty. Cerdded o Fynwy, Gosod y llyfr wrth law. Ni ddywedodd un gair wrthyf. Mae y llong yn Nghaerdydd.

—o—

## CYFRYNGIAID. *(Interjections.)*

Gwasanaetha cyfryngiaid er amlygu cyffroad y meddwl, o ba natur bynag y byddo; pa un ai llawen neu drist. Defnyddir rhyfeddnod gyda y rhai hyn, megys, A! aw! aro! dyt! ffei! gwae! hoi! henffych! ho! holo! O! och! ow! twt! ust! wfft! wel! wele!

## CYSTRAWIAETH. *(Syntax.)*

Mae cystrawiaeth yn golygu cyfansoddiad brawddegau. Casgliad o eiriau yw brawddeg, wedi eu gosod yn drefnus wrth eu gilydd, er cyflwyno synwyr cyflawn.

Ystyrir brawddegau yn ddau fath; sef, *unigol* a *chyfansawdd.* Brawddeg *unigol* sydd yn cynnwys un testyn ac un prifair, a gellir cael y cyfryw yn aml mewn un gair; megys, *cerddaf.* Mae enwai *(nominative)* a phrifair yn y gair cerddaf.

Brawddeg *gyfansawdd* a gynnwysa ddwy neu ragor o frawddegau *unigol* wedi eu cyssylltu, ac felly yn cynnwys mwy nag un prifair; megys, "*Prynais* a *darllenais* y llyfr.

Ystyrir brawddegau hefyd, naill ai yn *brif* frawddegau, neu yn frawddegau *cynnorthwyol.*

*Prif* frawddeg sydd frawddeg yr hon sydd heb fod yn dybynu ar frawddeg arall; megys, "Dafydd a daflodd y gareg."

Brawddeg *gynnorthwyol* sydd frawddeg yr hon a ddybyna ar frawddeg arall; megys, "Dafydd a daflodd y gareg, fel y gallai ladd Goliath." Brawddeg gynnorthwyol yw, "fel y gallai ladd Goliath," yr hon a ddybyna ar y brif frawddeg "Dafydd a daflodd y gareg."

Prif ranau mewn ymadrodd ydynt yr *enwai*, *prifair*, a *gwrthddrych.*

Mewn cyfansoddiad brawddegau, rhaid wrth *gydgerdd*, *llywodraeth*, a *threfn.*

*Cydgerdd* yw cyttuniad rhif, rhyw, a pherson.

*Llywodraeth* yw yr awdurdod sydd gan y naill air ar y llall.

*Trefn* yw trefniad priodol geiriau yn y fath fodd fel i gyflwyno y synwyr a *amcenir* ei gyflwyno. Gall yr un geiriau ddangos gwahanol syniadau, ond newid eu gosodiad; megys, "Efe yn unig yw y gweinidog." "Gweinidog yn unig yw efe." Dyna syniadau hollol wahanol

i'w gilydd gan yr un geiriau. Mae newid trefn yr un geiriau yn newid y syniadau.

—o—

## CYSTRAWIAETH ENW.

Os bydd enw priodol ac enw cyffredin ynghyd mewn brawddeg, a'r ddau yn dal perthynas â'r un person, os yr enw priodol fydd flaenaf, ni ddefnyddir bannod o'i flaen; megys, *Eben Fardd.* Ond, os yr enw cyffredin fydd flaenaf, yna gosodir bannod i flaenori; megys, *y bardd Eben.* Gwelir, yn yr engreifftiau uchod, fod y wreiddiol perthynol i'r llythyrenau cyfnewidiol yn newid i'r feddal, pan fyddo yr enw priodol yn blaenori; megys, Eben Fardd. Ond, os yr enw cyffredin fydd flaenaf, y mae y wreiddiol yn cadw ei lle; megys y *b*ardd Eben.

Os ewyllysir, gellir gosod bannod o flaen enw cyffredin, er iddo fod ar ol enw priodol; megys, *Dafydd y brenin.*

Os bydd dau enw, ac un o honynt yn cael ei ystyried yn meddiannu y llall, mae yr hyn a feddiennir i fod yn mlaenaf; megys, *llyfr Ioan, tai Iago.* Os gosodir y rhai hyn y naill yn lle y llall, ni bydd synwyr ynddynt.

Defnyddir yr arddodyn *o,* rhwng dau enw, pan fyddo y naill yn dangos nodwedd y llall; megys, *dyn o ddysg.* Hefyd, pan fyddo y naill yn dangos sylwedd y llall; megys, *mynydd o fwn, gwisg o frethyn.* Defnyddir y cyfryw, hefyd, rhwng dau enw, er dangos y lle o'r hwn y daeth y person y crybwyllir am dano; megys, *gwr o Ferthyr.*

Pan gyssylltir dau enw cyffredin yn un gair cyfansawdd, a'r naill fel yn meddiannu y llall, y meddiannydd sydd i fod yn flaenaf; megys, *brenhinfainc, meddygdŷ.*

—o—

## CYSTRAWIAETH ANSODDAIR.

Mae ansoddair yn perthyn i enw; megys, *dyn call,*

*dwfr hallt.* Troir ansoddair, yn aml yn enw, drwy ddefnyddio bannod o'i flaen; megys, *y call, y doeth.*

Lle mwyaf priodol ansoddair yw ar ol yr enw; megys, *dyn gwyn, dwfr glân.* Ond, y mae rhai am i'r ansoddair fod o flaen yr enw, pan y mae ereill yn hollol wrthwynebol i hyny. Tŷb y rhai sydd dros i'r ansoddair fod o flaen yr enw, mewn rhai cyssylltiadau, yw, y gwna hyny roddi mwy o nerth a phrydferthwch i'r ymadroddion; megys, *yr hen drugareddau, hen yd y wlad, hen ffordd, &c.*

Os bydd dau neu fwy o ansoddeiriau yn perthyn i'r un enw, rhoddir cyssylltiad i flaenori yr olaf; megys, *dyn doeth, cywir, a serchog.*

Pan fyddo dau o ansoddeiriau yn dal perthynas â'r un enw, cymmerir amryw ffyrdd i'w gosod; naill ai ar ol yr enw, neu o'i flaen; neu un o'i flaen a'r llall ar ei ol; megys, *fy nghyfaill anwyl a serchog, fy anwyl a serchog gyfaill, fy anwyl gyfaill serchog.*

Mae ansoddair yn cyttuno â'r enw y perthyna iddo mewn *rhif;* megys, *dyn doeth, dynion doethion; gwr cadarn, gwyr cedyrn.*

Nis gellir dylyn y drefn hon bob amser, gan fod amryw ansoddeiriau heb luosogiad iddynt; felly rhaid rhoddi ansoddair unig gydag enw lluosog; megys, *llestri glân, nwyfau da.* Tybia rhai mai mwy priodol, ar lawer o amgylchiadau, yw rhoddi ansoddair rhif unig gydag enw lluosog, er y goddefa y cyfryw ansoddair i'w luosogi; megys, *dyddiau blin, dynion doeth;* ac nid *blinion a doethion.*

Cyttuna ansoddair â'r enw y perthyna iddo mewn *rhyw;* megys, *dyn gwyn, dynes wen.*

—o—

## CYSTRAWIAETH RHAGENW.

Rhagenwau personol a flaenorant yr enwau perthynol iddynt, a dylent gyttuno â hwy mewn *rhif* a *pherson;* megys, *ti fachgen, chwi fechgyn; hi wraig, hwythau wragedd.*

Gellir gosod rhagenwau personol i flaenori neu i ddylyn prifair; megys, "*Efe* a holltodd y pren; "Holltodd *efe* y pren."

Pan fyddo yr enwai ar ol y prifair, bydd y person cyntaf, unig yn *fi* neu *finnau*, os *f*, *d*, *r*, fydd terfyniad y prifair; megys, barnaf *fi*, berni*d fi*, berni*r fi*. Ond, os *n*, *m*, *s*, fydd terfyniad y prifair, yna bydd yn *i* neu *innau*; megys, adwae*n i* neu *innau*; bu*m i* neu *innau*; bernai*s i* neu *innau*. Hefyd, os bydd yr enwai yn ail berson unig, ac yn dylyn y prifair, bydd yn *di* neu *dithau* os bydd y prifair yn y modd gorchymynol; neu yn meddu *d*, *ch*, *r*, neu lafariad yn derfyniad; megys, do*s di*, fel y gwnely*ch di*, barnasi*d di*, parchi*r di*, cer*i di*.

Os bydd yr enwai yn y trydydd person unig, ac yn blaenori y prifair, *efe* a arferir fynychaf; megys, "*Efe* wnaeth hyn." Ond, os bydd ar ol prifair, bydd yn *e*, *ef*, *o*, neu *efe*; megys, dysgodd *e*, carodd *ef*, parchodd *o*, barnodd *efe*.

Rhagenw meddiannol a osodir o flaen yr enw y perthyna iddo; megys, *fy nhad*, *fy mrawd*. Ond y mae *mau* a *tau* i fod ar ol yr enwau y perthynant iddynt; megys, *y tad tau*, *y tad mau*.

Mae y rhagenwau meddiannol *ei* gwrywaidd, a *dy* ac *yth* yn rheoli y sain feddal o'r cydseiniaid cyfnewidiol. *Ei* fenywaidd yn rheoli y chwern yn y dosbarth cyntaf, a'r wreiddiol yn yr ail a'r trydydd; megys, ei *l*aw, dy *b*en, yth *d*ŷ, ei *ch*oron, ei *ll*aw, ei *g*wisg.

*Fy* a reola y drwynol. Rhagenwau dangosol, pan mewn cyssylltiad âg enw, a osodir yn olaf; a blaenorir yr enw gan fannod; megys, *y bachgen hwn*.

Cyttuna rhagenw perthynol a'i ragflaenydd mewn rhif a rhyw; megys, "*Duw*, yr *hwn* a'n gwnaeth. Y *gwyr*, y *rhai* a ddychwelasant. *Mair*, yr *hon* a ddyrchafwyd."

—o—

## CYSTRAWIAETH PRIFAIR.

Mae sefyllfa geiriau mewn brawddeg yn dybynu, i fesur, ar y pwys a amcenir osod ar rai o honynt yn fwy

nag ereill. Yn gyffredin, y mae y gair mwyaf pwysig i'w osod yn mlaenaf; ond mewn ymadrodd cyffredin, pan na amcenir gosod pwys neillduol ar unrhyw air mwy na'r lleill, neu pan ystyrir y prifair yn brif ran o'r frawddeg, safa y geiriau fel y canlyn:—1, prifair; 2, enwai; 3, gwrthddrych; megys, "*Carodd* Duw y byd." Os am i'r pwys fod ar yr enwai, gosoder y frawddeg fel hyn:—1, enwai; 2, prifair; 3, gwrthddrych; megys, "*Duw* garodd y byd." Os am osod pwys ar y gwrthddrych, gosoder y frawddeg fel hyn:—1, gwrthddrych; 2, prifair; 3, enwai; megys, "Y *byd* a garodd Duw.

Pan fydd yr enwai o flaen y prifair, cyttuna y prifair âg ef mewn *rhif* a *pherson*; megys, "*Myfi a edrychais; nyni a edrychasom; tydi a edrychaist; chwi a edrychasoch.*"

Pan fydd yr enwai yn enw, ac yn dylyn y prifair, bydd y prifair yn y trydydd person unig, pa un bynag ai unig neu luosog fydd yr enwai; megys, "*Daeth y cyfaill, daeth y cyfeillion; cwympodd y bachgen, cwympodd y bechgyn.*"

Pan fydd yr enwai yn rhagenw, pa un bynag ai o flaen neu ar ol y prifair, cyttuna y prifair âg ef mewn *rhif* a *pherson*; megys, "*Efe a lefarodd, llefarodd efe; hwy a lefarasant, llefarasant hwy.*"

Dylynir enw cynnulliadol weithiau gan brifair rhif unig, a phryd arall gan brifair rhif lluosog; megys, A'r holl luaws a *ddistawodd.* Y bobl a *rodiasant* mewn tywyllwch."

Os bydd dau enw rhif unig wedi eu cyssylltu â chyssylltiad cydiadol, dylynir hwy gan brifair rhif lluosog: ac mewn rhai cyssylltiadau gan brifair rhif unig; megys, "Ioan a Dafydd *a ddychwelasant.*" Paul a Silas *oedd yn gweddio.*"

Pan fydd rhagenwau o wahanol bersonau, neu ragenwau ac enwau yn cael eu cyssylltu gan gyssylltiaid cydiadol, bydd y prifair, os yn dylyn y cyfryw, yn y rhif lluosog; megys, "Myfi a thydi a *aroswn* heno. Tydi ac

efe a *aroswch* heno. Myfi a'm plant a *aroswn* heno."

Arferir prifair yn y modd annherfynol ar ol enw, ansoddair, a phrifair; megys, "*Peiriant* i ddyrnu; *doniol* i lefaru; *ymroi* i weddio."

—o—

## CYSTRAWIAETH CYFAIR.

Mae cyfair i fod yn agos at y prifair a gymmesura. Mae rhai cyfeiriau i flaenori y prifair, ac ereill i'w ddylyn. Nid oes ond un lle i rai cyfeiriau mewn brawddegau. Cyfeiriau *nacäol* a flaenorant y prifeiriau y perthynant iddynt; megys, *na* ddaw, *ni* ddaw, *nis* gofala.

Cyfeiriau *ymofynol* a ddechreuant frawddegau; megys, "*A* ddaeth y pregethwr? *Oni* welaist ti ef? *A* ddywedaist ti wrtho?

Gosodir cyfeiriau *sicrhäol* i flaenori y prifeiriau y perthynant iddynt; megys, "Hwy *a* aethant. *Yn wir*, meddaf i chwi."

Ar ol y prifair, fynychaf, bydd y cyfeiriau *amserol;* ond goddefa rhai o honynt i fod naill ai ar ol neu o flaen y prifair; megys, "Deuaf *ar frys;*" neu "*Ar frys* y deuaf." Mae ereill na ddylent fod ond o flaen y prifair; megys, "*Pan* roddes efe ei ddeddf i'r môr."

Ond cyfeiriau *ansoddol, rhifol, trefniadol, llëol, ammhennodol, a dognyddol,* a flaenorant neu ddylynant y prifeiriau. Pennodir eu lle yn ol fel yr amcenir gosod y pwyslais.

—o—

## CYSTRAWIAETH BANNOD.

Gosodir bannod i flaenori yr enw y perthyna iddo; megys, *y* tŷ, *yr* heol.

Pan fydd rhyw hynodrwydd neillduol mewn person y cyfeirir ato, gellir gosod bannod o flaen ei enw; megys, *y* Barabbas hwnw. Ond, os heb hynodrwydd, yna heb fannod. Pan osodir lluaws o enwau ynghyd

mewn brawddeg, bydd bannod yn blaenori yr olaf o honynt; megys, "Effaith oerder gwynt *y* gogledd." Defnyddir bannod i flaenori ansoddair; a phan y gwneir felly, bydd yr ansoddair yn gyfystyr i enw; megys, *y cyfiawn, y drygionus.*

Gosodir bannod o flaen rhagenwau, yr un modd ag enw; megys, *yr* hwn, *y* rhai, *y* sawl.

Pan fydd dau enw, neu fwy, gyd â'u gilydd, ac yn cyfeirio at wahanol bersonau neu bethau, gosodir bannod o flaen y naill a'r llall; megys, *y* tad neu *y* fam; *y* gwr, *y w*raig, *a'r* plant.

Y fannod *y* a rheola y feddal o'r cydseiniaid cyfnewidiol, pan yn blaenori y rhyw fenywaidd, rhif unig, megys, *y g*oron, *y d*eml, *y w*raig, *y dd*afad, *y f*am. Ond, pan yn blaenori geiriau a *ll* a *rh* yn eu dechreu, hi a reola'r wreiddiol, megys, *y llaw*, *y ll*ong, *y rh*aw, *y rh*an.

—o—

## CYSTRAWIAETH ARDDODIAID.

Gosodir arddodiaid i flaenori y geiriau y perthynant iddynt; megys, *mewn* gwlad, *gerllaw* y ffordd, *i* Ferthyr, *yn* Nyfed.

*Mewn* a osodir i flaenori geiriau ammhennodol; megys, *mewn* dinas, *mewn* tref, *mewn* cymmydogaeth. Nid yw hyn yn dynodi pa ddinas, tref, na chymmydogaeth. Yr arddodyn *yn* a osodir i flaenori geiriau pennodol; sef, bannod, enwau priodol, rhagenwau personol, meddiannol, a dangosol; hefyd, *pawb*, *pob*, *pwy*, *pa*, a *holl;* megys, yn y dref, yn Mon, ynof fi, yn fy nhref, yn hwn, yn mhob, yn mhawb, yn mha, yn holl.

Cyssylltir amryw arddodiaid â rhagenwau personol, y rhai a elwir yn arddodiaid rhagenwol; megys, *ataf, atat, ato, &c.*

Os bydd rhagenw yn gofyn pwyslais neillduol, pan wedi ei gyssylltu âg arddodyn, dyblir ef; megys, ataf *fi*, atat *ti*, ato *ef*, &c.

## CYSTRAWIAETH CYSSYLLTIAID.

Mae rhai cyssylltiaid yn cyfatteb i'w gilydd yn yr un ymadrodd, fel y gwelir yn y rhanau hyn o'r Ysgrythyrau: "*Canys* beth bynag a hauo dyn, hyny *hefyd* a fêd efe. *Gan* fod marwolaeth trwy ddyn, trwy ddyn *hefyd* y mae adgyfodiad y meirw. *Os* byw yr ydym yn yr Ysbryd, rhodiwn *hefyd* yn yr Ysbryd. *Fel* yr arwain cyfiawnder i fywyd, *felly* dylyn drygioni a dywys i angau. *Os* bydd newyn arnaf, ni ddywedaf i ti, *canys* y byd a'i gyflawnder sydd eiddof fi."

Gwelir yn yr ymadroddion uchod fod *canys* yn cyfatteb i *hefyd*, *gan* i *hefyd*, *os* i *hefyd*, *fel* i *felly*, ac *os* i *canys*.

Bydd cyssylltiad mewn rhai amgylchiadau yn ddealledig er na fydd wedi ei osod yn yr ymadrodd; megys, "Fel bydd y fam bydd y ferch," yn lle "*Fel* bydd y fam *felly* bydd y ferch."

Pan bydd y cyssylltyn *a* yn blaenori rhagenwau meddiannol bydd yn y dull canlynol :—*A'ch*, *a'i*, *a'm*, *&c.*, yn lle *a eich*, *a ei*, *a ym*, *&c.* Pan bydd yn y dull uchod, gelwir ef yn gyssylltyn rhagenwol.

Cyssylltiaid *a*, *na* a flaenorant eiriau yn dechreu gyda chydseiniaid cyfnewidiol, ac a reolant y chwern yn y dosbarth cyntaf, a'r wreiddiol yn yr ail a'r trydydd; megys,

| | |
|---|---|
| Dos. 1. Câr *a chy*faill.... | Dos. 1. Heb gar *na chy*faill. |
| ,, 2. Gwg *a gw*en..... | ,, 2. Heb wg *na gw*en. |
| ,, 3. Tad *a m*am. .... | ,, 3. Heb dad *na m*am. |

Cyssylltiaid *ac*, *ag* a flaenorant eiriau yn dechreu gyda llafariaid; megys, "Dyn *ac a*nifail a gedwi di." "Mae ef mor gadarn *ag u*nrhyw ddyn."

Cyssylltyn *neu* a reola y feddal yn y tri dosbarth o'r cydseiniaid cyfnewidiol.

*Ond*, *onid*, *eithr*, *oddigerth*, *namyn*, ac *heblaw* a reolant y wreiddiol.

## CYSTRAWIAETH CYFRYNGIAID.

Cyfryngiaid a osodir i flaenori eu gwrthddrychau; megys, Ha, fab!

Pan osodir cyfryngiad o flaen enw, ansoddair, neu ragenw, dylynir ef gan y sain feddal o'r cydseiniaid cyfnewidiol; megys, O *ddyn*! O drugarog *Dd*uw! Gwae *fi!* Ceidw prifair ei gydsain wreiddiol pan osodir cyfryngiad o'i flaen; megys, O *g*wared fi! Och, *p*aid a mi!

—o—

## ATTALNODAU.

*Adwahannod* (,). Defnyddir y nod hwn yn y lleoedd canlynol:—Rhwng enwau priodol; megys, Rhoddodd Ioan, Dafydd, Arthur, Iago, ac William eu henwau i mewn i gystadlu." Rhwng ansoddeiriau; megys, Bachgen addfwyn, doeth, darllengar, a chrefyddol yw Arthur." Rhwng prifeiriau; megys, "Darllenais, deallais, cofiais, ac adroddais y farddoniaeth oll." Rhwng cyfeiriau; megys, "Er bod yn llenor coeth, rhaid llafurio yn ddiwyd, manwl, ymdrechgar, a pharhaus." Rhwng enw a chyssylltiad; megys, "Dywedwch wrth Arthur, neu Iago, neu Ioan, fod cwrdd llenyddol heno." Gyda chyfarchiaid; megys, "Anwyl dad, anwyl syr," &c. Rhwng dyfyniad o waith awdwr arall a gwaith yr ysgrifenydd ei hunan; megys, "Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd," "Llefara wrth Aaron," &c. Os bydd dau air yn cael eu cyssylltu â dim ond dau; megys, "Aur ac arian," ni bydd y nod hwn rhyngddynt.

*Gwahannod* ( ; ). Defnyddir y nod hwn er arwyddo nad yw yr ymadrodd wedi ei orphen yn gyflawn; hefyd, er dangos fod angen am hwy gorphwysiad na chyda adwahannod; megys, "Canys, y mae cariad Crist yn ein cymmell ni, gan farnu o honom hyn; os bu un farw dros bawb, yna meirw oedd pawb."

*Gorwahannod* ( : ). Ni ddefnyddir y nod hwn mor aml y dyddiau presennol ag y defnyddiwyd ef ddegau o flynyddau yn ol. Dywedir gan rai taw gwell yw ei adael heb ei ddefnyddio o gwbl. Pan y defnyddir ef gwneir hyny mewn ymadrodd a allai sefyll arno ei hun fel yn cynnwys synwyr cyflawn heb ychwanegu ato, ac etto yn agored i ychwanegiad fel y gwelir yn yr adnod hon,—"Trwy fendith y cyfiawn y dyrchefir y ddinas : ond trwy enau y drygionus y dinystrir hi." Mae hwn yn golygu gorphwysiad hwy na gwahannod.

*Diweddnod* ( . ). Defnyddir y nod hwn ar ddiwedd ymadrodd o gyfansoddiad cyflawn. Dangosa na raid i'r ymadrodd wrth eiriau ychwanegol er gwneud synwyr llawn, ac efe a arwydda y gorphwysiad hwyaf. Arferir hwn ar ol rhanau o eiriau, ac ar ol llythyrenau yn sefyll yn lle geiriau; megys, *ath.*, am athraw; *dys.*, am dysgybl; *hol.*, am holiad; *h.y.*, am hyny ydyw; *O.Y.*, am ol-ysgrif; *O.B.*, am oed y byd; *D.S.*, am dalier sylw; *O.C.*, am oed Crist.

*Gofynnod* ( ? ). Defnyddir hwn ar ol gofyniad; megys, "Pwy wnaeth hyn?" Hefyd, os bydd ammheuaeth ynghylch cywirdeb yr hyn a ysgrifenir, megys, "Dafydd a adroddodd oreu (?) yn y cwrdd adroddiadol." Mae y nod yna yn dangos fod ammheuaeth mai Dafydd oedd yr adroddwr goreu er iddo gael ei farnu felly gan y beirniad.

*Rhyfeddnod* ( ! ). Arferir y nod hwn ar ol gair neu ymadrodd cyffrous; megys, Och! Gwae fi!

—o—

## ARWYDDION A CHYFEIRNODAU.

*Sillgoll* ( ' ). Lle byddo sillgoll bydd yn arwydd fod llythyren neu sill wedi eu gadael allan; megys,

"Trwst hon clyw acw'r trawstiau'n clecian."

*Cyssylltnod* ( - ). Defnyddir hwn er cyssylltu dau air er eu gwneud yn un gair cyfansawdd; megys,

gorsedd-fainc. Defnyddir y nod hwn hefyd yn niwedd llinell er dynodi fod y gweddill o'r gair yn y llinell ddylynol.

*Gwallnod* (‸). Defnyddir y nod hwn o dan gyfwng rhwng geiriau mewn llinell o ysgrifen er dangos fod y gair fydd uwchben iddo i fod yn y cyfwng hwnw, fel hyn :—

byw
" Gan boen a chur, gwn, ‸ ni chânt.

*Dydolnod* (¨). Arferir hwn uwchben llafariaid er gwahanu silliau, fel hyn—Crëadigaeth.

*Cromfachau* ( ) [ ]. Bydd ysgrifenwyr, golygyddion, a chyfieithwyr yn gosod gair neu eiriau mewn ymadroddion er gwneud y synwyr yn fwy eglur; a phan y gwnant hyny, hwy a osodant y geiriau a ddodant i mewn rhwng cromfachau ; megys, " Ac efe a fagasai Hadassah (hono yw Esther) merch ei ewythr ef," &c.

*Rhagwahandro* (" "). Defnyddir hwn er dangos dyfyniad o waith awdwr arall; gwel " Cyfarwyddyd i Ysgrifenu i'r Wasg."

*Dosbarthnod* (¶). Gwelir hwn yn aml yn y Bibl. Dangosa fod ymadrodd neu bwnc newydd yn dechreu.

*Diffyglin* (—). Dangosa y llinell hon fod llythyrenau wedi eu gadael allan o air, fel hyn, D—s am Dowlais.

*Sernodau* (* * *). Dengys y rhai hyn fod rhan o'r ymadrodd wedi ei gadael allan i ryw amcan gan yr ysgrifenydd. Gadewir rhanau allan ar gyfrif eu meithder neu eu hanweddeidd-dra, yna y gosodir y sernodau yn eu lle.

*Mynegfys* (☞). Arferir hwn er dangos rhywbeth neillduol.

Y Seren (*) ; y Bideg (†) ; y Ber (‡) ; y Dyblin (‖); a'r Dosbarthnod (§). Gwasanaetha y rhai hyn er cyfeirio at rhywbeth fydd wedi ei osod ar ochr neu waelod y ddalen.

## PRIF LYTHYRENAU.

Lle priodol y prif lythyrenau yw yn nechreu geiriau, ac nid yn eu canol nac ar eu diwedd. Gosodir prif lythyren yn nechreu pob llyfr, ysgrif, llythyr, nodyn, &c.

Mae prif lythyren i fod yn y gair blaenaf ar ol diweddnod.

Yn y gair blaenaf mewn gofyniad.

Yn y gair blaenaf mewn attebiad i ofyniad.

Yn y gair blaenaf yn mhob llinell o farddoniaeth.

Yn mhob enw priodol, sef enwau lleoedd, personau, a phethau; megys, America, Asia, Europ, Lloegr, Cymru, Mon, Morganwg, Merthyr, &c. Enwau personau; megys, Arthur, Ioan, Dafydd, &c. Enwau priodol pethau neu wrthddrychau difywyd, fel y gwelir llongau, tai, &c., wedi eu henwi ag enwau neillduol.

Yn y gair blaenaf o bob dyfyniad o waith ereill.

Yn enw y Bod Goruchaf; megys, Arglwydd, Duw, Iôr, Ion, Hollwybodol, Hollalluog, Tad, Mab, Ysbryd Glân.

Mewn amryw Ansoddeiriau; megys, Cymreig, Saesonig, Gwyddelig, &c.

Gosodir gair neu frawddeg neillduol yn brif lythyrenau oll; megys, HWN YW IESU BRENIN YR IUDDEWON.

Gosodir y cyfryngiaid yn brif lythyrenau; megys, O! A! H!

—o—

## CAM DDEFNYDDIO GEIRIAU.

Y rhai a gamddefnyddir yw y geiriau tebyg canlynol, y rhai a roddir yn aml y naill yn lle y llall.

Er gochel gwallau, ceisir dangos ystyr y naill a'r llall. Dechreuir gyda

*A'i* ac *A'u*. Geiriau bychain tebyg i'w gilydd yw y ddau air hyn, ond y mae gwahaniaeth rhyngddynt

er y tebygolrwydd sydd ynddynt. Defnyddir *a'i* am un person, ac *a'u* am fwy nag un; megys, ei ŷch, *a'i* asyn; eu hychain *a'u* hasynod. Rhif unig yw *a'i*, a rhif lluosog yw *a'u*.

*Ac* ac *Ag*. Cyssylltyn cydiadol yw *ac*, a defnyddir ef i gyssylltu dau air; megys, aur *ac* arian. Mae *ag* hefyd yn gyssylltyn. Ond pan y bydd *ag* yn gyssyllt yn, bydd yn arwyddo cystadledd; megys, "Mor ddysglaer *ag* angel."

Mae *âg* hefyd yn arddodyn; megys, "Dinystrio *âg* arfau." Os yn methu gwybod pan yn ysgrifenu pa un i'w osod i mewn, gwell gosod *gydag* yn lle y naill a'r llall; yna deallir pa un i'w ysgrifenu, gan y gwna *gydag* y tro yn lle *âg* arddodyn, pan na wna yn lle *ac* neu *ag* cyssylltyn.

*Ai ac A'i*. Yr un llythyrenau sydd yn y ddau air hyn, a'r unig wahaniaeth sydd ynddynt mewn llun yw fod sillgoll ar yr olaf, a'r blaenaf hebddo; ond y mae y sillgoll yn dangos gwahaniaeth ac yn cyfnewid yr ystyr. Prifair yw *ai* heb y sillgoll; megys, Ti *ai* yno. Hefyd, gwelir *ai* yn fynych yn gyfair ymofynol; megys, *Ai* hwn yw y llyfr? *Ai* hwn oedd yno? Ond *a'i* gyda sillgoll sydd yr un peth ag *a ei*; ond wrth dynu yr *e* allan a gosod sillgoll yn ei lle bydd *a'i* yn gyssylltyn rhagenwol, yn cyfranogi o gyssylltyn *a*, a'r rhagenw *ei*; megys' ei law *a'i* droed. Heblaw hyn y mae *â'i* gyda nod uwchben yr â yn arddodyn rhagenwol; megys, "Cododd efe *â'i* law yr holl swm." Mae y frawddeg yna yn gyfystyr a hyn: "Cododd et *gyda ei* law yr holl swm;" neu, "Cododd ef *â ei* law, &c.

*Nac* a *nag*. Mae *nac* yn gyssylltyn; megys, "Nid oes genyf ŷch *nac* asyn; dafad *nac* oen; meddiannau *nac* arian." Hefyd mae *nac* yn gyfair negyddol; megys, *nac* ofna, *nac* ydyw, *nac* oes. Mae *nag* hefyd yn gyssylltyn, ond cofier mae cyssylltyn cymmharol ydyw, felly ni wna *nac* yn ei le. Dyma engraifft o

hono mewn cyssylltiadau cymmharol. Prydferthach *nag* ef; gwell *nag* aur pur; cyfoethocach *nag* unrhyw wlad arall.

*Can gan* a *cyn.* Gosodir *can* i flaenori ansoddeiriau; megys, *can fyred, can wyned, can syched, can ddoethed.* Gosodir *gan* i flaenori prifeiriau; *Gan gerdded* yr holl ffordd. *Gan lafurio* nos a dydd. *Gan grymu* tua'r ddaear. Mae *cyn* yn cyfeirio at amser; megys, Bum yno *cyn heddyw.* Cyflawnaf fy addewid *cyn yr haf.*

*Cynnyrchiol* a *cynnrychiol.* Yn fynych y seinir y gair cynnrychioli yn cynnyrchioli, yr hyn sydd yn ammhriodol; yr un llythyrenau sydd yn y ddau air, ond y mae rhoddi *y* o flaen *r* yn newid yr ystyr. Mae cynny*r*chiol yn golygu rhywbeth yn cynnyrchu ffrwyth, a cynn*ry*chiol neu cynn*ry*chioli yn golygu gwaith dyn yn sefyll dros ddosbarth o ddynion yn y Senedd, y Gymanfa, y Cyfarfod Misol, &c.

*Cymmaint* a *cynnifer.* Golyga *cymmaint* faintioli unrhyw beth; megys, "Mae y llyfr hwn *gymmaint* a'ch llyfr chwi. Mae y llaw hon *gymmaint* a'ch llaw chwi." Ond *cynnifer* a olyga rif; megys, *cynnifer o ddynion; cynnifer o dai; cynnifer o fechgyn.*

*Cyntaf* a *diweddaf; blaenaf* ac *olaf.* Ni ddylid ysgrifenu cyntaf ac olaf, na blaenaf a diweddaf; ond cyntaf a diweddaf, a blaenaf ac olaf. Mae cyntaf a diweddaf yn golygu *amser*, a blaenaf ac olaf yn golygu *lle;* megys, "Efe oedd y *cyntaf* a ddaeth i'r tŷ, ac efe oedd y *diweddaf* a aeth allan." "Pennill *blaenaf* ac *olaf* a genir." Mae y pennillion yna sydd i'w canu, y naill yn y lle *blaenaf*, a'r llall yn y lle *olaf* yn rhes y pennillion.

*Dirwyo* a *dirywio.* Cosbi am drosedd yw *dirwyo*, ond rhywbeth yn llygru neu adfeilio yn foesol neu naturiol yw *dirywiad*,

*Ei* ac *eu.* Gosodir y ddau hyn y naill yn lle y llall yn fynych. Dylid cofio mai am un person y saif *ei*, ac *eu* am fwy nag un; megys, *ei dad, eu tad.*

*Mae* a *mai.* Mynych y gosodir y rhai hyn y naill yn lle y llall gan yr annghyfarwydd. Cofier mai prifair yw *mae;* megys, "Canys y *mae* i mi bump o frodyr." Y *mae* Arthur yn llafurio llawer. Ond cyssylltyn yw *mai;* megys, "Gwybyddwch *mai* yr Arglwydd sy Dduw." Dywed wrthynt *mai* dyn caredig yw Arthur. Os bydd yr efrydydd ar ryw adeg yn methu gwybod pa un ai *mae* ai *mai* fydd i'w ysgrifenu, defnyddied y gair *taw* yn eu lle: ac os bydd synwyr yn y frawddeg ar ol gwneud felly, gall anturio y pryd hwn i osod *mai* i mewn; ond os na fydd synwyr ar ol gosod *taw* i mewn, yna gosoder *mae* i mewn. Mae *taw* a *mai* yn gwasanaethu y naill yn lle y llall. Nid priodol yw dyweyd, Dywed wrthynt *mae* dyn caredig yw Arthur. Ond os gosodir *taw* neu *mai* i mewn yn lle *mae,* yna bydd y frawddeg yn rheolaidd; megys, Dywed wrthynt *taw* dyn caredig yw Arthur. Dywed wrthynt *mai* dyn caredig yw Arthur.

*Llwch* a *llychod.* Llychyn yw y rhif unig, a llwch yw y rhif lluosog. Mwy priodol yw dyweyd *llychyn* a *llwch,* na *llwch* a *llychod.* Mynych y clywir dynion yn dyweyd, *llychod* pechadurus ydym ni, pryd y dylent ddyweyd *llwch* pechadurus ydym ni.

*Llefydd a lleoedd.* Mynych y defnyddir y rhai hyn y naill yn lle y llall, er bod ystyr hollol wahanol iddynt. Llefwr neu griwr a olygir wrth *lefydd.* A manau a olygir wrth *leoedd.*

*Parchedigion a Peirch.* Gosodir *Peirch.* yn lle *Parchedigion* yn aml gan ieuenctyd. Gwell yw gadael y *Peirch.* a defnyddio *Parchedigion.*

*Teimladwy* a *teimladol.* Golyga *teimladwy* rhyw beth a ellir ei deimlo. Mae dyn, anifail, coed, creigiau, &c., yn bethau *teimladwy* am y gellir eu teimlo. *Teimladol* a olyga unrhyw feddiannydd teimlad yn teimlo; megys, dyn teimladol yn wrthgyferbyniol i ddyn heb fod yn teimlo.

*Ynte* ac *yntau.* Rhagenw personol yw *yntau;* megys,

yr oedd *yntau* hefyd gyda hwy. Mae *ynte* mewn rhai amgylchiadau yn gyssylltyn gwahaniaethol; megys, naill ai dyn *ynte* dynes. Mae *ynte* mewn cyssylltiadau ereill yn gyfair ymofynol; megys, "Pa un a ewyllysi ai tori glo, ynte codi mwn?"

*Yw* ac *i'w*. *Yw* sydd brifair. Mae *yw* ac *ydyw* yr un peth; gwasanaetha y naill yn lle y llall; megys, efe *yw* y dyn, efe *ydyw* y dyn. Arddodyn rhagenwol ydyw *i'w*; megys, un *i'w* faes, aeth *i'w* dŷ. Mae hyn yn gyfystyr a phe dywedid, un *i ei* faes, aeth *i ei* dŷ.

Mae *ei* rhif unig, ac *eu* rhif lluosog pan yn cael eu blaenori gan *i* yn newid i *w*, felly y mae *i'w* yn gyfystyr i *i ei*, ac *i eu*. Os bydd yr efrydydd yn methu gwybod mewn rhai cyssylltiadau pa un o'r ddau uchod fydd i'w ysgrifenu, gwell iddo wneud prawf, fel y canlyn: defnyddier *ydyw* yn eu lle ar y pryd; ac os bydd synwyr yn y frawddeg ar ol gosod *ydyw* i mewn, yna gellir dodi *yw* i mewn; ac os na bydd synwyr yn y frawddeg, tebyg yw mai *i'w* a ddylid osod ynddi. Un *ydyw* dŷ, sydd afreolaidd; yna tyner *ydyw* ymaith, a gosoder *i'w* i mewn, fel hyn—un *i'w* dŷ.

—o—

## LLEOLIAD H.

Mae dau ddosbarth o eiriau a'r *h* yn llythyren flaenaf ynddynt, sef y dosbarth hwnw y ceidw hi ei lle ynddynt yn mhob cyssylltiad; megys, *h*aul, *h*aen, *h*anes, *h*eddyw, *h*enaint, &c. Y dosbarth arall yw y geiriau hyny na cheir hi ynddynt yn wreiddiol, ond gosodir hi yn flaenddod iddynt, yn ol fel y bydd llywodraeth y gair blaenorol yn galw. Mae llywodraeth gan ryw, rhif, a pherson arni, fel i'w gosod i mewn, neu i'w gadael allan; megys, *ei h*arian hi, *ei a*rian ef, *eu h*arian hwy.

Defnyddir *h* ar ol y rhagenwau a'r talfyriadau canlynol:—

*A'i—a ei.* Gosodir *h* yn flaenddod i'r prifair fydd yn dylyn *a'i*; megys, Myfi *a'i h*addysgodd ef. Ti *a'i h*anrhydeddaist hi.

*A'm—a ym.* Dylynir *a'm* gan *h*; megys, Fy llyfrau *a'm h*ysgol. Ti *a'm h*adferodd. Efe *a'm h*iachaodd.

*A'n—a ein.* Gofynir *h* yn flaenddod ar ol *a'n*; megys, Ein gwlad *a'n h*arwyr, ein gwlad *a'n h*iaith.

*Ar.* Arddodyn yw *ar*, a gosodir *h* ar ei ol yn nglyn â'r gair ugain; megys, Un *ar h*ugain, deg *ar h*ugain, &c.

*A'u—a eu.* Pan ddylynir *a'u* gan brifair, gosodir *h* yn flaenddod; megys, Myfi *a'u h*anfonaf hwynt. Ti *a'u h*arddelaist hwynt.

*Ei* ac *a'i benywaidd.* Pan fydd *m* neu *n* yn nechreu geiriau yn dylyn *ei* neu *ai* benywaidd, gofaler am ochel y dull gwallus canlynol o ysgrifenu; megys, *Ei mh*ab *a'i mh*erch, *ei nh*ai *a'i nh*ith, *ei mh*awrhydi *a'i mh*orwyn, *ei nh*oddfa *a'i nh*ef, &c.

Pan yn defnyddio *h* yn y geiriau uchod a'u cyffelyb, ffugdreiglir *m* ac *n*. Nid yw *m* byth yn treiglo ond i'r feddal, ac nid yw *n* yn treiglo o gwbl. Gwel yn nechreu y llyfr.

Dyma y modd priodol i ysgrifenu yr uchod a'u cyffelyb; megys, Ei *m*ab *a'i m*erch, *ei n*ai *a'i n*ith, &c.

Dylynir *ei* benywaidd gan *h;* megys, *ei h*awr, ei *h*amser, *ei h*urddas.

*Ein.* Dylynir *ein* gan *h;* megys, *ein h*aur, *ein h*arian, *ein h*undeb, *ein h*iawnderau, *ein h*ymdrech.

*Eich.* Nid oes angen am *h* ar ol *eich.* Ysgrifener *eich a*ddysg, *eich a*ur, *eich e*wyllys, *eich y*mdrech, &c., ac nid *eich h*addysg, *eich h*aur, *eich h*ewyllys, &c. Ond pan fydd *eich* yn blaenori geiriau ac *h* ynddynt yn wreiddiol, ceidw *h* ei lle ynddynt; megys, *eich h*aelioni, *eich h*edd, *eich h*yfdra.

*Eu.* Gosodir *h* i ddylyn *eu;* megys, *eu H*arglwydd, *eu h*olynwyr, *eu h*athrawiaeth, *eu h*aberthau.

*I'm—i ym.* Mae *h* i fod ar ol *i'm;* megys, Daeth *i'm h*annog. Gwaith *i'm h*awen. Mawl *i'm H*arglwydd.

*I'n—i ein.* Dylynir *i'n* gan *h;* megys, Clod *i'n h*athraw ac *i'n h*ysgol.

*I'w*. Gwel pennod Rhagenwau meddiannol. Dylynir *i'w* gwrywaidd rhif lluosog gan *h;* megys, Gwyr ffyddlon *i'w* *h*addewid. Hefyd, dylynir *i'w* benywaidd rhif unig a rhif luosog gan *h*; megys, Gwraig ffyddlon *i'w* *h*addewid. Gwragedd ffyddlon *i'w* *h*addewidion. Nid yw *h* i ddylyn *i'w* gwrywaidd, rhif unig.

*O'm—o ym.* Arferir *h* ar ol *o'm ;* megys, *o'm* *h*ennill, *o'm* *h*elw.

*O'n—o ein.* Mae *h* i ddilyn *o'n;* megys, *o'n* *h*arian, *o'n* *h*urddas.

*Y'i—y ei.* Dylynir *y'i* gan *h;* megys, Pan *y'i* *h*offrymir. Pan *y'i* *h*adnewyddir.

*Ym.* Dylynir *ym* gan *h;* megys, *ym* *h*adweinir, *ym* *h*anfonir.

Defnyddir *h* mewn lluaws o eiriau er grymusder i'r llafariaid; megys yn cen*h*adon, cen*h*edloedd, bren*h*ines, byw*h*au, cyfiawn*h*au, cryf*h*ad, a'u cyffelyb. Mae rhai yn groes i ddefnyddio *h* yn yr uchod a'u cyffelyb, am mai cenad, cenedl, brenin, &c., yw y gwreiddiol. Ond barn y mwyafrif o lenorion y genedl yw y dylid defnyddio *h* yn y geiriau uchod, er nad yw hi i'w chael na'i defnyddio yn y gwraidd. Y mae geiriau grymus a hysain o'r fath yn galw am dani. Mae cen*h*adon, cen*h*edloedd, bren*h*inoedd, &c., yn llawer cryfach na cenadon, cenedloedd, breninoedd, &c. Mae *sain* yn egwyddor iaith, ac yn addurn iddi.

Defnyddir *h* er cryf*h*ad i derfyniadau geiriau; megys, cyfiawn*h*ad, cadarn*h*ad, byw*h*au, &c. Hi a geidw ei lle yn y cyssylltiad hwn yn y treigliadau; megys, cadarn*h*ad, cadarn*h*au, cadarn*h*af, &c. Mae rhai geiriau nas gellir defnyddio *h* ynddynt yn y modd uchod; megys, nacad, nacau, nacaf, &c. Os rhoddir *h* at *ad, au,* neu *af*, yn y geiriau yna er gwneud y terfyniadau yn *h*ad, *h*au, *h*af, &c., fel hyn, nac*h*ad, nac*h*au, bydd *c* ac *h* yn ffurfio *ch*, yna bydd y sain yn ammhriodol.

Pan y bydd y sill nesaf i'r olaf yn diweddu yn *c*, *ch*, *p*, *t*, *th*, ni oddefir i *h* fod yn y terfyniad, oblegyd, pe rhoddid hi i mewn ar ol y cyfryw, byddai y geiriau canlynol a'u cyffelyb yn ammhriodol; megys, nac*h*au, iach*h*au, esmwyth*h*au, gwlyp*h*au, parot*h*oi, yn lle nacau, iachau, esmwythau, gwlypau, parotoi.

Mae *h* i fod yn y gair awr*h*on, nid priodol awron mewn rhyddiaeth.

Nid yw *r* byth yn nechreu geiriau heb *h* gyda hi; megys, *rh*an, *rh*aw, *rh*odd. Ond pan dreiglir y cyfryw i'r feddal, gadewir *h* allan; megys, Ei ran, dy ran, yth rodd. Pan fydd *ei* benywaidd yn blaenori, ceidw *h* ei lle; megys, Ei r*h*an, ei r*h*odd. Mae *h* i fod gyda *r* yn mhob lle y bydd *y* yn blaenori; megys, *y rh*wyd, *y rh*wyf, *y rh*odd, nid y rwyd, y rwyf, y rodd.

—o—

## SEINIAD A LLEOLIAD U AC Y.

Llythyrenau sydd yn achosi llawer o drafferth i'r ieuanc yw *u* ac *y*. Achosir hyn am fod dwy sain i'r llythyren *y*, ac un o'r seiniau hyny yn debyg i sain briodol *u*. Seinir *u* yn ysgafn a llydan, ac nid yw un amser yn newid ei sain. Mae iddi ei sain briodol yn mhob lle, ac yn nhreigliad pob gair y bydd hi ynddo. Ond, nid yw y llythyren *y* felly, y mae i hon ddwy sain, sef, sain debyg i sain *u* mewn lluaws o eiriau, a'i sain ei hun mewn geiriau ereill, yr hon a elwir ei sain briodol, a cheir y ddwy sain hyn yn fynych yn yr un geiriau. Seinir *y* yn y geiriau canlynol yn debyg fel y seinir *u*; megys, *y*d (grawn), *y*ch (eidion), t*y* (adeilad). Canfyddir fod sain *y* yn y geiriau yna yn debyg i sain *u* yn y geiriau canlynol, *u*d (udiad), *u*ch (yn uwch), t*u* (o blaid). Er fod sain *u* i *y*, etto, nid hon a ystyrir fel ei sain briodol, ond sain ddofn a chref, fel sydd yn y geiriau hyn; megys, d*y*, d*y*d, f*y*, *y*m, *y*n, s*y*r, *y*s, *y*r. Anfynych y ceir geiriau un sill heblaw y rhai yna a sain briodol *y* ynddynt. Ac ni cheir ei sain briodol yn y sill olaf o eiriau, lluaws-sill;

megys, cledd*y*f, cymmeradw*y*, llawen*y*dd, pen*y*d, sef*y*ll, &c.

Ceir amryw eiriau a'r ddwy sain ynddynt; megys, d*y*wed*y*d, h*y*fr*y*d, h*y*n*y*, m*y*n*y*dd, &c. Gall y sylwadau canlynol fod o wasanaeth i'r ieuanc, pan yn ysgrifenu, er adnabod lle priodol *u* ac *y*.

Cofier nad yw *u* byth yn cael ei gosod wrthi ei hun fel y gwneir ag *y*.

Hefyd, *y* ac nid *u* sydd i fod ar ol *w* fel rheol; megys, llw*y*, mw*y*, trw*y*. Mae gw*u*ll a cnew*u*llyn yn eithriaid, a gosodir *u* ar ol *w* yn croesaw*u*.

Cofier mai *u* sydd i fod ar ol *e* mewn gwreiddeiriau; megys, ce*u*nant, be*u*dy, me*u*dwy, pe*u*nydd, te*u*lu, gwne*u*d. Arferir *y* ar ol *e*, ac nid *u* gan rai yn y gair gwneud, etto, hwy a arferant *u* ar ol *e* yn ei dreigliadau, fel hyn, gwne*y*d, gwne*u*thur, &c. Nid yw *u* yn llafariad gyfnewidiol fel *a*, *i*, *o*, *w*, *y*, felly gellir meddwl fod *y* yn afreolaidd yn y gair gwne*y*d. Mae y gwreiddair te*y*rn yn eithriad i'r rheol uchod, *y* sydd i fod ar ol *e* ynddo ac nid *u*, ac yn ei dreigliadau yr un modd; megys, te*y*rn, te*y*rnas, &c. Ceir hefyd fod *y* ar ol *e* yn nherfyniadau enwau, rhif lluosog; megys, torfe*y*dd, pangfe*y*dd.

Pan fyddo llafariad yn newid i lafariad arall, wrth dreiglo geiriau, cofier nad yw hi byth yn newid i *u*, gan nad yw *u* byth yn newid unrhyw lafariad, nac unrhyw lafariad yn ei newid hithau. Felly, pan dreiglir geiriau fel y canlyn; megys, cad*a*rn, ced*y*rn; pab*e*ll, peb*y*ll, p*o*rth, p*y*rth; cofier mai *y* sydd i fod ynddynt, er mai sain *u* sydd ynddynt. Newidir *a*, *e*, *o*, fel y gwneir yn y geiriau yna i *y*, ac nid i *u*.

Gall ffordd seml arall fod yn wasanaethgar i ysgrifenwyr ieuainc, pan yn methu penderfynu pa un ai *u* ai *y* fydd i fod mewn geiriau, sef, ychwanegu silliau at eiriau a threiglo rhai ereill. Dyna y geiriau *budd* a *dyn*, sain *u* sydd yn y ddau. Os ychwanegir sill at y

gair *budd*; megys, *buddiol*, ceir fod *u* yn cadw ei sain, ond, os ychwanegir sill at y gair *dyn*; megys, *dynion*, yna ceir fod *y* yn newid ei sain. Felly, os bydd y sain yn newid ar ol ychwanegu sill neu silliau, cofier mai *y* fydd i'w hysgrifenu. Ond os bydd y sain yn aros yr un ar ol ychwanegu sill neu silliau, *u* fydd i'w hysgrifenu.

Rhoddir yma luaws o eiriau ac *u* yn eu terfyniadau; megys, allt*u*d, budd*u*g, clod*u*s, clodfor*u*s, cadd*u*g, cofiad*u*r, cread*u*r, cys*u*r, dawn*u*s, dif*u*dd, dol*u*r, eil*u*n, ffoad*u*r, geiriad*u*r, gol*u*d, grym*u*s, gwarthr*u*dd, gwneuth*u*r, gwedd*u*s, gwniad*u*r, iach*u*s, llawr*u*dd, machl*u*d, mel*u*s, mes*u*r, newyddiad*u*r, ofn*u*s, pechad*u*r, penad*u*r, plad*u*r, prys*u*r, rhyfyg*u*s, trefn*u*s.

*Y* sydd i fod yn y geiriau a derfynir gyda'r terfyniad *lyd*; megys, gwaedl*y*d, gwawdl*y*d, priddl*y*d, syfl*y*d, tarthl*y*d, toml*y*d, tawchl*y*d, &c.

*Y* sydd briodol yn y terfyniad *llyd*; megys, cymmhenll*y*d, dychrynll*y*d, fflamll*y*d, fferll*y*d, gwanll*y*d, &c.

*Y* sydd i fod yn nherfyniad y geiriau canlynol a llu ereill o derfyniad cyffelyb; megys, adfer*y*d, afiech*y*d, anwyl*y*d, am*y*d, dywed*y*d, cyh*y*d, cyfarwydd*y*d, erg*y*d, er*y*d, dybr*y*d, hef*y*d, hyfr*y*d, en*y*d, gwerth*y*d, mun*y*d, unfr*y*d, ynf*y*d, &c.

*Ydd* ac nid *udd* sydd i fod yn derfyniad i adf*y*dd, adar*y*dd, aden*y*dd, aflon*y*dd, awen*y*dd, ach*y*dd, berwed*y*dd, gil*y*dd, cer*y*dd, darllen*y*dd, cnofë*y*dd, ysblen*y*dd, nent*y*dd, a'u cyffelyb.

*Y* sydd i fod yn cer*y*g, diff*y*g, edm*y*g, erm*y*g, gwr*y*g, hel*y*g, lle*y*g, medd*y*g, pl*y*g, teb*y*g.

*Y* sydd briodol yn nherfyniad brith*y*ll, cyll*y*ll, cerf*y*ll, est*y*ll, ew*y*ll, gwynt*y*ll, gwe*y*ll, sef*y*ll, ysgut*y*ll.

*Yn* sydd derfyniad i luaws o eiriau; megys, am*yn*, bachig*yn*, cor*yn*, cud*yn*, cof*yn*, glyth*yn*, gof*yn*, dychr*yn*, cas*yn*, derb*yn*, coeg*yn*, gweir*yn*, gwellt*yn*, brig*yn*, dyl*yn*, dichl*yn*, &c.

*Yr* sydd yn derfyniad i eb*yr*, brod*yr*, cre*yr*, canwyll*yr*, cyfyst*yr*, dif*yr*, er*yr*, llyth*yr*, myf*yr*, pyb*yr*, pelleb*yr*, yst*yr*, ysgryth*yr*, &c.

Cyfleir *yr* gan rai yn derfyniad i wrthddrychau a ystyrir ganddynt yn genedl gyffredin, gan gyfleu *ur* yn derfyniad i enwau personau; megys, penad*yr*, (bathyn aur) penad*ur*, (brenin) &c. Ond gan nad oes cenedl gyffredin yn y Gymraeg fel yn y Saesneg, gwell yw defnyddio yr hen drefn, sef *ur* yn pechad*ur*, penad*ur*, geiriad*ur*, plad*ur*, &c., ac *yr* yn derfyniad rhif lluosog; megys, yn eb*yr*, brod*yr*, &c. Hefyd, yn derfyniad geiriau rhif unig, y newidia *y* ei sain ynddynt, wrth eu troi i'r lluosog; megys, llyth*yr*, llyth*yr*au, ysgryth*yr*, ysgryth*yr*au, &c.

Mae sain geiriau rhif lluosog yn llawer mwy dymunol yn ol yr hen drefn; megys, geiriad*ur*on, newyddiad*ur*on, nid geiriad*yr*on, newyddiad*yr*on.

*Ys* sydd i fod yn bydd*ys*, dil*ys*, gwydd*ys*, yd*ys*, hysb*ys*, dyr*ys*, yn*ys*, br*ys*, ewyll*ys*, ffig*ys*.

Gellir adnabod lle *y* mewn lluaws o'r geiriau uchod, trwy eu treiglo neu eu troi i'r lluosog, fel y sylwyd yn flaenorol.

*Y* sydd briodol yn llythyren olaf yn y geiriau canlynol; megys, fell*y*, fyn*y*, for*y*, hyn*y*, fr*y*, gwel*y*, obr*y*, rh*y*, Cymr*y*, (sef pobl Cymru.) Hefyd, cyffr*y*, (o cyffro) bwyt*y*, (o bwyta) deffr*y*, (o deffro). Prifeiriau amser dyfodol, trydydd person unig, yw y dosbarth hwn a'u cyffelyb.

—o—

## CYFARWYDDYD I YSGRIFENU I'R WASG.

Ysgrifener ar bapyr o blygiad gweddol o faintioli, heb fod yn rhy fawr na rhy fychan. Gofaler am i'r llinellau beidio bod yn rhy agos i'w gilydd; os byddant yn rhy agos, a'r ysgrifen yn fân, bydd hyny yn anfantais i'r cyssodwyr. Defnyddier inc *dû*, a defnyddier hanner llen o bapyr, gyda y peth lleiaf a ysgrifenir,

heb hyn gall ysgrif ar bapyr bychan fyned ar goll. Os bydd yr ysgrif yn faith, gwell ysgrifenu ar un tu yn unig i'r papyr, bydd hyny yn fwy manteisiol i'r cyssodwyr a'r ysgrifenydd. Os bydd yr ysgrifenydd am ddiwygio rhan o'r hyn a ysgrifenodd, gall wneud hyny yn rhwyddach os mai ar un tu i'r lleni y bydd wedi ysgrifenu. Gosoder y ffugyrau 1, 2, 3, 4, &c., yn y gwaelod ar y gongl dde i'r dalenau.

Mewn perthynas i'r attalnodau, gwell yw gadael y gwaith o'u gosod i mewn yn llaw y cyssodwyr, os na fydd yr ysgrifenydd yn deall yn dda pa fodd i attalnodi.

Dechreuer y brawddegau gyda llythyren benigol, ac hefyd y dyfyniadau o weithiau awdwyr ereill. Gwel pennod y prif lythyrenau. Pan yn dyfynu, defnyddier y nodau hyn a elwir rhagwahandro (" "), fel hyn :—

" Caed lili têg, mewn hyfryd fan,
Ar gorsen wan yn tyfu."

Dangosa y nodau uchod mai nid gwaith yr ysgrifenydd yw y geiriau fyddant rhyngddynt; heb ddefnyddio y rhai hyn ystyrir y gwaith a ddyfynir fel llenladrad. Silleber pôb enw yn gywir, ac ysgrifener y cyfryw yn eglur.

Os bydd yr ysgrifenydd am i air neu frawddeg ymddangos mewn prif lythyrenau, tyner tair llinell o dan y cyfryw; os am i'r cyfryw ymddangos mewn prif lythyrenau mân, tyner dwy linell; os am iddynt fod yn llythyrenau Italaidd, tyner un llinell. Nid da ymarfer â hyn ond pan bydd gwir angen. Defnyddier can lleied ag sydd bosibl o nodau cyfeiriol ar ochr ac ymyl y dalenau; llawer o'r cyfryw a achosant drafferth a chost. Ysgrifener y cyfan yn eglur.

Doder llinyn drwy y dalenau yn y gongl uchaf ar yr aswy er eu dal ynghyd. Os bydd gan yr ysgrifenydd lythyr cyfrinachol i'w anfon gyda'r ysgrif, gofaler am ysgrifenu hwnw ar len ar ben ei hun, ac nid ar un o leni yr ysgrif.

# DARLLENIAETH.

Mewn trefn i ddarllen yn briodol, rhaid talu sylw i *Iawn seiniad llythyrenau, Accen, Gorphwysiad, Pwyslais* a *Goslef.*

—o—

## IAWN SEINIAD LLYTHYRENAU.

Heb seinio llythyrenau yn briodol nis gellir seinio geiriau yn briodol, ac os heb seinio geiriau yn briodol nis gellir darllen yn briodol. Mae gan y Cymro fantais fawr er bod yn rheolaidd mewn seiniad llythyrenau, gan fod i bob llythyren gydag ychydig eithriadau, ei sain briodol. Mae amryw lythyrenau yn yr iaith Seisonig yn newid eu sain, ac y mai rhai o honynt yn aml i'w gadael heb eu seinio, er iddynt fod mewn geiriau gerbron ein llygaid; ond nid yw llythyrenau y Gymraeg felly. Mae i'r llythyrenau yn ein hiaith bron i gyd eu sain bennodol, felly y mae gan y Cymro fantais i iawn seinio llythyrenau a geiriau.

Rhaid cyfaddef fod gan y Cymro, serch hyny, rai anfanteision er cyflawni hyn. Anfantais yw grym ymarferiad o seinio yn ammhriodol. Mae llygriadau mewn seinio llythyrenau a geiriau yn mhob cymmydogaeth, ond nid yr un llygriadau. Ac y mae preswylwyr pob cymmydogaeth wedi arfer cymmaint â'r gwallau perthynol iddynt, fel y mae yn ofynol bod yn benderfynol ac ymdrechgar, cyn cael gwaredigaeth drwyadl o honynt.

Heblaw y syniad uchod, y mae lluaws heb weled a theimlo yr angen am welliant yn y cyfeiriad hwn; nid yw y llygriad ond peth dibwys yn eu golwg, felly y maent o dan anfantais i gyrhaedd gwelliant. Nid yw y cyfryw wedi meddwl am y niwed o gamseinio llythyrenau. Os darllena rhywun yn gyhoeddus yn nghlyw ei gyd-ardalwyr, gall wneud yn weddol er ei wallau mewn seinio llythyrenau a geiriau; ond os â i ryw gymmydogaeth arall i ddarllen, gall ei ddull digrifol

o seinio geiriau gynnyrchu teimlad ysgafn a gyru lluaws i chwerthin; heblaw hyny, gall ddwyn i'r meddwl syniadau llygredig pan na hoffa y darllenydd i hyny gymmeryd lle o gwbl. Gwanychwyd luaws o weithiau y brawddegau llawnaf o'r gwirioneddau mwyaf pwysig, drwy seinio llythyrenau yn ammhriodol.

Nis gellir, mewn llyfr fel hwn, gymmeryd i mewn luaws o'r gwallau seiniol perthynol i'r gwahanol gymmydogaethau, ond gellir crybwyll am ychydig o honynt, gan hyderu y bydd hyny yn foddion er cynnyrchu syniad yn meddwl yr efrydydd am y priodoldeb o iawn seinio llythyrenau.

Seinir y llythyren *i* yn *u* ac *y* mewn rhai ardaloedd; y canlyniad o hyn yw troi Cr*i*st yn Cr*u*st; tr*i*st yn tr*u*st; pr*i*dd yn pr*u*dd; m*i*l yn m*u*l; bend*i*thio yn bend*y*thio; bend*i*thion yn bend*y*thion. Gall rhywun ofyn, "Pa niwed sydd yn hyn?" Er ceisio dangos y niwed, cymmerir i sylw un neu ychwaneg o'r geiriau uchod a gamseinir. Dyma y gair *mil* yn cael ei seinio yn *ful* yn y frawddeg ganlynol:—"Y bychan a fydd yn *ful* (yn asyn), a'r gwael yn genedl gref." Pan glyw dyn dyeithr seiniad fel yna, tra thebyg y meddylia am asyn yn y fan.

Etto, dyma y gair pr*i*dd yn cael ei seinio yn pr*u*dd, "Fel llestri pr*u*dd y drillir hwynt." Mae digon i wahaniaeth rhwng pr*i*dd a pr*u*dd. Nid yw llestri byth yn br*u*dd. Nid gwrthddrychau difywyd sydd yn ddarostyngedig i brudd-der, ond perchenogion meddwl.

Seinir *u* ac *y* yn *i*, felly troir D*u*w yn D*i*w; p*u*r yn p*i*r; h*u*no yn h*i*no; c*u* yn c*i*; h*y*n yn h*i*n; fr*y* y-fr*i*; obr*y* yn obr*i*; pr*u*dd yn pr*i*dd. Cymmerer ychydig o'r geiriau hyn etto er dangos yr ammhriodoldeb o'u camseinio. Dyna y gair c*u* yn cael ei seinio yn *ci* yn y geiriau canlynol:—"Gofid sydd arnaf am danat ti fy mrawd Jonathan: *ci* iawn fuost genyf fi." Dyn wrth wrando y seiniad yna yn dywedyd wrth ei gyfaill oedd yn eistedd wrth ei ochr ar y pryd, "Dyma y waith gyntaf i mi wybod mai *ci* oedd Jonathan."

Etto dyma y gair pr*u*dd yn cael ei seinio yn pr*i*dd yn y geiriau canlynol :—

"O cyfod bellac*h*, f' enaid pr*i*dd,
Anadla tua'r lan."

Ai pr*i*dd yw yr enaid ?

Seinir y llythyren *h* mewn rhai ardaloedd pan na fydd hi mewn geiriau, a gadewir hi heb ei seinio pan y bydd gwir angen am hyny ; yna troir *hen* yn *'en ; ur* yn *h*wr ; *heno* yn *'eno ; aur* yn *h*aur ; *er* yn *h*er ; *ir* yn *h*ir, &c. Nid priodol bob amser dyweyd pren *h*ir am bren ir, na phren *ir* am bren *h*ir.

Dyn, amser yn ol wrth ddarllen ysgrif, a ddywedodd fwy nag unwaith, "Yr *'en* oruchwyliaeth ; " yn lle "yr *hen* oruchwyliaeth." Person wrth wrando arno a ddywedodd fel hyn wrth berson arall oedd yn ei ymyl, "Yr *'en* oruchwyliaeth yw gwaith yr *'en* yn siglo wrth gnoi bara."

Dichon fod yr engreifftiau uchod yn ddigon er dangos i'r efrydydd y pwys o ymdrechu i seinio llythyrenau a geiriau yn briodol.

—o—

## ACCEN.

Golyga accen neu acceniad y drefn o roddi y llais yn ysgafn neu drwm ar ryw lythyren neu sill mewn gair. Y rheol berthynol i'r Gymraeg ydyw i'r accen fod ar y sill olaf ond un. Os ychwanegir rhif y silliau mewn gair, gofyna y rheol i'r accen fod ar y sill nesaf i'r olaf ar ol y chwanegiad. Sylwer ar y gair *ysgrif* a silliau yn cael eu gosod ato, yna gwelir hyn yn eglur.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Y'sgrif...... | Rhif Sill 2 | Accen ar y sill | | blaenaf. |
| Ysgri'fen... | ,, ,, 3 | ,, | ,, | olaf ond un. |
| Ysgrife'ned | ,, ,, 4 | ,, | ,, | olaf ond un. |
| Ysgrifene'dig | ,, ,, 5 | ,, | ,, | olaf ond un. |

Gwelir wrth y nod accenol pa le y mae yr accen ar ol ychwanegu pob sill, symmuda yn mlaen tua'r diwedd fel y byddo ar y sill olaf ond un. Fel hyn er ychwanegu rhif y silliau cedwir y rheol, bydd yr accen ar y sill nesaf i'r olaf.

Mae rhai eithriadau i'r rheol hon. Os bydd prifeiriau yn diweddu gyda *hâu* neu *âu*; neu os bydd enwau yn diweddu gyda *hâd* neu *âd*, bydd yr accen ar y sill olaf; megys, yn glan*hâu*, nac*âu*, cyfiawn*hâd*, coff*âd*. Mae terfyniadau y geiriau uchod yn unedig â'r silliau accenedig; pe buasai y geiriau uchod wedi eu hysgrifenu yn llawn, hwy a fuasent fel hyn :—Glanhâau, nacâau, cyfiawnhäad, coffäad; felly buasai yr accen ar y sill olaf ond un, sef ar *ha* ac *a*. Ond er osgoi sain hir, anystwyth, gadewir un llythyren allan, ac unir y terfyniad â'r sill accenedig, gan eu hystyried yn un sill, a'r accen ar hono.

Hefyd, y mae terfyniadau y prifeiriau *parotoi*, *cyfleu*, ac ereill o'r un terfyniadau a hwy, a'u terfyniadau yn cael eu hystyried yn silliau unedig; felly bydd yr accen ar y sill olaf.

Yr accennodau ydynt (^) (\`). Y nod blaenaf yn arwyddo sain hir, ar olaf sain fer. Pan ddefnyddir hwy gosodir hwy uwchben llafariaid, fel hyn :—

â, ê, î, ô, û, ŵ, ŷ.   à, è, ì, ò, ù, ẁ, ỳ.

Mae rhai geiriau yn ein hiaith a dau ystyr neu ragor iddynt; megys, car, glan, gwen, mor, gwar, tan, ton, hyn, &c. Pan gwrddir a hwy wedi eu nodi a nod sain hir, gofynir seinio y llafariad a'r nod hwnw uwchben iddi a sain hirlaes, fel y byddo yr ystyr yn amlwg. Nid yr un a peth olygir wrth *tôn* y cerddor a *tòn* y môr; felly mae sain hirlaes i fod ar *ô* yn y blaenaf fel y byddo yr ystyr yn amlwg. Os cwrddir a'r geiriau uchod a'u cyffelyb wedi eu nodi a sain fer neu heb nod o gwbl, na seinier hwy â sain hirlaes os na fernir fod y nod sain hir drwy ryw amryfusedd wedi ei adael ac heb ei roddi yn ei le priodol.

Os bydd dwy lafariad, y naill wrth ochr y llall mewn gair, a'r accen ar y flaenaf; megys, yn glanh*ä*odd, arferir y sain hir. Mae dydolnod uwchben yr ä uchod er dangos sefyllfa yr accen a'r lle y dylid rhoddi y sain yn hirlaes.

## GORPHWYSIAD.

Golyga gorphwysiad waith y darllenydd yn gorphwys rhyw gymmaint o amser rhwng geiriau a brawddegau pan byddo yn darllen. Mae gorphwysiadau yn angenrheidiol i bob darllenydd, heb hyn nis gall osod allan. mewn modd dealladwy y gwahanol syniadau fyddant yn yr hyn a ddarllenir, ac hefyd heb hyn nis gall gymmeryd ei anadl. Nid wedi cyrhaedd diweddnod yn unig y mae y darllenydd i orphwys, ond gall wneud hyn yn fynych ar ei ffordd ato, a thrwy hyny gall cael cyfle i gymmeryd ei anadl: a gall hefyd drwy hyn fod yn fwy galluog i ddarllen yn rhwydd, ysgafn, a dealladwy. Mae yr attalnodau yn fanteisiol i raddau er dangos i'r darllenydd am leoedd y gorphwysiadau, a dylid cadw golwg arnynt. Ond nid yw yn angenrheidiol i'r darllenydd i gyfyngu ei hun yn hollol er trefnu ei orphwysiadau wrthynt hwy, gan nad ydynt bob amser yn ddigonol i ddangos yr holl orphwysiadau na dangos beth a ddylai hyd a natur y gorphwysiad fod yn mhob cyssylltiad. Ni ddylid gorphwys wrth y nodau yr un faint o amser yn mhob cyssylltiad, oblegyd y mae tlysni a nerth ambell frawddeg yn dibynu i raddau ar orphwysiad byr. Bu syniad gan lawer, a gall fod gan rai etto, mai yr un faint o amser sydd i orphwys wrth y nodau pa le bynag y byddant: aros wrth y naill tra rhifir un; wrth y llall tra rhifir dau, &c.; a gwneud hyn bob amser yn mhob lle. Ond y mae dilyn y rheol hon yn caethiwo y darllenydd ac yn ei osod mewn anfantais i ddarllen yn ddealladwy, ac yn debyg o'i arwain i fod yn un donog. Dylid cofio mai nid rheol anffaeledig i ddarlleniad priodol yw prif amcan gosodiad y nodau, ond yn hytrach er dynodi cystrawiaeth rammadegol.

Mae yn bwysig i bob darllenydd gael amgyffrediad priodol am y lleoedd y dylai orphwys, a pha orphwysiad sydd fwyaf priodol yn y lleoedd hyny: heb hyn gall y cyfryw ddarllen yn hollol ddisynwyr. Golyger fod rhywun yn darllen y geiriau hyny yn Math. iv. 2,

a gorphwys ar ol y gair "deugain" yn lle ar ol y gair "nos," fel hyn—"Ac wedi ymprydio deugain niwrnod a deugain, nos ar ol hyny efe a newynodd." Yn ol gorphwysiad fel yna y mae synwyr yr adnod yn colli yn hollol.

Gyda gorphwys mewn lleoedd priodol y mae yn ofynol gorphwys gyda sain briodol. Mewn rhai cyssylltiadau dylid gorphwys gan gadw y llais i fyny heb y radd leiaf o ddisgyniad ynddo; mewn cyssylltiadau ereill y mae graddau o ddisgyniad yn angenrheidiol, ac mewn cyssylltiadau ereill dylai y disgyniad fod i'r fadd radd fel i ddynodi fod y frawddeg yn diweddu. Mae darllenwr medrus yn gallu gorphwys gyda y fath sain fel y caria ddylanwad ar feddwl y gwrandawyr yn y gorphwysiad fel y deallant nad yw y syniad wedi ei gyflawn egluro, a bod rhagor i'w ddarllen ar ol y gorphwysiad. Pryd arall gorphwysa gyda y fath ddisgynsain fel y dylanwada ar y meddwl fel y deallir fod y frawddeg neu yr ymadrodd yn orphenedig, fod yr ystyr neu y syniad wedi ei adrodd yn gyflawn. Nid oes dim sydd well na cheisio deall beth yw meddwl yr awdwr, a cheisio gosod ein hunain fel yn ei le, ac ymdrechu bod mor naturiol ag sydd bosibl: bod yn rhydd oddiwrth reolau caethion, a darllen mor debyg ag y byddwn yn ymddiddan a'n gilydd, yn rhydd fel y dysg anian ni i siarad i bwrpas.

—o—

## PWYSLAIS.

Mae pwyslais yn golygu gosodiad y llais gyda mwy o rym ar air neu eiriau pennodol mewn brawddeg. Pan yn sylwi ar acceniad ymdrechwyd dangos fod y darllenydd wrth accenu yn gosod y llais yn drwm neu yn ysgafn ar lythyren neu sill pennodol mewn gair. Rhywbeth yn debyg i hyny yw pwyslais ar air neu eiriau pennodol mewn brawddeg. Nid oes yr un rheol bennodol i bwysleisiad fel sydd i acceniad. Mae

yr accen i fod ar y sill olaf ond un mewn gair; dyna y rheol, er fod ychydig eithriadau iddi, ond nid oes yr un rheol neillduol fel yna i bwysleisiad, etto y mae math o debygolrwydd rhyngddynt yn gymmaint a bod y llais yn cael ei osod yn rymusach ar *eiriau* pennodol mewn brawddegau, yr un modd ag y gosodir ef yn rymusach ar *silliau* pennodol mewn geiriau.

Gellir gosod y pwyslais ar amryw eiriau yn yr un frawddeg, a gellir ei symmud oddiar y naill air a'i osod ar air neu eiriau ereill yn ol yr angen, er gosod allan wahanol syniadau.

Er meddu gwybodaeth briodol pa le y mae y pwyslais i fod, rhaid i'r darllenydd gael allan y prif bwnc oedd yn meddwl yr awdwr pan yn ysgrifenu ei gyfansoddiad; os na cheir hyny gall y pwyslais gael ei roddi mewn lle na ddylai fod. Gall y darllenydd yn ddigwyddiadol, mae yn wir, roddi y pwyslais yn y fan y dylai fod, er na byddo yn deall meddwl yr awdwr; ond y mae ef mor debyg o beidio gwneud hyny ag yw ef o wneud. Gall osod y pwyslais mewn lle hollol ammhriodol, a thrwy hyny fethu cyfleu syniadau priodol yr awdwr i'r gwrandawyr; os felly arweinir rhai i dderbyn i'w meddyliau yr hyn na ddylant, ac i adael allan yr hyn y dylant gael gafael ynddynt. Er darllen yn synwyrlawn a grymus, y mae yn angenrheidiol gwybod pa le i osod y pwyslais: a chyn bod yn alluog i bwysleisio y mae yn rhaid deall meddwl yr awdwr.

Mae rhyw brif nod i'r holl frawddegau, a dylai y pwyslais fod ar y gair neu y geiriau mwyaf priodol er dangos y nod hwnw. Gall yr un frawddeg gyflwyno amrywiol syniadau, ond symmud y pwyslais oddiar y naill air a'i osod ar y llall, yn ol fel y gwelir yn yr engreifftiau canlynol:—

*A gerddaist* ti o Ferthyr i Aberdar? Naddo; *cariwyd* fi.

A gerddaist *ti* o Ferthyr i Aberdar? Naddo; ond cerddodd fy *nghyfaill.*

A gerddaist ti *o Ferthyr* i Aberdar? Naddo; ond cerddais *o Benyrheolgeryg.*

A gerddaist ti o Ferthyr *i* Aberdar? Naddo; ond cerddais yn *agos* yno.

Gwelir yn yr engreifftiau uchod fod y pwyslais yn cael ei symmud oddiar y gair blaenaf i'r ail, ac o'r ail i'r trydydd, &c., fel yr arwyddir drwy y llythyrenau *Italaidd*, ac wrth symmud y pwyslais y mae amrywiol syniadau yn cael eu cyfleu i'r meddwl. Er mai yr un geiriau sydd yn y gofyniad ar ol newid y pwyslais, etto nid yr un syniadau. Os creffir ar yr uchod, canfyddir fod y pwyslais mewn gofyniad i fod ar y gair hwnw y byddwn am gael attebiad cyferbyniol; megys, a gerddaist *ti* o Ferthyr i Aberdar? Naddo; ond cerddodd fy *nghyfaill*. Dyna attebiad cyferbyniol i'r pwyslais. Os bydd dau air mewn gofyniad, a'r naill yn gyferbyniol i'r llall, a phwyslais i fod ar y blaenaf o honynt, dylid gosod pwyslais ar yr olaf hefyd; megys, "Ai *tydi* yw yr hwn sydd yn dyfod, ai *un arall* yr ydym yn ei ddisgwyl."

Gocheler bai sydd ynglŷn a darllenwyr yn rhy fynych; sef, pwysleisio ar eiriau yn rhy aml heb yr angen lleiaf am hyny.

—o—

## GOSLEF.

Golyga goslef gyweiriad priodol y llais, i nodi anian y syniadau fydd yn yr ymadroddion a ddarllenir. Mae goslefiad priodol yn bwysig, gan ei fod yn gwasanaethu er gosod allan *deimlad* awdwr ar y pryd yr oedd yn ysgrifenu ei ymadroddion. Mae yn perthyn i ddyn amrywiol nwydau; gwyr pawb o honom hyny yn brofiadol. Yr ydym yn gwybod am y nwydau o serch, digofaint, llawenydd, tristwch, ofn, tosturi, hiraeth, eofndra, balchder, &c. Mae dynion pan yn ysgrifenu, i fesur, o dan ddylanwad y naill neu y llall o'r cyfryw nwydau; y mae hyny i'w ganfod i fesur yn yr hyn a hysgrifenwyd ganddynt. Pan yn darllen, mae eisiau cyweirio y llais yn y modd mwyaf

priodol, er amlygu y gwahanol deimladau hyn, fel y byddo i hyny gario dylanwad er cynnyrchu teimladau priodol yn y gwrandawyr. Pan yn pwysleisio ac yn gorphwys mewn lleoedd priodol, gellir llwyddo i osod allan *feddwl* awdwr; ond y mae eisiau rhagor na hynyna, mae eisiau dangos y *teimlad* neu y *teimladau* oedd yn ei fynwes ar y pryd yr oedd yn ysgrifenu.

Y mae gallu ac ymarferiad yn ofynol at hyn. Meddianna rai fwy o allu nag ereill at y gwaith hwn. Gall rhai gyweirio eu lleisiau i gyfatteb bron bob math o nwydau; ereill yn gallu cyweirio eu lleisiau er cyfatteb i rai nwydau, ond yn methu i fesur wrth geisio eu cyweirio er cyfatteb i nwydau ereill. Gyda chyweiriad eu lleisiau gosodant allan rai nwydau yn hynod fedrus: ond y maent yn hollol annaturiol wrth geisio gosod allan nwydau ereill. Ond y mae rhai, drwy ymarferiad a phenderfyniad, wedi gwella yn yr hyn oedd fwyaf anhawdd iddynt.

Gofynir amrywiaeth yn y llais er cyfatteb i amrywiaeth teimladau. Mae rhai darllenwyr wedi mabwysiadu dull iddynt eu hunain yr hwn a arferant gyda phob ymadrodd, beth bynag fyddo ei natur a'i anian. Rhai a arferant dôn hirlaes, drymaidd, alarus, gyda phob rhan o'r Bibl. Dichon fod y cyfryw yn meddwl mai y dull hwnw yw y mwyaf cydweddol â gwirioneddau yr Ysgrythyrau. Y mae yn wir fod angen am syniadau a theimladau difrifol uwchben gair Duw, gan gofio fod y cyfan yn eiriau gwirionedd a sobrwydd; ond y mae ynddo luaws o ymadroddion sydd yn arddangosiad o amrywiol nwydau, ac yn addas at gyfarch amrywiol nwydau sydd ynom ni, felly gofynir amrywiaeth yn nghyweiriad y llais yn hytrach nag arfer tôn hirlaes, drymaidd, gyda y cyfan o hono. Peth hollol annaturiol yw llais hir, galarus, pan yn darllen yr ymadroddion llawnaf o elfenau llawenydd a fedd y byd.

Mae ereill wedi rhedeg i eithafion i'r ochr arall, a

mynant gânu pob peth a ddarllenant. Cânant bennodau ac emynau, ïe, gwnant hyny gyda thôn ysgafn, lawen, pan byddo yr ymadroddion yn cynnwys y gwirioneddau mwyaf galarus, a'r bygythion mwyaf dychrynllyd.

Y mae arfer eithafion fel hyn yn debyg o fod y dull mwyaf anfanteisiol i ddangos y gwir deimladau a gynnwysa yr amrywiol ymadroddion, ac felly yn anfanteisiol er cynnyrchu y teimladau sydd dda eu cynnyrchu yn nghalonau y gwrandawyr.

Dyfynir rhai brawddegau o'r Bibl er ceisio egluro yn mhellach yr hyn a amcanwyd egluro yn y sylwadau uchod.

Cenadwri lawen yr angel i'r bugeiliaid yn amser genedigaeth Crist, ac ymadroddion galarus Dafydd ar ol Absalom.

"A'r angel a ddywedodd wrthynt. Nac ofnwch: canys wele yr wyf fi yn mynegi i chwi newyddion da o lawenydd mawr, yr hwn a fydd i'r holl bobl. Canys ganwyd i chwi heddyw Geidwad yn ninas Dafydd, yr hwn yw Crist yr Arglwydd. A hyn fydd arwydd i chwi: chwi a gewch y dyn bach wedi ei rwymo mewn cadachau, a'i ddodi yn y preseb."

"A'r brenin a gyffrodd, ac a aeth i fyny i ystafell y porth, ac a wylodd: ac fel hyn y dywedodd efe wrth fyned; o fy mab Absalom, fy mab, fy mab Absalom; O na fuaswn farw drosot ti, Absalom, fy mab, fy mab.

Os darllenir cenadwri yr angel gyda llais gwanaidd, dwys, ac wylofus, bydd hyny yn hollol ammhriodol, gan fod y geiriau yn llawn o elfenau llawenydd. Ac os darllenir geiriau Dafydd gyda llais bywiog, ysgafn, a llawen, bydd hyny hefyd mor ammhriodol, gan mai geiriau llwythog o alar ydynt. Llais bywiog, ysgafn, a llawen, sydd yn gweddu i eiriau yr angel, a llais gwanaidd, dwys, ac wylofus sydd yn gweddu i eiriau Dafydd.

*Ofn* a osodir allan â llais llesg, crynedig, ac arswydol. *Eondra*, â llais cryf, hyf, a dyrchafedig. *Serch*, â llais esmwyth, araf, a llednais. *Digofaint*, â llais cryf,

llym, cyffrous. *Tosturi*, â llais tyner a chwynfannus. *Hiraeth*, â llais isel, toddedig, a phryderus. *Cerydd*, â llais eon, anfoddog, a chwerw. *Balchder*, â llais cryf, hyf, a chwyddedig. *Gweniaeth*, â llais mwyn, tyner, araf.

Mae deall teimlad awdwr a chyfranogi o hono yn fanteisiol i oslefu yn dda, a chadw rhag ddynwarediaeth annaturiol.

—o—

## DOSRANIAD BRAWDDEGAU.

Gosodir o flaen yr efrydydd rhai brawddegau o'r Bibl wedi eu dosranu. Yn y dosraniad canfyddir pa ran o ymadrodd yw pob gair. Gosodir hyn i'r efrydydd fel cynllun er ei gyfarwyddo, fel y gallo wneud yr un modd gyda rhanau ereill o'r Bibl. Dyma ddosraniad syml o'r brawddegau canlynol i ddechreu:—

"Fy enaid, bendithia yr Arglwydd. O Arglwydd fy Nuw, tra mawr ydwyt; gwisgaist ogoniant a harddwch. Yr hwn wyt yn gwisgo goleuni fel dilledyn: ac yn taenu y nefoedd fel llen."—Psalm 104. 1, 2.

*Fy*—rhagenw
*enaid*—enw
*bendithia*—prifair
*yr*—bannod
*Arglwydd*—enw
*O*—cyfryngiad
*Arglwydd*—enw
*fy*—rhagenw
*Nuw*—enw
*tra mawr*—ansoddair
*ydwyt*—prifair
*gwisgaist*—prifair
*ogoniant*—enw
*a*—cyssylltyn
*harddwch*—enw

*Yr*—bannod
*hwn*—rhagenw
*wyt*—prifair
*yn*—cyfair
*gwisgo*—prifair
*goleuni*—enw
*fel*—cyssylltyn
*dilledyn*—enw
*ac*—cyssylltyn
*yn*—cyfair
*taenu*—prifair
*y*—bannod
*nefoedd*—enw
*fel*—cyssylltyn
*llen*—enw

"Pan welodd Jacob fod ŷd yn yr Aifft, dywedodd Jacob wrth ei feibion, "Paham yr edrychwch ar eich gilydd."—Gen. 42. 1.

*Pan*—Cyfair amserol yn cymmesuro "welodd."
*welodd*—prifair gweithredol. Modd mynegol. Amser gorphenol. Trydydd person unig, yn cyttuno a'i enwai "Jacob."
*Jacob*—enw priodol. Rhyw wrywaidd. Rhif unig. Enwai y prifair "welodd."
*fod*—prifair, bod.
*yd*—enw cyffredin. Rhif lluosog. Enwai y prifair "fod."
*yn*—arddodyn.
*yr*—bannod. *Yr* yn blaenori llafariad.
*Aifft*—enw priodol.
*dywedodd*—prifair gweithredol. Modd mynegol. Amser gorphenol. Trydydd person unig yn cyttuno â'i enwai "Jacob."
*Jacob*—enw priodol fel o'r blaen. Enwai y prifair "dywedodd."
*wrth*—arddodyn syml.
*ei*—rhagenw meddiannol. Trydydd person unig.
*feibion*—enw cyffredin. Rhyw wrywaidd. Rhif lluosog. Ac *m* yn newid i *f* drwy fod *ei* wrywaidd yn llywodraethu; megys, *m*eibion *ei f*eibion.
*Paham*—cyfair ymofynol.
*yr*—cyfair
*edrychwch*—prifair gweithredol. Modd mynegol. Amser presennol. Ail berson ll*u*osog, yn cyttuno a'i enwai "feibion."
*ar*—arddodyn syml.
*eich gilydd*—rhagenw.

Adn. 2. "Dywedodd hefyd, wele, clywais fod ŷd yn yr Aifft; ewch i waered yno, a phrynwch i ni oddi yno; fel y bom fyw ac na byddom feirw."

*Dywedodd*—Prifair gweithredol. Modd mynegol. Amser gorphenol. Trydydd person unig, yn cyttuno â'i enwai "Jacob."
*hefyd*—cyssylltyn.
*Wele*—cyfryngiad.
*clywais*—prifair gweithredol. Modd mynegol. Amser gorphenol. Person cyntaf unig, yn cyttuno a'i enwai "Jacob."
*fod*—prifair, bod.

*yd*—enw cyffredin.
*yn*—arddodyn.
*yr*—bannod.
*Aifft*—enw priodol.
*ewch*—prifair. Modd gorchymynol. Ail berson lluosog, yn cyttuno a "feibion."
*i waered*—cyfair lleol.
*yno*—cyfair lleol.
*a*—cyssylltyn.
*prynwch*—prifair. Modd gorchymynol. Ail berson lluosog, yn cyttuno a "feibion," yr un modd a'r prifair "ewch."
*i*—arddodyn syml.
*ni*—rhagenw personol. Person cyntaf lluosog.
*oddi yno*—cyfair lleol.
*fel*—cyssylltyn.
*y*—cyfair.
*bom fyw*—prifair bod. Modd mynegol. Amser ail ddyfodol. Person cyntaf lluosog, yn cyttuno a "Jacob," ac a "feibion."
*ac*—cyssylltyn.
*na*—cyfair nacaol.
*byddom feirw*—prifair bod. Modd mynegol. Amser ail ddyfodol. Person cyntaf lluosog, yn cuttuno a "Jacob" ac a "feibion."

—o—

## TAFEN O EIRIAU Y DYBLIR Y CYDSEINIAID YNDDYNT.

Canfyddir yn y daflen ganlynol ein bod yn defnyddio y blaenddod *am* o flaen *m* neu *mh;* megys, *amm*od, *ammh*euaeth, &c. Ac *an* o flaen *n* neu *nh;* megys, *ann*elu, *annh*eg, &c. Hefyd, defnyddier y blaenddod *cym* ac nid *cy* o flaen *m* neu *mh;* megys, *cymm*od, *cymmh*elliad, &c. A'r blaenddod *cyn* ac nid *cy* o flaen *n* neu *nh;* megys, *cynn*al, *cynnh*esu, &c. Hefyd, *cys* a *cyt*, ac nid *cy* yn flaenddodiaid i'r geiriau *cyss*efin, *cyss*on, *cytt*un, *cytt*ir, a'u cyffelyb. Mae amryw o wyr galluog dros *an* a *cy* yn lle y blaenddodiaid uchod. Ond y mae y nifer luosocaf o lenorion galluog y genedl dros *am*, *cym*, *cyn*, *cys*, *cyt*. Gall y daflen ganlynol fod o wasanaeth i ysgrifenwyr ieuainc er eu cyfarwyddo i sillebu yn rheolaidd.

Dwy m yn

Anghymmar
anghymmharus
anghymmhorth
anghymmeradwy
anghymmesur
angrammadegol
ammeuthyn
ammharch
ammharod
ammhennodol
ammherffaith
ammheu
ammheuaeth
ammheus
ammhleidgar
ammhossibl
ammhriodol
ammhrydferth
ammhrydlawn
ammhur
ammhurdeb
ammod
ammrwd
annhymmyg
cwmmwd
cwmmwl
cymmal
cymmaint
cymmanfa
cymmedrol
cymmeriad
cymmeryd
cymmesur
cymmod
cymmrodorion
cymmuno
cymmundeb
cymmwynas
cymmydog
cymmysg
cymmysgu
cymmhar
cymmharu
cymmhariaeth
cymmhell
cymmhelliad
cymmhen
cymmhenu
cymmhendod
cymmhenllyd
cymmhlith
cymmhwyll
cymmhwys
cymmhwysder
dammeg
dammegion
diammheu
diammheuol
dychymmyg
dygymmod
esgymmuno
gommedd
grammadeg
grammadegol
grammadegu
gwammal
mammaeth
mammaethaidd
mammaethu
symmud
tymmor
tymmestl
tymmer
ysgymmuno.

Dwy n yn

Absennol
adwahannod
annarbodus
annattodol
annaturiol
anneallus
annechreuol
annedwydd
annefnyddiol
annelu
annewisol
annhebyg
annhebygol
annhebygu
annheg
annheilwng
annherfynol
annhymyg
annibynol
anniolchgar
annileadwy
anniwylledig
annaf
annap
annoeth
annofiadwy
annogaeth
annwyd
annuwiol
annymunol
annyoddefol
annyddan
annysgedig
cannwr, can-gwr
cynnadledd
cynnal
cynneu
cynneuais
cynnifer
cynnil
cynnilo
cynnorthwy
cynnrychioli
cynnull
cynnulliad
cynnulliadol
cynnwys
cynnwysiad
cynnydd
cynnyddu
cynnyg
cynnyrchu
cynnyrchiol
cynnysgaeth
cynnysgaeddu
cynnhen
cynnhenus
cynnhes
cynnhesol
cynnhesu
cynnhwrf
cynnhyrfu
chwannog
chwennychu
dannedd

dannod
dannodd
ennill
ennyd
ennyn
ffynnon
ffynnonell
ffynnu
gwahannod
gorwahannod
gofynnod
haeddiannol
hanner
hannergylch
hollbresennol
llwyddiannus
minnau
meddiannu
meddiannol
moliannu
moliannus
ninnau
peiriannaeth
pennill
pennod
pennodi
pennodol
porthiannus
presennol
presennoldeb

punnau
punnoedd

DWY S YN

Anghysson
cyssefin
cyssegr
cyssegru
cyssegrad
cysson
cyssondeb
cyssodi
cyssodwr
cysswllt
cyssylltyn
cyssylltwr
cyssylltiad
cyssylltiedig
Messiah
yssig
yssigo

DWY T YN

Anghyttuno
attal
attalnodau
atteb
attebol
attebiad
atteg
attolwg
attolygu

attreiddio
attro
attroawl
attuedd
attynu
attyniad
coettir
cyttun
cyttuno
cyttundeb
dattod
dattroawl
diattreg
diotty
diottai
etto
gwastattir
gwestty
gwesttai
hafotty
lletty
llettäi
llettyau
lluestty
lluesttai
mettel
metteloedd
tylotty
tylottai
ysbytty

ARGRAFFWYD GAN D. W. a G. JONES, POST-OFFICE, LLANDILO.